# GWAITH

Y

# PARCH. WALTER DAVIES, A.C.

(*GWALLTER MECHAIN*).

DAN OLYGIAD

Y PARCH. D. SILVAN EVANS, B.D.

PERIGLOR LLAN YM MAWDDWY, MEIRION.

CYFROL II.



Caerfyrddin:

WILLIAM SPURRELL.

Llundain:

SIMPKIN, MARSHALL, A'U CYF.

MDCCCLXVIII.

# CYNNWYSIAD YR AIL GYFROL.

# RHYDDID:

TRAETHAWD A ENNILLODD ARIANDLWS CYMDEITHAS Y GWYNEDDIGION AR EI THESTYN I EISTEDDFOD LLANELWY, B.A. MDCCXC.

[Ail argraffiad, diwygiedig gan yr Awdur.]

"Ffulliwn hyd ddau begwn byd,
O'r rhwyddaf i'w chyrhaeddyd."
GEO. OWAIN.

---

## AT Y CYMRY DIRAGFARN.[1]

ANWYL GYWLEIDIADON,

ER i filain elyniaeth goresgynwyr ein hynafiaid trwy dân ac amryw beiriannau distryw, a difaol draflwnc amser, ein difuddio o werthfawr dystiolaethau eu dysgedig ddoniau; er iddynt (ac nid rhyfedd) ddigaloni, a gado i flodau dysg a gwybodaeth wywo yn eu plith; gan na threfnodd Rhagluniaeth ond ychydig hawddfyd iddynt tros ragor i bymtheg cant o flynyddoedd, gan eu bod mewn gwastadol helbul yn amddiffyn eu meddiannau a'u hoedlau rhag trais eu gorthrechwyr; er hyny, gallwn yn hyderus ymhoni i genedl y Prydeiniaid, er gwaethaf gwasgfaon gorthrymder, ddysgleirio cymmaint mewn dysgeidiaeth ag un genedl arall dan haul, a aeth drwy gynnifer o rodau helbulus.

[1] [Er bod y rhaganerch hwn wedi myned, i raddau, allan o'i amser, gan ei fod yn cyfeirio at ansawdd pethau yn agos i ddiwedd y ganrif ddiweddaf, ac yn dwyn arno weddnod y cyfnod hwnw; eto tybiwyd yn addas ei ail argraffu gyda'r Traethawd, fel y byddai'r gwaith mor gyflawn, ym mhob golygiad, ag yr oedd yn ei ymddangosiad cyntaf.
Y mae yr argraffiad presennol wedi ei gymmeryd o gyfargraff a ddiwygiwyd yn ofalus gan yr Awdur ei hun; ac heb law lluaws mawr o gyweiriadau, ceir ei fod yn cynnwys amryw ymylnodau nad oeddynt yn yr argraffiad cyntaf, yr hwn a gyhoeddwyd yn Llundain yn y flwyddyn 1791.]

Pe buasai feilch ddysgedig oreuon Groeg a Rhufain, eu Homer a'u Virgil penceirddiol, eu Plini a'u Plato orchestol, yn anedigol drigolion Prydain yn y dyddiau hyny, y pryd yr oedd yn fwy angenrheidiol hogi cleddyfau na darllen llyfrau, ni buasai goffa am danynt yn yr ysgolion y dydd heddyw. Canys wedi i'r cerddgar awenyddion gyfansoddi rhyw Iliad, Odissey, neu Enëid anghyfartal; neu wedi i'r athrawon ryfygu chwilio allan ddirgeloedd anian yr holl grëedigaeth, daethai

> "Rhyw 'sgeler ddyhir Scolan,
> I fwrw'r twr lyfrau i'r tân."

Felly, yn ol i Ryddid wenu ar Gymru, ac y gallasai ei thrigolion yfed yn eofn o ffynnon gwybodaeth; erbyn hyny yr oedd anwybodaeth, tarddedig o ddigalondeb, wedi magu a dwfn-wreiddio y fath ddifräwch yn serchiadau y cyffredin bobl, fal ag yr esgeulusasant bob achlysur o addurno eu tafodiaith, nac i fywhau dysgedigaeth a myfyrdod. O'r tu arall, y balch fonedd â benywaidd wendid a roddasant eu holl hoffder ar iaith gelynion eu hynafiaid, gan lwyr ddiystyru eu mamiaith, ac braidd er eu mwyn na wadasent wlad eu genedigaeth. Felly, Cymraeg, trwy ddifräwch y gwerinos, a balchder y bonedd, a lwyr esgeuluswyd, a chan ddilyn camrau ei chwiorydd, sef ieithoedd Cernyw a Llydaw,[1] hi a brysurodd tua chyffiniau anghof. Ond er attal ei chwbl ddiwreiddiad, Rhagluniaeth a gyfododd iddi goleddwyr, pa rai, trwy gyhoeddi yr Ysgrythyrau, gramadegau, geirlyfrau, a chasgliadau barddoniaeth, a'i cadwasant yn lledfyw. Ac yn ddiweddaf, clodforusaf Gymdeithas y Gwyneddigion yn Llundain, trwy eu serchog awyddfryd i goleddu y Brydeiniaith, a fuont offerynau buddiol i chwalu ymaith yn rhagor o gaddug anwybodaeth a difräwch a oedd yn gorchuddio Cymru: a dymunaf na esgeuluser y parch dyledus iddynt am eu hegnïol ymgais i fywhau y lesg Frythoneg, tra bo tafod i'w llefaru na llaw i'w hysgrifenu yng Nghymru; yr hyn, trwy y goel sydd genyf, yr wyf bron â chredu, a fydd hyd oni thoddo y defnyddiau gan wres, ac yr ä y nefoedd ymaith fel plyglyfr; hyd oni byddo holl ieithoedd gwasgaredig y byd yn gymmysgedig ddwy,—un orfoleddus yn y llawenydd, ac arall gwynfanus yn y poenau.

Ac felly y rhagddywededig ymroad y Gwyneddigion, a fu yr achlysur i'r Traethawd hwn ar Ryddid ymddangos i'r byd; a thrwy ostyngedig wylder y rhyfygir ei fwrw allan i wyneb enllib a rhagfarn. Canys er bod Soilus y Groegiad yn gymmysgedig â llwch y ddaiar, mae amryw o'r un gynneddfau ag ef, ei safnrwth garennydd, yn fyw yng Ngwynedd y dydd heddyw. Os derbynir hyn o wael

[1] Ni wyddid yng Nghymru, pan ysgrifenwyd y Traethawd hwn gyntaf, bod iaith gyssefin y Llydawiaid wedi cael ei chadw mor fyw ag ydyw: a hyn o anwybodaeth o ethryb y gelyniaeth parhäus rhwng trigolion Prydain a Ffrainc.

Draethawd yn gymmeradwy gan un radd o ddeg o'i ddarllenyddion, yna byddaf wedi cael cyflawn foddlondeb o'm llafur. Y radd gyntaf o'r rhai na ddysgwyliaf eu boddio, yw yr ysgolhaig balch ymffrostus, a fyddo yn edrych yn ddirmygus ar waith ei israddolion. Yr ail, yw y boneddig a ddiystyro y Traethawd er mwyn yr iaith a gynnwysir ynddo. Y drydedd, yw yr anwybodus hunan-ddoeth, a enllibio yr hyn na ddeallo. Y bedwaredd, yw gradd o'r rhith-dduwiolion, pa rai a haerant y gwna yr hanesion gwladwriaethol am y cyfreithiau a'r trethi, &c., a gynnwysir yn y Traethawd hwn, dynu meddyliau y darllenydd oddi wrth dduwiol fyfyrdodau; ac nad ydyw y gwybodaeth o honynt mewn un modd yn angenrheidiol i iechydwriaeth. Gwir yw, ond nid ydynt er hyny yn anfuddiol; canys wedi i'r darllenydd gael hanes gorthrymder gwledydd pellenig, geill fod yn dueddol i ddiolch i Dduw am ei ragorfraint o fod yn trigo ym Mhrydain. Gwir yw eu geiriau, nad oes onid un peth yn angenrheidiol; ond nid allant haeru fod pob gwybodaeth arall yn llwyr aflesol. Yr un Duw a roddes i Solomon ddoethineb i'w gyfarwyddo i ddedwyddwch tragywyddol, a roddes iddo hefyd wybodaeth i ysgrifenu ar anian anifeiliaid, ehediaid, ymlusgiaid, a physgod, a phob coedydd a llysiau, o'r cedrwydd sydd yn Libanus, hyd yr isop a dyf allan o'r pared. Yr oedd Moses yn ddysgedig yn holl ddoethineb yr Aiphtiaid. "Chwanegwch at eich ffydd, rinwedd; ac at rinwedd, wybodaeth." Gan nad ydwyf yn dysgwyl i'r graddau uchod o ddarllenyddion fy esgusodi mwy nag awduron ereill a fuont mor aflwyddiannus a syrthio dan eu barnedigaethau, cyrchaf heibio eu brawdle, ac a gyflwynaf y Traethawd i chwi, ddysgedigion diragfarn, a bwyswch, nid yn unig ammherffeithrwydd awdur, ond hefyd ei amgylchiadau; rhai a dderbyniasoch bum talent, ac ni fynwch waradwyddo yr hwn ni dderbyniodd onid un: i chwi, ac i'm hannysgedig gywleidiadon uniaith, y rhai na ymhonant o ychwaneg o wybodaeth nag yn wirioneddol a feddiannant; ac a ydynt yn ostyngedig i loffa addysg, er lleied a fyddo, ym maes yr iselradd, cystadl ag yng ngwinllan y brëyr dyrchafedig; i chwi, meddaf, y cyflwynaf y Traethawd hwn; ac iddo roddi i chwi gyflawn foddlondeb, yw gwir ewyllys, gan nad yw yng ngallu, eich gostyngeiddiaf a'ch rhwymedicaf wasanaethydd,

GWALLTER MECHAIN.

*Mai* 16, 1791.

# TRAETHAWD AR RYDDID.

## Y RHAN GYNTAF.

**Amrywiol geinciau Rhyddid—Yr anianol—Oddi wrth afradlondeb yr anianol, tarddodd angenrheidrwydd y wladwriaethol—Eglurhâd o'r wladwriaethol—Ei gwerthfawrogrwydd—Bendithion Rhyddid yn arwain meddwl yr Awdur i ddarlunio Gorthrymder.**

Rhyddid, yn gyffredinol, ydyw mwynhâd dymuniad yr ewyllys; ac a ddosberthir i amrywiol geinciau. Y rhan neu'r ddosbarth gyntaf, a elwir *Rhyddid Anianol*, sef braint cynhenid pob dyn yn ei anedigaeth, gan ei ystyried yn rhydd weithredwr, i reoli ei amcanion ei hun, heb gael ei wyro gan allu arall; gan ei fod wedi ei gynnysgaeddu â gwybodaeth o wahaniad rhwng da a drwg; a gallu, i ddewis y moddion sydd yn ei olwg yn fwyaf dymunol; sef caniatâd i weithredu yn ol dymuniad y gweithredwr heb attaliad neu rwystr.

Ond gwyniau dynol ryw yn ol y cwymp, yn gyffredinol, ydynt mor anrhesymol mewn dymuniant, fal nad oes derfynau iddynt; hyn a barodd yr angenrheidrwydd o lunio cyfreithiau gosodedig, i'w hattal rhag myned yn anoddefol mewn cymdeithas: ac felly mae pob dyn pan ddelo yn aelod o gymdeithas, yn gorfod ymadael â rhyw ran o'i Ryddid anianol, megys gwerth am odidoced bryniad. A'r Ryddid gyfyngol hon, sydd o lawer yn fwy gwerthfawr a dymunol na'r Ryddid yr hon ni edwyn derfynau: canys nid ydyw cyfreithiau da yn gwahardd ini yr un ran o Ryddid anianol (fal y gelwir), ond yr un a fo yn niweidiol ini ein hunain, cystadl a'n cyd-drigolion. Nid oes yr un dyn o ddealltwriaeth, a ddymunai Ryddid i wneuthur pob peth a ewyllysiai, heb attal ac heb rwystr; canys trwy ddeddfau Duw a synwyr, byddai y Ryddid hon yn gyffredin i bawb; Rhyddid felly ai yn afradlondeb; ni byddai heddwch na diogelwch i ddynion mewn un

mwynhâd o fywyd. Dyma ddyn yn cael ei attal rhag gwneuthur cam i'w gymmydog, neu iddo ei hun, er bod anianol Ryddid yn hyny yn cael ei lluddias, eto y mae er budd ac adeiladaeth Rhyddid y cyffredin.

Felly, ni waherddir i ddyn, ond y cyfryw ranau o'i Ryddid anianol, ag y sydd yn anghytunol â deddfau cymdeithas, y rhai a elwir yn gyffredinol, gormodedd afreolaidd. Y gyfraith ydyw y wyntyll sydd yn dydoli y rhysedd niweidiol sydd yng nglŷn wrth Ryddid anianol, oddi wrth y ran odidog hòno o fraint ganedigol dyn, sef Rhyddid wladwriaethol; yr hon sydd yn gwneuthur dyn yn aelod llesol o gymdeithas; hon yw hawl ac etifeddiaeth pob un o drigolion Prydain, tra yr ymddygo yn addas i ddefodau y wladwriaeth, a therfynau Rhyddid.

*Rhyddid Wladwriaethol*, yw bod gwladwriaeth neu deyrnas yn mwynhau ei chyfreithiau gosodedig ei hun, heb fod yn ddarostyngedig i reolaeth gymhelledig gormeisiaid pellenig; a bod pob dyn o ymarweddiad ddiargyhoedd, yn cael achlesu ei fywyd, ei eiddo, a'i eirda tan nodded y gyfraith; yr hon yw'r ail gainc o Ryddid.

Y drydedd gainc, a elwir *Rhyddid Grefyddol*, sef caniatâd i arfer y ddull o addoliad a fo fwyaf derbyniol a chymmeradwy gan yr addoledig, ym marn cydwybodau yr addolwyr. Y bedwaredd, ydyw *Rhyddid Cydwybod* a *Rhyddid Ewyllys:* ansawdd pob un a egluraf yn helaethach mewn trefn.

Mae y ceinciau hyn yn gyffredinol, yn dwyn yr unrhyw ffrwythau mewn mynwes ddihalog, sef y dedwyddwch o foddlonrwydd meddwl: mwy dymunol ydynt nag aur coeth, na'r bywyd trancedig hwn; canys os bydd dyn mor druenus a bod yn amddifad o'r fendith y maent yn ei roddi, nid yw holl ddyddiau ei einioes ond gwastadol hirnos o nych, gofid, a blinder; o ba gyflwr cystuddiol, nid oes ond y cyfaill tirion hwnw Angeu, a ddichon roddi iddo ollyngdod, yr hwn sydd yn dwyn agoriadau y carchar gydag ef.

Rhyddid yw un o'r gwerthfawrocaf o fendithion

nef! bydded i ei Hollalluog Gyfranwr ganiatäu iddi feddiannu byth ei gorsedd anrhydeddus ym Mhrydain; pa ynys, er ei mwyn, sydd glodadwy hyd eithafoedd y cyfannedd-fyd. Mae Rhyddid yn addurno mwy ar deyrnwialen Sior, nag y mae yr holl feini gwerthfawr yn gogoneddu gorseddfainc ymherawdr yr Indostan ym mreninllys Agra,[1] lle ni bu Rhyddid erioed yn sefydlog.

O! rhodded archwaeth ei melusder foddlonrwydd ystyriol ym meddyliau y myrddiynau sydd yn ennill eu porthiant trwy lafur-chwys eu gruddiau. Fe a'i henwir yn anedigaeth-fraint y Prydeiniaid; y mae pob un o honynt yn arddel hawl ynddi: y mae yr Iuddew, y Mahometan, y Blowmon anghred, yn dyfod tan gysgod ac achles Rhyddid, gan gynted y sango dir Prydain. Mor hysbys yw y Prydeiniaid o'i godidawgrwydd, mor anwyl ganddynt ei breintiau; pe cynnygid ei gorthrechu gan ryw ormes, pellenig neu gartrefol, ni bu wenyn llidiawg-chwyrn erioed fileiniach yn amddiffyn eu trysor o ddrud felus ddiliau, nag y byddai y Prydeiniaid, ei meibion magwriaethol, cydnabyddus o'i gwerthfawrogrwydd, yn ymdrechu yn ei phlaid.

Po mwyaf helbul a thrafferth a gaffo ymdrechwr i ennill camp-dlws, mwyaf anwyl a gofalus a ddylai fod o honi: felly drud yw Rhyddid i Brydeiniaid! Pa sawl arwr dewrwych a waedodd er ei mwyn! Ewrop a'i ceisiodd, Prydain a'i cafodd! Pa nifer o wledydd a hiraethasant am dani yn ddirfawr, ac a geisiasant aberthu ar ei hallor? ond eto yr oedd hi iddynt yn "dduwies nad adwaenynt."

Rhyddid sydd yn gwarchad yr ymdeithydd, yn gwneyd cwsg y lluddedig yn ddiogel, yn cyfoethogi y

[1] "Here the Mogul a spacious empire sways,
Around his golden seat the dazzling blaze
Of diamonds, rubies, sapphires, strikes the eye;
The richest throne beneath the copious sky."[2]
See "A Poem on India," *Gent. Mag.*, 1735.

[2] Nid oes yn awr yn Agra ond cysgodion ei mawrhydi gynt. Mor ddiflanedig yw rhwysg a mawredd daiarol! Pa le y mae Babilon fawr heddyw? Pa le y mae Ninifeh gadarn a goludog? Y mae fel cicaion y prophwyd, gwedi gwywo a diflanu!

diwyd, ac yn lloni y llafurwr. Nid llawer o flynyddoedd a aethant heibio, er pan oedd y llafurwyr yn gorfod bod yn arfog yng Nghymru, yr arddwr amaeth yn dal yr aradr â chleddyf wrth ei glun; y pryd yr oedd Rhyddid mewn alltudaeth.

Rhyddid sydd yn attal trawsder, yn amddiffyn gwendid! ceidwadaeth ein breintiau, mammaeth digonolrwydd, amlhâd ein triniaeth: y mae ein llongau o'i herwydd yn tryfrith wau hyd y cefnfor, ac yn cludo cyfoeth o eithaf pedryfanoedd y ddaiar.[1]

Rhyddid yw achles, a gwinllan fagwriaeth celfyddydau. Y gormesdeyrn na fyn Ryddid yn ei lywodraeth, rhaid iddo groesawu tlodi ac anwybodaeth. Lle mae Rhyddid yn cyfanneddu, y mae y celfyddydau yn lluosog dywynu; y mae gwlad rydd yn gwahawdd dynion deallgar ym mhob cywreinrwydd i breswylio ynddi. Y mae Rhyddid i'r corff cynnulledig, sef gwladwriaeth, yr un peth ag yw iechyd i bob corff diranedig; canys ni phrofir hawddfyd gan un dyn heb iechyd, felly nid oes ddedwyddwch mewn cymdeithas heb Ryddid. Seneddwr o Rufain gynt a ofynodd i'w gaethwas, pan ei gwelodd ef yn wylo yn chwerw-dost, pa ham yr wylai? ai am ei fod yn gaeth? Yntau a atebodd, "O! nag e, ond am fy mod unwaith yn rhydd!"

Gwerthfawrogrwydd Rhyddid, a'r llawenydd y mae yn ei gynhyrfu yng nghalonau y sawl a'i mwynhao, wedi dyoddef hir gaethiwed tan gawodydd creulon o orthrymder, sydd amlwg yng nghân Moses a phlant Israel, wedi eu rhyddhau o gaethiwed Pharaoh, a pherygl y Môr Coch. Nid yw cân Barac a Deborah

[1] "Neptune to Britain has resigned his throne,
The raging seas, world's great waste 's her own;
Her pow'r extends as far as winds can blow,
Or swelling sails upon the globe may go;
The taste of hot Arabia's spice we know,
Nor feel the scorching sun that makes it grow;
Without the worm, in Persian silk we shine,
And, without planting, drink of ev'ry vine.
Britain, where science, peace, and plenty smile,
Virtue's bright star, and freedom's favour'd isle."

yn dangos llai o orfoledd wrth ddiolch i Dduw am eu Rhyddid oddi dan iau brenin y cerbydau heiyrn. Gobaith am Ryddid a gryfhaodd ddyrnod Iudeth ferch Merari, i ddydoli pen Olophernes oddi wrth ei gorff; ac ar ol llwyddo, bywiogodd ei chalon, llefarodd ei geneu mewn llawenydd. O'r tu arall, mor lwfr ddigalon ydyw y caethion!—"Wrth afonydd Babilon, yno yr eisteddasom, ac yr wylasom, pan feddyliasom am Sïon," ebr y duwiol brophwyd: tristwch oedd eu telynau iddynt—"Pa fodd y canwn gerdd yr Arglwydd mewn gwlad ddyeithr?"—

"Gwae ni o'r byd dybryd hwn
(Cwynant), pa fodd y canwn
Gerdd Ion mewn tir estronol?
A'n mad anwyl-wlad yn ol!
Ni bu (dref sorth dan orthrech)
Fy nhrem am Gaersalem sech;
Os hawdd yr anghofiais hi,
Del ammhorth yn dâl imi,
Anhwylied fy neheulaw,
Parlys ar bob dryg-fys draw,
A'm tafod ffals gwammal-syth
Ffered yn sych baeled byth!"

GEO. OWAIN.

Sylwodd Montesque fod y dynion a fyddont mewn caethiwed, wrth ganfod y Rhyddid y mae ereill yn ei mwynhau, a hwythau wedi eu cau allan, yn dueddol, megys y dysbeiddiaid yn rhewydd-gelloed[1] y dwyreinfyd, i dreulio holl ddyddiau eu heinioes mewn cenfigen a chasineb tuag at bawb ereill o ddynol ryw. Meddwl cymhelledig a gais bob achlysur i ymddïanc o'r gefyn.

Deffroawdd ein cymmydogion y Ffrancod, a rhoddasant ddiofryd na chai gorthrymder cartrefol suo iddynt i gysgu yn rhagor: dim llai na deg mil a deugain a ymddangosodd tan luman Rhyddid, yn eu prif ddinas, ar y bythol gofiadwy ddiwrnod y torasant iau gorthrymder,[2] a phob un yn barod i lefain fal y gwaeddodd Brutus yn chwerwder ei enaid, "Un ai Rhyddid ai angeu!"

[1] Seraglios. [2] July 14, 1789.

Diwrnod nodedig adferiad Rhyddid i ardaloedd Lewis, y pryd y tynwyd i'r llawr y carchar erchyll hwnw a elwid y Bastil, enw yr hwn sydd ddigonol i lenwi calon dyner â lluniau ellyllig llawn o ddychryniadau. Y mynyd diweddaf, yr oedd fy meddwl gwibiog yn llwythog o gyffelybiaethau a gwrthddrychiadau boddgar, amlygiad o fendithion Rhyddid angylaidd; yn awr, nid allaf fyned rhagof, heb fwrw ychydig o amser i fyfyrio ar yr anian fileinig sydd yn rheoli yng nghalonau dynion anystyriol, yn peri iddynt arfer y moddion creulonaf a allant hwy a senedd uffern ddychymmyg, i garcharu a gorthrymu eu cydgreaduriaid, hepil yr un Adda!

Fy mwriad yn y ddosbarth nesaf yw traethu ychydig o echryslondeb gelynion gwrthwynebol Rhyddid, sef caethiwed a gorthrymder; canys dyeithrol ydynt (o ran profiad) i ni Brydeiniaid, er bod llaweroedd o'n cydwladwyr ceintachus, naill ai o ran traddodiad, neu anwybodaeth, yn cwyno eu caethiwed, ac yn tuchan o herwydd trymder eu trethi; gresynol yw bod y cyfryw yn cyfanneddu yng nghanol Rhyddid heb gyfaddef eu bod: yr wyf fi yn barod i ddweyd ar ol yr hen fardd—

"Ei gyfri'r wyf yn uchelfraint imi,
Yn yr oes hon im' gael fy ngeni."

---

## YR AIL RAN.

### CAETHIWED A GORTHRYMDER.

**Dau ryw Gaethiwed, haeddiannol ac anhaeddiannol—Hanesion gorthrymder mewn gwledydd tramor—Tost gyflwr caethion y rhwyflongau—A charcharorion y Bastil.—Darluniad Stern o gaethiwed—Diolchgarwch Socrates.**

DAU fath o gaethiwed y sydd, haeddiannol ac anhaeddiannol. Yr angylion syrthiedig a gawsant y prawf

cyntaf o gaethiwed haeddiannol, gwobr balchder ac anufudd-dod, pan droseddasant derfynau Rhyddid yr Hollalluog.

Wrth gaethiwed anhaeddiannol y mae gorthrymder yng nglŷn: gorthrymder sydd weithred ddynol yn wastadol; er bod Duw yn cospi dynion am eu pechodau, eto nid ellir ddywedyd ei fod yn gorthrymu: gorthrymder sydd yn wastadol yn tarddu oddi wrth yr uchraddolion at yr israddolion; canys brenin a eill orthrymu ei ddeiliaid, y penciwdawd ei filwyr, perchen tiroedd ei adlawiaid, arglwydd ei weinidog, ïe, tad ei blentyn.

Gorthrymder, megys gweithred o greulonder, sydd yn tarddu o galon amddifad o dosturi at gydgreaduriaid. Balchder ac ymchwydd sychedig, yn hiraethu am glod a gwag-ogoniant mewn calonau ystyfnig, oedd dechreuad gorthrymder; ceisient bob achlysur i ddangos eu mileindra a'u creulonder tuag at ddynol ryw; ac yn fynych ni arbedent eu gwladwyr na'u cyfneseifiaid eu hunain.

Nimrod, yr heliwr cadarn, oedd y gorthrymwr cyntaf, fel y mae awduron yn tystio: a Ninus ei fab oedd frenin Assyria, a orchfygodd Soroaster, brenin Bactria; yr hwn oedd y tywysog cyntaf a orthrymwyd, ac a ddygwyd tan deyrnged. Brenin Elam a'i blaid drachefn a orthrymodd frenin Sodom a'i gyfathrachwyr. Arglwyddiaethol iawn ar ei ddeiliaid oedd Pharaoh yr Aiphtwr, pan ddywedai wrth Ioseph, "Hebot ti ni chyfyd gwr na'i law na'i droed trwy holl wlad yr Aipht. *Myfi yw Pharaoh!*" Tosturus bod bywydau holl drigolion y deyrnas ar law un dyn! A Pharaoh arall, yr hwn ni adnabuasai Ioseph, oedd greulonach fyth; gorthrymwr creulon oedd ar yr Israeliaid: y mae ei anian sarig ef yn amlwg yn y gorchymmyn caled a roddodd iddynt fal hyn:—"Am hyny ewch yn awr, gweithiwch; ac ni roddir gwellt i chwi; eto chwi a roddwch yr un cyfrif o'r priddfeini."

Hanes amryw orthrymwyr a gyfarfyddir yn yr Ysgrythyr: ond fe allai y dywed y darllenydd ei fod

yn fwy hysbys o honynt na myfi; am hyny gadawaf hwynt i fyned rhagof at hanesion ereill: ond ar y ffordd, nid allaf beidio â chrybwyll cyhoeddiad brenin Babilon; wrth ystyried yr hwn, nid eill Prydeiniaid lai na diolch i Dduw, am eu Rhyddid i addoli fal yr ewyllysient:—"Addolwch y ddelw aur a gyfododd Nebuchadonosor y brenin: a'r hwn ni syrthio ac ni addolo, yr awr hòno, a fwrir i ganol ffwrn o dân poeth." O! greulon ddallineb, fod un brenin daiarol o'r fath gynneddf a chymhell cydwybodau ei ddeiliaid tan berygl marwolaeth trwy ddygnaf boenau.

Bellach, i fyned ym mlaen; ac os oes fodd i roddi taw ar y grwgnachwyr sydd yn sibrwd ac yn dadwrdd fod y byd yn myned waethwaeth, y cyfreithiau yn gaethach, a'r trethi yn drymach, yn niwedd pob cân dyna y byrdwn presennol; darllened y cyfryw yr hanesion canlynol, fe allai y newidiant eu llais, y talant eu trethi yn foddlon, y gweddïant efo'r eglwys a'r brenin, ac y diolchant i Dduw eu bod yn preswylio mewn gwlad lle mae cyfraith yn amddiffyn y gwreng cystal a'r boneddig.

Nid yw'r trethi yn Lloegr a Chymru i'w tebygu i'r rhai sydd mewn gwledydd tramor; y mae trigolion Georgia yn Asia yn cael eu trethu gan drymed gan y Persiaid a'r Twrciaid, fal nad oes gan amryw o honynt fodd yn y byd i'w talu; ac o herwydd hyny yn gorfod ymadael â'u plant oddi ar fronau eu mamau; y benywod i fod yn buteiniaid i'r Sultan, a'r gwrywiaid naill ai yn ddysbeiddiaid yn eu cyffodendai, neu yn filwyr yn eu byddinoedd. Pa galon na waedai o dosturi wrth feddwl am y fath drais gormesol! Rhieni plentyn, wedi ei faethu yn ofalus rai blynyddoedd, yn gorfod ei ollwng i gigyddion anghred, i'w drosglwyddo i le na wyddant, ac ergyd i fil, iddynt fyth gael ail olwg arno. Y mae rhai yn dysgwyl i'r trueiniaid hyn o Georgia ysgwyd ymaith yr iau felltigedig hon, cyn y byddo hir; canys mae y brenin sydd arnynt yn awr yn arwr o anian fywiog, ryfelgar; a thra bo Selim, â llonaid ei ddwylaw, a mwy nag a all ei

ewinedd wneuthur efo Semiramis[1] y Gogledd, nid anhawdd a fydd. Gweddïwn efo 'n cyd-gristianogion; dymunwn i Dduw ganiatäu i Ryddid unwaith wenu arnynt.

Y mae yr Holandiaid yn trethu y Sineaid[2] yn llywodraeth Batavia mor dost, a bod yn rhaid iddynt dalu coron y pen, am genad i wisgo eu gwallt; a dywedir nad oes lai o honynt dan y lywodraeth hon na phedwar ugain mil: a choron yn rhagor a dalant am bob gwäell arian a wisgant yn eu gwallt; a rhai o'r dyledogion a arferant amryw wëyll. Nid oes braidd un peth at wasanaeth trigolion y wlad hòno a'r na threthir: pe trethent bob dant yn eu penau, nid oes iddynt waredigaeth, ond dyoddef yn amyneddgar.

Yn Holand fe drethir pob math o ymborth, yn oed llysiau gerddi; dywedir fod ambell ddysglaid o fwyd wedi ei threthi ugain o weithiau, cyn iddi ddyfod i'r bwrdd; ac ym mhellach, na werthir buwch naw oed, am ugain o goronau, na bo dwy ar hugain o goronau wedi bod arni cyn y pryd hyny, o drethi: ac eto mae yr Holandiaid yn fwy boddlonus na'r Prydeiniaid; ac er eu bod yn talu trymed trethi, maent yn gyfoethocach (o herwydd eu diwydrwydd) na nemor genedl yn y byd.

Mae brenin Persia yn arddelw awdurdod direswm ar fywydau ei ddeiliaid; pe gorchymmynai, yn ei wallgofrwydd, ddienyddu un o'i benswyddogion, heb yr achos lleiaf, fe ufuddhëid iddo yn ebrwydd: nid rhinwedd gwrthddrych ei ddigofaint, na'i glodfawr wasanaeth ym mhlaid ei deyrn a'i genedl, a rydd yr effaith lleiaf i achub ei fywyd; os rhoddodd y brenin ei fryd ar ddwyn ei hoedl, dyna y cwbl drosodd, â gair ei eneu, neu yr amnaid lleiaf.

Ond ym mhlith y gormesdeyrnedd creulonaf a halogodd orseddfeinciau, ac a flinodd amynedd nef â'u gweithredoedd echryslon, y mae Muley Ishmael,

[1] [Catharine II, Empress of Russia.]
[2] [The Chinese.]

ymherawdr Morocco (yr hwn, yn ol rhy hir deyrnasiad, a drengodd yn y fl. 1714), yn gofyn y lle uchaf. Cenadon tramor, y rhai a fuont mor anffodiog a chael golwg ar y gwr tirion hwn, sy'n rhoi ei hanes fal y canlyn:—Ar ddiwrnod gosodedig fe gyhoeddai lys agored, ac mewn eang gyntedd bwriadol, efe a farchogai mewn rhwysg i ddangos ei fawrhydi i'r dyeithriaid: a nifer mawr o'i lywiawdwyr taleithiau o'i amgylch yn droednoeth, a than grynu ac ymgrymu at y llawr, hwy a'i galwent yn "weinidog Duw—ymherawdr y ffyddloniaid—yr hwn oedd ddewrwych yn ffyrdd yr Arglwydd—y dyledawg!—y da!" Ac ym mhen pob gair a lefarai yr ymherawdr, hwythau a grochlefent,—"Mawr yw doethineb ein harglwydd y brenin!—mae ein harglwydd y brenin yn llefaru megys angel o'r nefoedd!" Ond cyn disgyn oddi ar ei farch, fe a laddai yn gyffredinol ddau neu dri o'i ddeiliaid ffyddlonaf, ag ergyd ei waewffon; i ddangos i'r cenadon dyeithrol ei ddeheurwydd mewn rhyfel. Yr awduron a ysgrifenasant hanes ei weithredoedd ardderchog, a fwriasant iddo yn ei einioes, ladd deugain mil o'i ddeiliaid, i'w foddio ei hun, bob yn ychydig. Yr oedd ganddo gryn hoffder mewn adeiladaeth, ac yn fynych dygwyddodd yn ol gorphen teml neu ryw adeilad arall, os na byddai wrth ei fodd, fe orchymmynai ei dynu i'r llawr, a lladd cynnifer a oeddynt â llaw yn y gorchwyl.

Unwaith darfu i farsiandwr o Loegr fod mor eofn a rhoddi iddo fwyall o waith celfydd yn anrheg; yntau, i brofi ei hawch, a dorodd ymaith glust y rhoddwr yn ddiattreg.

Fe fflangellodd un o'i uchel-gynghoriaid i'w farwolaeth, ac a orchymmynodd ddienyddu y meddyg am nad allai achub ei einioes. Os byddai gair fod rhai o'i ddeiliaid yn gyfoethocach na'u gilydd, fe anfonai yn ebrwydd am eu holl eiddo; a hoff gan y perchenogion fyddai cael ymadael â hwynt heb golli eu hoedlau. Fe grogai ei raglawiaid yn fynych, ac a anfonai rai o'i gaethweision ffyddlonaf i'w claddu yn ddirgel; ac wedi

i'r rhai hyny ddychwelyd, fe a dorai wythen waed bob un o honynt yn ebrwydd, megys y ddichell benaf i gadw y gyfrinach.

O! gythreulig orthrymder, a ddeorwyd yn uffern, chwerwed a fu i amryw deyrnasoedd! Bu cenedl y Prydeiniaid yn griddfan dan ei phwys rai oesoedd: Iulius Agricola a'u trethodd yn drwm iawn; a Seneca, yr enwog athraw hwnw, a gymmerodd y trethiadau wrth y flwyddyn, bid ennill, bid colli; a'i geisiaid a fuont greulon iawn yn eu casglu:[1] y Prydeiniaid a gwynasant eu gorthrymder, ond ni wrandawyd hwynt; a hyny fu yr achos o'u hegnïol ymgais i dori yr iau Rufeinaidd, ac i ennill eu Rhyddid dan eu brenines Buddug,[2] yr hon a orchfygwyd, a lladdwyd deg a thrigain o filoedd o'n hynafiaid; a'r ddinas Augusta, yn awr Llundain, a losgwyd i'r llawr.

O'r holl orthrymwyr fu yn llywio y deyrnwialen ymherodrawl yn Rhufain, Nero oedd un o'r penaf a'i hynododd â gwaed a chelaneddau y dieuogion. Seneca, ei ddysgedig athraw, a'i nai Lucan, yr enwog fardd, a laddwyd ganddo. Efe a roddodd ddwy, o dair o wragedd a fu iddo, i farwolaeth. Agrippina, ei fam, a felltithiodd yr awr y ganwyd ef i flino dynol ryw; ac o'r diwedd, yr hon a'i dygodd i'r byd a syrthiodd yn aberth ar allor ei wallgofus greulonder. Mynych y dywedai mai Priaf o Droia oedd y tywysog dedwyddaf a fu ar y ddaiar, o ran iddo gaffael y mwyniant o ganfod ei ddinas yn goelcerth cyn ei farwolaeth; ac oddi wrth y meddwl hwnw gorchymmynodd i'w weision roddi Rhufain ar dân, yr hyn yn ebrwydd a wnaethant, ac yntau yn y cyfamser wedi myned i ben castell Mecænas i gael ei lawn olwg ar yr oddaith echrydus, ac wrth fodd ei galon yn chwareu ei delyn, gan ganu efo'i law rai o odlau Homer ar losgiad Troia. Ond gwaeth na llosgi'r ddinas, fe a roddodd y bai oddi ar ei gefn ei hun, ar y Cristianogion; ac a gyfododd erlidigaeth greulon yn eu herbyn. O'r

[1] Tacitus. [2] Boadicca.

diwedd, ei anian annynol a barodd i bawb ei gasäu a'i adael. Felly ymadawodd â'i freninfainc, gan ddymuno ar Epaphroditus, ei ryddwas, ei ladd ef, yr hwn a dorodd ei waewffon wrth wneuthur y gymmwynas hòno iddo.

Fe ddywedir fod Mahomet II. yn offeryn marwolaeth i wyth gan mil o eneidiau. Yr oedd ei greulonder wedi tyfu i'r fath radd o ddyhirwch, fal ag y darfu orchymmyn agor yn fyw bedwar ar ddeg o'i brif weinidogion, er mwyn cael gwybod pa un o honynt a fuasai mor flysig a meiddio bwyta un o'i ber afalau. Ar dro arall, fe dorodd â'i law ei hun, ben merch ieuanc, o herwydd ei bod yn rhy lân ei gwynebpryd. Y paganiaid a'r Pabyddion, trwy eu gorthrymder a'u herlidigaethau, a dywalltasant ffrydiau o waed Cristianogion; ond dilynwyr Mahomet a aethant ym mhellach yn y galanasdra: gellir dywedyd am danynt fal y dywedodd llancesi Israel yn eu caniadau am Saul a Dafydd,—"Un a laddodd ei filoedd, a'r llall ei fyrddiynau."

Yr oedd Solyman, ymherawdr arall ar y Twrciaid, mor greulon ddideimlad, ag erchi i'w garcharorion Cristianogol sefyll yn rhestr y naill du i'r heol; yna gorchymmynai i'w ddau fab eu dienyddu hwynt; a'r hwn a dorai y toriad erchyllaf ag un ergyd cleddyf, ar aelodau y Cristianogion hyny, a gafai y wobrwy fwyaf, ac addewid o fod yn etifedd i'r goron: ond un o honynt ar ryw dro oedd ry dyner ei galon, ei dad yn ddiattreg a'i trywanodd, yng ngolwg ei frawd, yr hwn yn ebrwydd, pan welodd ddiderfyn fileindra ei dad, a laddodd ei hun; felly y bu Solyman yn amddifad o'i ddau fab yn yr un diwrnod.

Y mae ymherawdr Morocco, ac ereill o'i gymmydogion, yn cymhell eu deiliaid trwy drais, i osod allan longau ar eu traul eu hunain, i ysbeilio Cristianogion; a pha faint bynag a gymmeront, mynir ganddynt ddegfed ran; ac os dygwyddant gymmeryd carcharorion, rhaid iddynt naill ai prynu eu Rhyddid am rifedi anfeidrol o arian, neu fod yn gaethion dra byddont byw:

ac fe allai yn y diwedd gael eu lladd er difyrwch i'r treiswyr annhrugarog.

Un o ymherawdwyr yr Indostan oedd chwannog iawn i ymdrochi mewn dwfr; ond ar ddamwain un tro, efe fu cyhyd tan ddwfr hyd oni chollodd ei synwyrau; un o'i weision yn chwennych ei achub, a'i cymmerodd allan gerfydd gwallt ei ben; ond yn daledigaeth am ei wasanaeth, cafodd dori ei ddwylaw ymaith, am feiddio cyffwrdd â chorff y brenin: a rhyw dro wedi hyny, cafodd yr ymherawdr yr unrhyw anffawd yn y dwfr, a'r gweision yn chwennych cadw eu dwylaw, a'i gadawsant i foddi, fal yr oedd yn haeddu: hyn a ddygwyddodd yn y flwyddyn 1510.

Cafodd un o drigolion Yspaen ei roddi i farwolaeth am gynnorthwyo y frenines i ochel codwm oddi ar ei march; o achos iddo ymaflyd yn ei throed cyssegredig.

Y naill ddyn yn gorthrymu y llall, sydd yn llwyr anghytunol â'r grefydd Gristianogol; canys Crist a gymmerodd arno ein beichiau, a thrwy ei dosturi a'i drugaredd, y mae yn ein hannog i fod yn addfwyn, ac i gasäu gorthrymder. Ayliffe, pan ddygpwyd yn garcharor ger bron Iago II, a wnaeth ei amddiffyniad gan ddweyd, nad oedd efe yn credu i Dduw erioed lunio y naill hanner o ddynol ryw, i'r hanner arall eu marchogaeth fel pe baent geffylau.

Blinder meddwl yw ystyried y boen a'r drafferth y mae un ran o ddynol ryw ym mhob oes wedi gymmeryd, i ddychymmygu arteithiau a phoenau, i wneuthur y rhan arall, sef eu cydgreaduriaid, mor druenus ag y gallont yn y byd hwn! Pe cymmerasent y ddegfed ran o'r drafferth i wneuthur eu brodyr yn ddedwydd ac yn esmwyth, buasent yn cyflawnu rhan o'r gorchymmyn mawr, sef cariad; a chawsent wobrwy am y gwaith.

Bu yr arfer yn Ffrainc ac amryw wledydd, yr hon a ddilynir eto mewn rhai manau; sef cospi y sawl na chydffurfiai â'r grefydd babaidd, trwy eu danfon yng nghyd â drygweithredwyr yn gaethion i'r rhwyf-

longau.[1] Y modd y trinir y creaduriaid truenus hyny, sydd ry echryslon i'w gyflawn adrodd. Rhwyfo y llongau hyny sydd lafur annhraethol; a phan fônt ym mron syrthio o ddiffyg gwynt a blinder, chwanegir eu poenau trwy eu ffrewyllu yn ddibaid. Dynion nerthol yn unig a ddeil at y trymwaith hwn; y gweiniaid yn fynych a syrthiant yn feirw tan bwys y rhwyf ac annogiad y ffrewyllwr creulon. Y maent yn dewis y dynion cieiddiaf, hynod am bob ysgelerder, yn swyddogion arnynt; ni chaniatëir iddynt fyned o'r llongau na dydd na nos, er eu bod mewn porthladd; a phan syrthio un yn farw tan ei galedi, fe'i teflir i'r môr yn ebrwydd, a gosod un arall yn ei le; ef allai i'r un dyben, ar fyr ennyd. Gwelais hanes i un o'r ffrewyllwyr dori ymaith fraich un o'r caethion yn ei greulonder ysgymmun; ac wedi hyny cymmerodd afael yn yr aelod i guro y caethion ereill. Hirymarëus yw amynedd nef! Pe gyrasai rhyw enaid trugarog gymhorth i un o honynt, yn ymborth neu yn arian, buasai yn achos marwolaeth iddo, pe cawsai y swyddogion wybod. Y mae y caethion hyn yn gorfod gweithio yn noethion, ac yn fynych y mae chwys a gwaed yn treiglo am y cyflymaf hyd eu cyrff briwiedig; pan fyddont ym mron rhoddi i fyny yr ysbryd tan y ffrewyll, fe a roddir yn eu pénau damaid o fara wedi ei wlychu mewn gwin, fal y cryfhaont i ddyoddef ychwaneg o arteithiau: rhoddir halen hefyd ar eu briwiau, i chwanegu eu gofidiau; a phan fyddo y caethion yn dolefain gweddïau am angeu neu esmwythder, y swyddogion (i gyflawnu y gerddoriaeth) a'u hetyb â rhegfëydd a chlecian ffrewyllau. Pum cant o'r caethion hyn fyddai yn aml yn yr un carchar, ugain ym mhob rhes, wedi eu tido wrth y llawr ar wastad eu cefnau, a thorch haiarn am wddf pob un o honynt; a gorfod gorwedd yn y cyflwr hwnw, rai misoedd yn nhrymder gauaf, i aros i'w brodyr mewn blinder ddyfod oll yng nghyd, i gael eu cydgychwyn wedi eu

[1] Galleys.

hieuo y naill at y llall; a'r rhai gwanaf yn eu plith yn fynych a fyddent feirw cyn cyrhaedd y rhwyflongau.

Yr oedd yn ddiweddar yn rhwyflongau Toulon, yn Ffrainc, gaethwas o'r grefydd Brotestanaidd a elwid Ffrancis Condé; yr oedd efe yno er ys dwy flynedd a deugain; a holl achos ei gaethiwed oedd rhyw ymryson a ddygwyddodd rhyngtho a gwr boneddig ym Mharis: ac er nad oedd ond pedair ar ddeg oed, ac yn gloff o un fraich, fe'i barnwyd yn gaeth i'r rhwyflongau am ei oes.

Rhyw ymdeithydd wrth fyned trwy Genoa, aeth i weled carcharorion o'r fath; fe a'u cafodd mewn dyfnbwll echryslon, yn gorwedd ar y llawr; bara du a dwfr budraidd oedd eu hymborth; gofynodd i'w gyfarwyddwr, wrth weled eu tremiadau mor arw-flewog arswydus, "Er ys pa amser y mae y trueiniaid hyn yma?" "Er ys ugain mlynedd." "Pa faint yw eu hoedran?" "Deg a thrigain." O! mor echrys y drigfan lle mae trugaredd yn ddyeithrol, a thosturi yn llwyr anghydnabyddus.

Addfwyn a thosturiol dueddfryd y ddiweddar Frenines Ann, a fu offeryn llwyddiannus i ddirprwyo Rhyddid chwech ugain ac un ar bymtheg o'r caethion oedd yn rhwyflongau Marseilles yn Ffrainc; deuddeg o honynt yn unig (yn ol dull y gwahanglwyfus) a ddaethant i Loegr i ddiolch i'r frenines am eu gwaredigaeth.

Llanc ieuanc tair ar ddeg oed a fwriwyd i brif garchar Ffrainc yn y fl. 1674, trwy orchymmyn y Iesuitiaid, am ysgrifenu odlig Ladin o ddwy linell, a'i hoelio ar borth Ysgol Clarmont ym Mharis; fal y canlyn:

> "Abstulit hinc Iesum, posuitque insignia regis
> Impia gens: alium non colit illa Deum."

Hyny yw: "Drygionus genedl a gymmyrth Iesu oddi yma, ac a osododd yn ei le benwn y brenin: nid yw y genedl hòno yn addoli un Duw arall."

Ac yn y flwyddyn 1705, wedi bod yn garcharor un

mlynedd ar ddeg ar hugain, a threftadaeth ei hynafiaid wedi disgyn iddo, trwy nerthol effaith y gawod aur efe a gafodd ei Ryddid.

Bu yr Arglwydd Masareene o'r Iwerddon, yn y carchar hwn o gylch deng mlynedd ar hugain, ac wedi iddo gael ei draed yn rhyddion, a dyfod i Loegr, fe a syrthiodd yn ebrwydd ar ei wyneb ac a gusanodd y tir, gan ddywedyd, "Gwynfydedig yn dragwyddol fyddo y wlad hon o Ryddid."

Un o ragorfreintiau brenin Ffrainc, cyn y cyfnewidiad diweddar, oedd bwrw i'r carchar hwnw, pwy bynag a'i hanfoddiai ef, neu ei barchedigion; heb gael byth eu hedfryd, oni welai efe hyny yn oreu. Un Henri Masser de la Tude, am drosedd bychan yn erbyn Madame de Pompadour, a fwriwyd i'r carchar hwn, ac a symmudwyd oddi yno i gastell Vincennes, o ba fan y diangodd; ond wedi ei ail gymmeryd, efe a anfonwyd drachefn i'r Bastil, mewn cymdeithas ag un M. d'Alegre. Ac ym mhen rhyw amser, y ddau a gydfwriadasant weithio eu diangfa, trwy foddion bron anghredadwy; yr oedd mur y carchar yn chwe' throedfedd o drwch, pedair alch haiarn yn y ffenestri, a chymmaint yn y cyrn mwg; y muriau oeddynt o uchder rhyfeddol, a'r ffos amgylchedig yn llawn o ddwfr, a pheth oedd beryglach, yn gadwedig gan arfog wylwyr. Deunaw mis y buont ar eu goreu yn parotoi eu diangfa ddydd a nos; buont chwe' awr at eu ceseiliau mewn dwfr, tra buont yn tori trwy y mur oedd yn amgylchu y ffos; ac wedi iddynt fyned trwodd, aflwydd yn wastadol sydd yn erlid yr anffodiog, cyn eu myned neppell y ddau a gymmerwyd. "Y truan D'Alegre," meddai M. de la Tude, "fy nghyd-ddyoddefwr, fy nghyfaill mewn adfyd, nid allodd gynnal y fath greulawn driniad; canys cynted ag ein dygwyd yn ol i'r carchar, digalondeb ac anobaith a barodd iddo wallgofi!" Yr oedd D'Alegre yn fyw yn y flwyddyn 1777, ond nid oedd ganddo deimlad o'i gyflwr. Ar yr wythfed ar hugain o Fawrth, 1784, y gresynol ofidus M. de la Tude a ryddhawyd drwy erfyniad Madame

le Gros, yng nghyd â chaniatâd blynyddawl o bedwar cant o ddarnau arian.[1] Y llywodraethwr De Rohan, pan aeth i'w anerch â newydd o'i ollyngdod, a'i cafodd wedi ei gaethiwo ddeg troedfedd tan y ddaiar; heb yr un gwely ond gwellt; ei wisgoedd yn gawiau; a'i farf yn droedfedd a hanner o hyd; a'i ymborth oedd fara a dwfr. Byddai yn llawer tynerach ar farnwr ddifuddio drygweithredwr o'i einioes drwy'r arteithiau dirboenaf, na'i fwrw i garchar gwastadol; canys wrth gael ei roddi i farwolaeth, ei druenus barhâd a ddarfyddai mewn llai nag awr; ond mewn carchar creulon, mae yn dyoddef, bob mynyd, arteithiau a dygnedd mîl o farwolaethau.

"Darluniwch fy nghyflwr yn eich meddyliau" (meddai H. M. de la Tude, pan ysgrifenodd ei hanes), "fod ddeng mlynedd mewn carchar-bwll, heb gymmaint a gweled na siarad â chyd-garcharor, a fyddo yn yr ystafell uwch ben: fe eill tad a mab fod yno hir flynyddoedd, heb i'r un ammheu unwaith fod iddo garennydd yn agos: bydded y brenin marw, newidier y swyddogion, ni chlywch air o son, na newydd yn y byd arall, ni ddywed yr ymwelwr ond 'dydd da ichwi,' 'nos dda ichwi.' Yn y lletty hwn o nychdod, y treuliais ddeuddeg mil, un cant, a thri ugain a thri o ddyddiau a nosweithiau; mi a riddfenais allan, dair mil a saith a thri ugain o nosweithiau, mewn tywyllwch yn eigion y carchar drewedig; yn gorwedd ar wellt heb un hulyn, yn cael fy nifa gan ymlusgiaid adgas; a phrinder ymborth o fara a dwfr. Ac am ddeuddeg cant o'r dyddiau hyny, neu yn hytrach ddiddarfod nosweithiau o erchylldod, yr oedd fy mreichiau a'm coesau yn flin friwiedig gan y gefynau."

Mae awdur Seisnig wedi ysgrifenu yn gelfydd hynod ar Ryddid a Chaethiwed; pe buasai yn ei gyfaddasu yn fwriadol at gyflwr H. M. de la Tude, ni allasai ei ddarlunio yn amgenach; ei eiriau ydynt gyffelyb i hyn:

"Ymddyeithra dy hun fal y mynochd', er hyny, Gaeth-

[1] Dollars.

iwed, er hyny, chwerw-lwnc ydwyd: ac er bod miloedd ym mhob oesau o'r byd, wedi gorfod yfed o honot, eto er hyny nid yw lai dy chwerwder. Tydi ardderchocaf a phereiddiaf Ryddid, ym mhob addoliad dirgel a chyhoedd, ti yw y nefol fendith o hyfryd archwaeth; ac felly y byddi hyd oni bo anian oll yn adfeilio: a thydi i wenu arno, mae y bugail, tra'r ymbortho ar fara a dwfr, yn ddedwyddach na'r brenin, o lys pa un y'th deolwyd. O! Ragluniaeth Nef, caniatâ imi ond fy iechyd, ti y rhadlawn Roddwr, a dyro imi y ddwywes hon yn gyfeillies; a bwrw i lawr deyrnwiail a choronau, os yw oreu gan dy ddwywol ddoethineb, ar y penau sydd mewn gwaew am danynt.

"Tra 'r oeddwn yn dilyn y meddyliau hyn, â phwys fy mhen ar fy llaw, a myfyrdod yng nghylch trueni y caethion oedd gwreiddyn fy syndod. Meddwl bod miloedd o'n cydgreaduriaid, heb eu geni i etifeddiaeth yn y byd, onid caethiwed; yr oedd hyn o ystyriaeth yn peri imi flinder anoddefol: erbyn hyny meddyliais gymmeryd un carcharor i sylwi ar ei drueni. Ac yn fy nhyb mi a'i gwelwn (yn ol y tywyll oleuni yr oedd ei ffenestr yn roddi) â'i gorff yn ddarfodedig trwy hir ddysgwyliad am ryddhâd; deallais y fath ofid calon y mae twyllodrus obaith yn ei roddi; wrth edrych arno yn fanylach, gwelwn ei wedd yn welw-las o afiechyd, heb i un awel iachus gyffwrdd â'i gnawd, er ys cymmaint o filoedd o nosweithiau, heb weled na haul na lloer yn yr holl amser hyny; na chlywed llais na charennydd na chyfaill yn anadlu iddo un gair o gysur trwy yr heiyrn-ddellt. Ei blant!—ond yma fy nghalon a ddechreuodd waedu, a gorfu imi fyned ym mlaen â rhan arall o'i ddarluniad. Eistedd yr oedd ar dusw o wellt, yr hwn oedd yn gwasanaethu iddo yn wely ac yn gadair bob yn ail: yng nghwr eithaf ei garchar-dwll yr oedd, ag ychydig o friwwydd yn osodedig o'r tu cefn iddo, wedi eu nodi i gyd trosodd, a'r dyddiau a'r nosweithiau alaethus a dreuliasai yno; un o honynt oedd ganddo yn ei law, ac â hoel rydlyd yr oedd efe yn myned i ychwanegu un diwrnod truenus yn rhagor at

y rhifedi: wrth imi dywyllu yr ychydig oleuni oedd ganddo, dyrchafodd ei olwg anobeithiol at y porth, ac yno fe'i gostyngodd i lawr, gan ysgwyd ei ben, fe aeth ym mlaen ar ei weithred ofidus: yr oedd sain ysgydwad y cadwynau yn treiddio i gilfachau tyneraf ei galon; ac wrth droi ei gorff i osod o'r tu cefn iddo rifäeg ei ddyddiau, fe a gyrchodd drom ochenaid o ddyfnder ei ymysgaroedd. Cafodd tosturi y fath effaith ar fy nheimlad, fal ag yr ymollyngais i ddagrau; gan nad allwn oddef y gaethiwol wrthddrych a ddarluniasai fy meddwl."

Bellach, yn ol rhoddi amryw brofiadau o'r ymweliadau annymunol, sef Caethiwed a Gorthrymder, af rhagof, yn y bennod nesaf, i olrhain yr enwocaf Ryddid, o'r prif oesau hyd ei sefydliad ym Mhrydain; a therfynaf y ddosbarth hon trwy adrodd un o chwedlau Socrates, ym mha un yr oedd y gwr call hwnw yn diolch i'r Hanfod Goruchaf am dri o'i ragorfreintiau; sef yn gyntaf, ei fod wedi ei lunio yn wr, ac nid yn wraig; yn ail, yn athraw, ac nid yn annysgedig; yn drydydd, yn Roegwr, ac nid yn anghyfiaith. Felly llwyr y dylai pob Cymro a Sais, pob un sydd yn cyfanneddu ym Mhrydain, ddiolch i Dduw ei fod yn anadlu, yn byw ac yn bod mewn teyrnas yr hon sydd â'i chyfreithiau yn caniatäu Rhyddid i bob un o ymarweddiad addas ddiargyhoedd.

---

## Y DRYDEDD RAN.

**Amrywiol ddamweiniau yng nghodiad a gostyngiad Rhyddid wladwriaethol o'r cynfyd hyd ei sefydliad ym Mhrydain.**

HENFFYCH well, O! nef-anedig Ryddid; canys cyn i drigolion daiar dy fwynhau, yno yr oeddit: â dedwyddwch bendithiwyd dynol ryw, pan gawsant dydi yn

darian i'w hamddiffyn yn erbyn rhuthrau camrwysg ormesol; balchder a thrawsder breninol oedd gas genyt; pob ysbryd llariaidd, pob calon ddoeth a'th hoffodd; canys pan gynted ag y'th deolwyd o Samos, gan y trahaus-deyrn Polycrates, uffern ar y ddaiar y cyfrifodd Pythagoras wlad ei anedigaeth hebot; casaodd fro ei hynafiaid er dy fwyn, ac ni bu esmwyth nes y cafodd hanes y llywodraeth lle y gosodaist dy breswylfod. Pob teyrnas lle y cymmeraist feddiannau ynddi, aeth yn enwog drwy y byd: pob ewyllysiwr da iti, peraist ysgrifenu ei enw (haeddawl o oreu-glod) ar golofn[1] elydn, i barhau hyd na bo amser mwy. Pob brenin a ddymunodd dy gymdeithas, ti a beraist i'w deyrnas lwyddo mewn masnach a chyfoeth; anwybodaeth a giliodd o'i derfynau, a'r celfyddydau a dywynasant. Yr Aipht a heidiodd o ddynion dysgedig, tan lywodraeth dy goleddwr Sesostris; a hyny a gryfhaodd ei fraich mewn rhyfel, ac a amlhaodd ei gyfoeth amser heddwch; ti a'i gwneist yn ymherawdr y moroedd. Ptolemi Philadelphus hefyd, ei dysgedig frenin, a gyfoethogodd lyfrgell Alecsandria â chan mil o lyfrau; a'i ddilynwyr a'i hamlhaodd i saith gan mil; hanner pa rai a losgwyd gan Iulius Cesar, dy orthrymwr mewn llywodraeth. Dysgeidiaeth drachefn a flodeuodd, fal ag yr amlhawyd nifer llyfrau y gell ddymunol hòno i fwy o filoedd nag erioed; ond y cwbl a losgwyd i'r llawr gan y Saraceniaid, gelynion dysg a gwybodaeth, yn y fl. o oed Crist 642. Anrheithiwyd y byd o brophwydoliaeth Enoch, a gwerthfawr lysieu-lyfr Selyf, oedd yn llefaru am goed, o gedrwydd Libanus, hyd yr isop a dyf allan o'r pared, drwy y llosgiad cyntaf gan Iulius Cesar.

Phenicia hefyd a fu yn orsedd glodfawr it'. Tyrus oedd arglwyddes y byd mewn masnach:[2] "Ystyllod ei llongau oedd o ffynidwydd Senir, a'i hwylbreni o gedrwydd Libanus." Ond caeth reolaeth Pygmalion a fu achos iti fyned ar encil; nid oedd yr un ymdeithydd a

[1] Pillar of brass. [2] *Ezek.* xxvii. 5.

gai rodio yr heolydd lle buost ogoneddus gynt, heb gael ei holi drwy annherfynol eiddigedd blinwr ei ddeiliaid; a chan nad oedd yn caniatäu it' wenu ar ei ddinasyddion, ni fynai ei genfigenus anian ychwaith it' ddyfod i'w ystafelloedd; lle nad oedd onid crintachrwydd, anhyder, ammheuaeth, a blinder cydwybod yn gymdeithion iddo: nid oedd ganiataol i neb ei weled ond ei gariadferch buteinig Astarbe; ni phrofai ymborth ond o'i drwsiad ei hun; ni yfai ddwfr heb i'w gyfeill-ferch ei archwaethu yn gyntaf, rhag ofn cael ei wenwyno; yr hyn, er maint ei ofal, a ddygwyddodd iddo, trwy ddichell yr hudoles. Felly symmudwyd y rhwystr, agorwyd y porthladd a'r pyrth i'th ail groesawu i'r ddinas; ar ol awyr dymmestlog a llidiog gawodydd, yr oleu desawl gànaid a ail lewyrchodd yng nghyffiniau Sidon: bywiogodd y celfyddydau tan dy oruchwyliàeth; a chyn hyny, ni a ddarllenwn i Selyf anfon at Hiram frenin Tyrus, am weithwyr i'w gynnorthwyo i adeiladu y Deml yn Ierusalem.

Gwlad Groeg oedd un o'th brif sefyllfëydd, ac a roddes enedigaeth i'r dynion enwocaf yn yr holl gelfyddydau—athrawon, hanesyddion, meddygon, cerddorion, a phrydyddion; canys y doethion cynnysgaeddol ag awenyddau a gawsant eu llawn rwysg yn ol eu boddgar fwriad, i fyfyrio trwy dynerwch dy anian di. Tan gysgod dy achles ddymunol cafodd llawer o wŷr doethion a dysgedig, anfarwol enwau; pa rai a lewyrchasant mal cynnifer o oleuadau ysblenydd, yn taenu cynhesol anwydau, lle ni phreswyliodd o'r blaen onid anwybodaeth ac anial dywyllwch! Pa glod na haeddai yr enwog Thales, prif chwiliwr llwybr anian, a blaenred yr athrawon; y cyntaf o ddoethion Groeg, a'r mwyaf clodfawr ei fyfyriadau; yr hwn a ddadguddiodd i'w gydwladwyr ddirgelwch gyrfa y ser a goleuadau y nefoedd! Mae hefyd Pythagoras a'i ddwfn athrawiaeth? mae Solon a Licurgus, a roddasant rym i ddiogelwch dynion gan lunio llesol gyf-

[1] Seneca, in his *Controver. & Suasor*, hath a catalogue of Grecian authors.

reithiau? mae Homer, mab maeth yr Awen, a phen beirdd ei wlad? ïe, mae rhestr[1] hir o rinweddol ddysgedigion a safasant fal colofnau goruchel, mor ddysglaer a phelydr y seren foreu, er sefydlu yn nedwydd ardaloedd Groeg dy orseddfainc, a dyrchafu dy faniar? O bereiddiaf Ryddid! Pe ganesid y rhai hyn mewn bro lle nad oeddit i'w hamddiffyn, buasent yn gaethion i ryw greulon ormes tan enw brenin, yn rhwymyn tywyllwch ac anwybodaeth; cyffelyb i beraidd lysiau blodeuog a darddant yn yr anialwch, y rhai ni chanfu golwg dyn, ond a ddiystyr sethrir dan draed yr asyn gwyllt. Ac nid yn unig mewn dysgeidiaeth a'r celfyddydau y gwnaethost y Groegiaid yn glodadwy, ond hefyd mewn rhyfel; tra'r oeddynt mewn cynghrair â'u gilydd, nid allodd Csercses ym mlaen ei fyrddiwn dy anrheithio di, i'w drygu hwynt; ond gelyniaeth cartrefol a fu achos eu cwymp, y naill ddinas yn gorfoleddu yn anffawd y llall.

Pan oedd Pyrrhus yn gorthrymu gwŷr Lacedemon, a'u tristwch yn llawenydd iddo; mor lwfr oeddynt, nad oedd un dyn yn clywed arno dynu cleddyf o'r wain yn dy blaid; llwyr anghofiasent frwydr Thermopylæ,[2] pa un a wnaeth eu dewrder yn ddiareb, hyd na bo amser mwy; ond un arglwyddes, a elwid Archidamia, aeth i'r senedd â chleddyf noeth i'w llaw, ac yn enw y merched hi a geryddodd y dynion digalon, gan ddannod iddynt y gwaradwydd o fod yn esmwyth, "ac yn foddlon i gadw eu hoedlau, a cholli eu Rhyddid!"

Y Persiaid oeddynt ag unbenaeth y byd yn eu meddiant, mynych yr ymegnïasant i gaethiwo y Groegiaid; ond yr hyn nid allodd Csercses trwy rwysg arfau, ei ddilynwr Artacsercses a'i cwblhaodd â chywilyddus wobrwy, llwgr Mammon, pan wnaeth Antalcidas, llywydd y Lacedemoniaid, wasaidd gynghrair ag ef. Ac i

[1] Seneca, in his *Controver. & Suasor*, hath a catalogue of Grecian authors.

[2] The straits of Mount Oeta in Greece, where Leonidas with 400 Spartans opposed the whole army of Xerxes, containing ten hundred thousand men, according to some historians.

gyflawnu eu caethiwed y pryd yr aethost, ardderchocaf Ryddid, ar ffo, Philip y Macedoniad a ganfu gyfleusdra i'w dwyn dan iau; ac felly gogoneddus ddinasoedd Groeg, er cryfed eu muriau, er uched eu llysoedd, er doethed eu hathrawon, er cywreinied eu trigolion ym mhob celfyddydau, ac er dewred eu milwyr, a ymollyngasant i gaethiwed; yn yr hwn gyflwr y trigasant hyd oni adferodd Fflaminius, y swyddog Rhufeinaidd, iddynt eu Rhyddid; yr hwn, wedi gorchfygu gormesdeyrn Macedon,[1] a gyhoeddodd "fod eu gwledydd, eu dinasoedd, eu cyfreithiau, a'u Rhyddid wedi eu hedfryd iddynt." Ond nid dyma y Ryddid benaf na'r ddiweddaf a fwynhasant; canys pan oeddynt ryddaf o ran defodau gwladwriaethol, caethion oeddynt yng nghadwynau gau grefydd; ond daeth llewyrch dysglaer oleuni efengyl tangnefedd i dywynu arnynt, a'u gollwng i Ryddid gwasanaeth y gwir Dduw, trwy ei Fab, "Duw nad adwaenynt;"[2] canys darllenwn i Paul ysgrifenu i Galatia, Corinth, Ephesus, Philippi, Colossa, a Thessalonica; ond caddug, tarddedig o wenwynig athrawiaeth hudolwr Mecca,[3] a dywyllodd ac a gwbl ddiffoddodd lusern iechydwriaeth y trueiniaid hyn, er ys cannoedd o flynyddoedd; ym mha gaethiwed y maent hyd heddyw.

Nid llai rhyfeddol na gresynol gan ymdeithwyr gwybodol, ydyw ystyried odidoced a fu y gwledydd hyn yn eu rhwysg y dyddiau aethant heibio, mor enwog eu trigolion; yn awr nid oes fangre mor amddifad o ddoniau yn y byd hyweddol. Cydfwriadodd lluoedd Austria a Russia yn ddiweddar i roddi ymgais ar yru y caethiwol Dwrc o Ewrop, a dadwreiddio ei awdurdod ar y taleithiau Groegiaidd; llwyddiant eu hamcanion, amser yn unig a ddadguddia. Mae allan o gyrhaedd mebyn gwladaidd (un anghyfarwydd yng nghallineb a rhagwybodaeth dirgel-gelloedd llywodraethol) ddeall yr achos i'r naill Gristion wneuthur

[1] Philip, father of Perses, last king of Macedon.
[2] Alluding to the altar found by St. Paul at Athens [*Acts*, xvii. 23].
[3] Mahomet.

cynghrair ag anghred, yn erbyn Cristion arall. Os oes ar y morawl alluoedd,[1] a Phrussia, genfigen fod Russia mor lwyddiannus yn erbyn Mahometaniaid, maent yn gwirio dychymmyg Esop; sef, "Y ci a orweddo ar wair mewn preseb, nid oes yn ei allu ei bori ef ei hun; ac y mae yn rhy wenwynllyd ddanneddog i adael i'r ych gyffwrdd ag ef."

Ond boed i'r ogleddawl Semiramis, fal y cyfenwir y Csarina,[2] ysglyfaethu llywodraeth y Twrc yn Ewrop, fal y pawr yr ych wair; dialed yr holl waed Cristianogion a dywalltodd Mahomet II. a Solyman: bydded yn chwerwach ffrewyll i Selim[3] nag y bu Tamerlan i Baiazet;[4] a gosoded ei gorseddfainc yng Nghaer Cwstenyn.[5]

Ond gan ddychwelyd o'r galanasdra dychymmygol hwn, fy mwriad yw olrhain Rhyddid ar ol ei diorseddiad yng Ngroeg, a chanlyn ei fföedigaeth i'r Eidal; lle y cafodd y ddinas Alba, a gogoniant Lafinium Eneas, yn ymachluddo, gan ddisgyn goris terfyngylch enwogrwydd; a Rhufain yn dechreu dyrchafu ei thyrau yn rhyfeddod i'r byd. Yn ol deoliad y Tarcwiniaid,[6] dechreuodd Rhyddid flodeuo yn Rhufain, tan lywodraeth y Senedd a'r prif-swyddogion; esgynodd Rhufeiniol glod hyd entrych Caer Gwydion; ac awch a llwyddiant eu harfau a darawodd fraw a syndod drwy holl derfynau'r byd adnabyddus. Eu gwychder a'u mawrhydi a goronodd ac a ddigoronodd freninoedd; gollyngasant daleithiau o wasg gorthrymder gormeisiaid cartrefol. "Ond teyrnasoedd sydd ddarostyngedig i gyfnewidiad megys dynion;" felly Rhufain wedi cyrhaedd y radd uchaf o glod a gallu, yn orfoleddus ar orseddfainc ymherodraeth y byd; y pryd na feiddiai un gelyn pellenig godi arf yn ei

[1] Maritime powers.
[2] Empress of Russia [Catharine II, who died in 1796].
[3] The present Grand Seignior.
[4] Bajazet was overcome by Tamerlane the Scythian, and 200,000 Turks slain: Anno Dom. 1402.
[5] Constantinople.
[6] Expulsion of the Tarquins from Rome: Ante Chr. 510.

herbyn, gwelodd tyngedfen anocheladwy yn angenrheidiol hau hadau amrafael rhwng y penaethiaid, i brysuro dinystr eu llywodraeth a'u Rhyddid.

Ymbleidiau a wnaeth alanasdra creulon ym mhlith meibion Rhyddid; Tiberius Gracchus, a thri chant o'i ddilynwyr, er Rhyddid, a waedasant i farwolaeth.[1] Awydd i uwch reoli oedd yn annog un i dynu ei gleddyf, a'r llall yn barotach i farw na cholli ei Rhyddid: nid oedd hyawdledd Cicero ddigonol i leihau syched un am awdurdod, na thynu ymaith fwriad y llall i amddiffyn ei gam, a chadw ei Ryddid. Marius a Sylla yn ymryson pa'r un a gafai gyntaf adfeilio colofnau teml Rhyddid. Y cyfryw ddadl a barodd i dir yr Aipht fod yn feddrod i Pompey; yr hwn ni addefai ei gyfuwch, na Cesar ei oruwch: y diweddaf a fu fuddugoliaethus, a chan brysuro i erlid Rhyddid, tywalltodd waed miloedd o'i meibion ym maes Pharsalia; pwy eill draethu gofid calon prif gyfryngwr Rhyddid! sef Cato ardderchog, pan oedd diwedd ei theyrnasiad mor agos yn Rhufain, a gwaed ei hamddiffynwyr ym mygu oddi ar boeth-gras dywod Numidia. Cesar yn nesu â chyflym gamrau, ac yn anfon cenadon ato, i ymostwng i'w lywodraeth, ac achub ei einioes: onid ei ateb oedd, "mai blin fyddai einioes iddo heb Ryddid, ac mai gwell oedd ganddo un awr mewn Rhyddid rhinweddol, na thragwyddoldeb cyfan hebddi." Felly bu farw Cato er ei mwyn; ond cyn pen hir amser dialwyd ar Cesar, canys cydfwriadwyd i'w ddienyddu yn y Senedd;[2] wedi iddo drin deg a deugain o frwydrau gosodedig, a lladd (fal y mae hanes) 1,192,000 o ddynion: ni feddiannodd ond ychydig fwyniant ar ol Cato; un yn colli ei einioes *ym mhlaid* Rhyddid, a'r llall o herwydd ei fod yn *elyn* iddi.

Ym maes Philippi y gorweddodd Brutus yn ei waed, amddiffynodd Ryddid Rhufain tra y gallodd; a dywedodd, "Mi a wneis fy rhan, yr wyf yn dysgwyl

[1] In defence of the Agrarian Law.
[2] In the Ides of March: Ante Chr. 44.

y canlyniad, ym mha un, naill ai Rhyddid ai angeu sydd i ddyfod." Brutus oedd y diweddaf o'r Rhufeiniaid ymegnïol a ymdrechodd i dori iau y Cesariaid.

O ychydig i ychydig y Rhufeiniaid a anghofiasant fwyneidd-dra Rhyddid, a'r boddlondeb meddwl, a phob gwerthfawrogrwydd y mae yn ei roddi, ac a ymollyngasant i drymgwsg diofal dan gaeth reolaeth eu hymherodron gormesol. Caligula a'u cospodd â ffrewyllau, Nero ag ysgorpionau: ardderchogrwydd rheolaeth a ddifawyd gan raib eu creulonder dibwyll. Rhai a ddywawd mai Marcus Aurelius oedd yr ymherawdr godidocaf a'r a ogoneddodd deyrnwialen Rhufain erioed; gan ei glodfori am edfryd y Senedd i'r rhwysg a'r gallu a gymmerwyd oddi arnynt gan Iulius Cesar; ac mai ei holl ddifyrwch oedd daioni a llwyddiant ei bobl, a Rhyddid ei ddeiliaid. Gwir yw ei fod yn athraw call; am hyny y cyfenwyd ef *Antoninus Philosophus;* mynych yr arferai eiriau Plato: "Dedwydd yw'r bobl sydd â'u breninoedd yn athrawon, a'u hathrawon yn freninoedd." Ond gwarthruddiwyd ei holl rinweddau drwy ei baganaidd fileindra yn colli gwaed Cristianogion; erlidiwr creulon oedd, a phwy bynag a'i cenmyl, nid ydynt fawr well na gwadu Crist; tan ei erlidigaeth ef y merthyrwyd Polycarp, esgob Smyrna; a Iustin ddysgedig, athraw Cristianogol. Os adferodd M. Aurelius y Rhufeiniaid i'w Rhyddid wladwriaethol, nid ydyw i'w gymharu â Chwstenyn,[1] ein godidog wladwr, ganedig yng Nghaer Efrog;[2] yr hwn a ryddhaodd ei ddeiliaid Cristianogol oddi wrth greulonder eu gelynion paganaidd; gan gofleidio yn wresog y wir grefydd, a dwyn arwydd y groes yn faniar i'w wersyll: hwn a ddaeth â'r Ryddid berffeithiaf oll i'r Rhufeiniaid; Rhyddid na phrofasant erioed tan lywodraeth y Cesariaid, goresgynwyr y byd.

Ar ol dyddiau Cwstenyn, yr hwn a fu farw yn y fl.

[1] Constantine the Great.
[2] We have no authentic history for this.

337, y mwynhaodd y Rhufeiniaid eu Rhyddid tros ryw hyd mewn gwlad ac eglwys. Nid oes ond amser i lywodraeth: megys dyn mae yn gwanhau pan heneiddio; felly diflanodd gogoniant Rhufain, oes ar ol oes yn lleihau ei galluogrwydd, a'i Rhyddid aeth yn anrhaith rhwng galon[1] anghred a'i hesgobion rheibus; y rhai diweddaf hyn yn arddelwi bod yn ddilynwyr St. Pedr, yn olygwyr tan Grist ar holl eglwysi Cred, a gymmerasant iddynt eu hunain awdurdod ddyeithrol iawn ar eu hisraddolion: dyma y bleiddiaid mwyaf anrheithiol ar a ysglyfaethodd Ryddid Rhufeinaidd erioed; caethiwasant gyrff dynion mewn gefynau heiyrn, a'u dealltwriaeth mewn rhwydau gau athrawiaeth.

Coelio bod Purdan a dderbyniwyd i'w heglwysi yn y fl. 593. Yr un amser, dechreuwyd erfyn Mair Wyryf, a'r seintiau. Dechreuwyd addoli delwau, 629; ond y Pab, sef Esgob Rhufain, oedd wedi ymddyrchafu ei anrhydedd a'i allu ei hun goruwch yr ymherawdr, er y flwyddyn 607. Talwyd ceiniogau Pedr iddo yn y fl. 689; ac Offa, brenin ar ran o Loegr, a ganiataodd y dreth hon iddo, yn y fl. 793. Yr oedd hwn a oedd yn arddelw bod yn ben i'r eglwys, yn weinidog i Grist, &c., gan falched, fal ag y gorchymmynwyd yn y fl. 709, i bawb ag oeddynt yn cael cyfarwys ganddo, gusanu bawd ei droed cyssegredig. A'r Pab Stephen III, yn y fl. 752, oedd y cyntaf a fynodd ei ddwyn ar ysgwyddau dynion i'r Lateran.[2] A'r Pab Celestin III, a ymddygodd mor drahaus-falch ymffrostus wrth yr ymherawdr Harri IV, fel ag y tarawodd ei goron oddi ar ei ben, i ddangos iddo ei ragorfraint o wneuthur a dadwneuthur breninoedd. Y Pab Alecsander III. a gymhellodd freninoedd Lloegr a Ffrainc i ddal ei warthaflau, tra bu yn ymlusgo ar gefn ei farch.

Beth a feddylia y darllenydd bellach o Ryddid y Rhufeiniaid, gan fod y fath lywodraethwyr arnynt? Ac i'w gwarogi i'r iau, y Pab Leo IX, yn y fl. 1054, a

[1] The plural of *gal*, an enemy.
[2] A palace in Rome, given to the Pope by Constantine the Great.

gododd fyddin o filwyr i sicrhau ei gamrwysg, a pheri i bobl ofni ceisio yn ol eu Rhyddid, gan fraw ac arswyd awch ei arfau. Mae y gwledydd darostyngedig i lywodraeth y Pab yn awr, o ran creulonder y llysoedd, diddyweddïaeth[1] offeiriaid a lleianod, yn brin ac anaml eu trigolion; a hyny a sydd o honynt, y maent yn dlodion, llyfrion, a segurllyd. Yr oedd ymdeithydd a dramwyodd Eidal drwyddi yn y fl. 1708, 1709, yn brutio fod gynt fwy o drigolion yn y Campania yn unig, nag y sydd yn awr yn yr holl Eidal.[2]

Eidal ardderchog gynt! pa fodd y syrthiaist o ben gwyddfa anrhydedd, i isder dirmyg a gwarth? Ai nid ydyw dy ddyffrynoedd ehelaeth, dy ddolydd prydferth ar lan afonydd mordwyol, mor ffrwythlawn a chynt? A ydyw llongau 'masnach yn ddyeithrach i'th borthladdoedd eang? Mae dy benaeth eglwysig, y rhan amlaf, yn wr o ddysg; ac mewn gwth o oedran, i gynnwys teimlad a synwyr, os cynnwysa byth; heb na phlant na gwragedd na gordderchadon i'w bensyfrdanu; balchedd nac afradlonedd llys, i sugno na thynu ei dueddiad oddi wrth heddwch a dedwyddwch ei ddeiliaid: tebygai un mai gwastadol fyfyrdod am ddaioni a chydundeb ei ddeiliaid a fyddai unig dueddfryd y fath lywiawdr a hwn; gallai un ddysgwyl yn y cyfryw ardal gael treulio ei bererindod drancedig mewn heddwch, boddlonrwydd, ac esmwythder meddwl: ond un peth sydd ddiffygiol; O dirionaf Ryddid! hebot ti nid yw dyn ond anifail, na llywodraeth ond melltith; gwae y wlad yr wyt yn ddyeithrol iddi, a dedwydd yr ardal lle gosodaist dy breswylfod ynddi! Yr Arglwydd sydd yn dwyn caethiwed a gorthrymder ar wledydd yn fynych am ddrygioni y trigolion; canys fel y mae hawddfyd yn balchïo dyn, a Duw yn peri i adfyd ymweled ag ef, fal y gwypo mai cnawd marwol ydyw; felly y mae Rhyddid a llwyddiant gwladwriaeth yn peri i'r trigolion anghofio y Rhoddwr. Tra gwasanaethodd yr

[1] Celibacy of the clergy.
[2] Mr. Addison.

Israeliaid y gwir Dduw, eu Rhyddid a barodd iddynt fod fal tywod y môr o amlder; yn ol dolefiad Baalam, ar ben uchelfëydd Baal, "Pwy a rif lwch Iacob, a rhifedi pedwaredd ran Israel?"[1] Ond "Iesurun a aeth yn fras, ac a wingodd."[2] Yna y cymmerodd Dwyfol Gyfiawnder annuwiolion cenedlig yn offerynau o gerydd i'w fflangellu.

Tithau, Rufain annïolchgar, tra yr oedd Rhyddid yn cyfanneddu ynot, arglwyddiaethost ar ddinasoedd y byd; cryfder dy furiau, uchder ac ardderchogrwydd dy lysoedd, oedd ryfeddod y dyeithriaid ac ymffrost dy drigolion; deng milltir a deugain dy ogylchedd, pedwar myrddiwn dy drigolion, deng myrddiwn a deugain dy flynyddol gyllid, yn y flwyddyn er dy adeiladaeth 722; ac ym mhen tair ar hugain o flynyddoedd gwedi, yr oeddit yn cynnwys 463,000 o ddynion cymhwys i ddwyn arfau. Oeddit frenines dinasoedd, harddwch yr Eidal, mammaeth goresgynwyr, cerddorion, areithyddion, beirdd, lluniedyddion, a'r cyfryw. Pa gelfyddyd nad oedd gydnabyddus ynot! Pa wlad na ddarostyngwyd trwy ddewrder dy filwyr, os unwaith y bwriadwyd! Miloedd nid oedd yn lleihau dy drigolion, na myrddiwn dy geidwadaeth cartrefol. Yr oedd Mithridates,[3] Pyrrhus,[4] ac Annibal[5] yn rhyfelwyr enwocaf yn eu dyddiau; ond un Cesar, neu un Scipio, a fantola'r tri. O Rufain rydd ryfelgar gynt! yr Eidal baradwysaidd, Eden Ewrop, gwlad genedigaeth y ffraeth-gall Horas, Virgil bereidd-gainc, a'r mwyn awenyddol Ofydd; o fewn ugain mlynedd i'w gilydd y llewyrchodd y tri, yn flaenoriaid yng nghofrestr y beirdd, yn nesaf at y dall o Chios.[6] Rhyddid a barodd

[1] *Num.* xxiii. 10.
[2] *Deut.* xxxii. 15.
[3] King of Pontus.
[4] King of Epirus.
[5] The Carthaginian general, who marched with an army of one hundred thousand foot, and twenty thousand horse, over the Alps; being the next after Brennus that attempted it. He opposed the whole Roman force for sixteen years successively.
[6] An Isle in the Archipelago, where Homer was born, about 948 years before Christ. *Chios* is now called *Scio*.

hyn oll. Ond O! gywilyddus gyfnewidiad yn canlyn, ei deddfau a waharddwyd, a'i meibion a fradychwyd, y Pab wedi ei hysgymmuno hi o'r eglwys a'i dadwreiddio o'r tir, lle y cafodd barchus orseddfa, er trais Lafinia. Yn awr, wedi ei chwbl ddeol, collais olwg ar yr angyles ddymunol, ac ni fedraf feddwl am un fro lle y gallaf gael ei hanes. Yr oedd Tacitus, yr hwn a ysgrifenodd yng nghylch y fl. 97, yn dywedyd fod gorthrymder yn rheoli trwy holl deyrnasoedd y byd, a bod gwlad rydd a llywodraeth ddidrais mor ddyeithrol yn ei feddwl ef, nas gwyddai pa ddarluniad i'w dynu o honi; yr oedd e'n ammheu y gallai y fath reolaeth fod, ac yn cyfaddef iddo gael cip o olwg arni yn ei feddwl, ac er hyny yn ei barnu yn anwneuthurol. Os oedd Rhyddid mor ddyeithrol yn nyddiau yr hanesydd hwn, mae yn rhaid i mi gyfaddef nad oes genyf hanes am dani dros un cant ar ddeg o flynyddoedd. Pe chwiliwn am dani, yn fy meddwl, trwy wledydd y byd cyfanneddol, byddai raid imi heb ei chael ddychwelyd: os af i blith trigolion Affrica, yr hanes a gaf, na bu hi yno erioed, ond unwaith ym mhlith trigolion Carthage; os af i blith yr Hottentotiaid, fe a ddywed rhai y geill fod Rhyddid ym mysg y bobl sydd â'u heiddo yn gyffredin rhyngthynt, lle nad yw'r naill ronyn cyfoethocach na thlotach na'r llall, lle nad oes gyfraith i gospi un drygweithredwr. I hyn atebaf yng ngeiriau Locke: "Lle nad oes gyfraith, nid oes Ryddid." Er nad ydyw y bobl wylltion hyn yn talu trethi nac ardrethi, maent er hyny yn rhwym mewn anwybodaeth, ac yn gwbl ddyeithrol i'r dedwyddwch y mae gwir Ryddid yn ei roddi. Dywedodd Locke mai "anhawdd tynu llinyn gwahaniaeth rhwng y dynion hyny ac anifeiliaid gwylltion."

Gan nad oes genyf le i'w dysgwyl ym mysg paganiaid caethion Affrica, rhoddaf olygiad ar yr ymherodraeth enwocaf yn Asia, sef China; mi a gaf y trigolion yn gaethion dan draddodiadau dychymmygol Conffucius,[1]

[1] Confucius was born 551 years before Christ.

yr hwn yw eu prif brophwyd, megys Mahomet gan y Twrciaid. . Maent gan ddalled yng nghyfrifiad amser[1] (er eu bod yn ymffrostio fod ganddynt ddau olwg, a chan ereill genedloedd ond un) a chredu bod eu llywodraeth yn yr un gyflwr ymherodrol er ys deng mil a deugain o flynyddoedd: y mae eu hanesion yn crybwyll am ryfel a fu rhyngthynt a thrigolion Toncwin a Iapan er ys 22,617 o flynyddoedd. Y maent mor anwybodus mewn hanesion gwledydd tramor, na chlywsant erioed son am Alecsander Fawr na Iulius Cesar, nac un o'r dynion hynotaf a ymddangosodd ym mharthau ereill i'r byd erioed. Hwy a glywsant ryw sisial yng nghylch un Mahomet. Ac i gau Rhyddid o'u terfynau, nid yw eu cyfreithiau yn gwbl ddymunol; canys gwobr llygredig a gymmerir gan y barnwyr; y troseddiadau lleiaf a gospir yn fynych â marwolaeth, tra bo y rhai mwyaf anllywodraethus yn dianc yn ddigerydd. Gwelaf na fedr eu Conffucius hwynt, na Bramin yr Indiaid,[2] na Talapoin y Siameaid, na Mahomet y Twrciaid, na'r aneirif gau dduwiau fu yn addoledig yn eang daleithiau Periw a Mecsico, roddi un gair o hanes Rhyddid. Ac yn wir, nid oedd le imi ddysgwyl ei chael mewn lle na bu er y creadigaeth hyd yr awr hon; er i fy meddwl crwydredig wibio o'r dwyrain hyd y gorllewin, gan ei cheisio yn ofer. Megys y breuddwydiodd y beirdd cenedlig gynt i'r dduwies Astrea,[3] yn niwedd yr oes euraid, pan aeth dynion yn llygredig ym mhob camwedd a thraha, esgyn i'r ardaloedd nefol; felly y mynai hyny o anian ffolineb pagan-

[1] Chronology. There are some parts of East India so extravagant in this point as the Chinese: they divide the time from the creation into four ages; the first they represent as a kind of golden age, in which their god Brahma was born. This age continued 1,782,000 years; the second age lasted 1,292,000 years, in which their god Rajas was born. The third age lasted 864,000 years. The fourth is the present age, of which above 4851 years have already elapsed: the four ages together make 3,888,851 years.

N.B.—The above account of China, was taken from the mouth of a Chinese merchant at the Hague, in the year 1723, and delivered down to us by Voltaire.

[2] The Bramins and Talapoins of India, Siam, Pegu, &c., are idolatrous priests, held in great veneration by the people; resembling the Druids of the Gauls and ancient Britons.

[3] Goddess of Justice, in the heathen mythology.

iaid sydd ynof, i minnau osod preswylfod Rhyddid tra parhaodd y tywyll oesoedd. Ond gan na byddaf felly ond adeiladu cestyll yn yr awyr, nid af i ymboeni gosod y sylfaen; adeiladed arall, a chwilied yn rhagor am orsedd Rhyddid yn nyddiau Gildas. Minnau, wedi crwydro (yn fy meddwl) o fôr y gogledd, cyffiniau y mynyddoedd ia; toiedig â gwastadol eira, hyd eithafoedd y deheu, a phoeth-gras wywedig diroedd Ethiopia, a ddychwelaf adref; ac i aros i Ryddid ddeffro o'i chwsg, lluddedig gan flinder, briwiedig gan waewffyn treiswyr a bradwyr, rhoddaf dro yn ol i'r hirnos o gaethiwed a thrueni a aeth dros benau ein hynafiaid. Ni roddaf ond byr hanes o'u blinderau, canys mae y rhan fwyaf o'm cydwladwyr wedi eu hysbysu iddynt eu hunain wrth ddarllen awduron Cymreig; ond myfi a ddechreuaf yn y rhuthr Rhufeinaidd, y gormes cyntaf a gaethiwodd Ryddid Brytanaidd. Gwych (ac er hyny chwith) genyf ddarllen am rymusder a chalondid Caradog ab Brân ab Llyr Llediaith;[1] yr hwn, nid unwaith ac nid dwywaith, a annhrefnodd lengau goresgynwyr y byd; ond wedi ymwroli dros naw mlynedd drwy ymladd i'w herbyn, fe'i bradychwyd i'w dwylaw. A chwedi cael ei ddwyn i Rufain, yr oedd yr holl ddinas ym mron heidio o'i amgylch, i gael golwg ar y gwr oedd er ys cymmaint amser, drwy ddewrder anarferol, gwedi gwrthsefyll eu holl fyddinoedd. Ond ofn a braw oedd ddyeithr i Garadog; canys pan arweiniasant ef drwy yr heolydd, edrychodd gan ryfeddu ar ddysgleirdeb yr adeiladau, a dywedodd: "Ow f'enaid! pa dynged a berai i ddynion mewn meddiant o'r fath wychder gartref, gymmaint a meddwl am warafun i Garadog ei annedd gwael ym Mhrydain!" Pan a'i dygasant ger bron yr ymherawdr, tra yr ydoedd y caethion ereill yn ymbil yn riddfanus am dosturi, Caradog a safodd o flaen y frawdle yn eofn ei ymddyg-

[1] Caractacus, king of the Silures, or the inhabitants of the western [eastern] parts of South Wales. This Caradoc is by many confounded with another Caradoc, surnamed *Breichfras*, who was one of King Arthur's warriors, and lived about 500 years after the famous Silurian.

iad; ac er ei fod yn ewyllysio cael maddeuant, nid oedd mor annewr ag ymbil am dano. Ebr ef; "Os buaswn yn ddiattreg, ac heb wrthsefyll, yn ufuddhau i chwi, ni buasai chwaith fy muchedd *i* yn hynod, na'ch gogoniant *chwithau* i'w goffäu: nis gellych chwi fod yn fuddugawl, ac anghofiasid finnau. Y pryd hyn, gan hyny, os arbedwch fy einioes, mi a fyddaf yn arwydd o'ch trugaredd drwy yr oesoedd." Yr ymherawdr Claudius, gan ryfeddu mor wych oedd Caradog, a roddes iddo ei Ryddid.

Bydded gas gan y Brython enw noeth y bradwriaethol Afarwy,[1] a benywaidd ddyhirdra ac anffyddlondeb Aregwedd Foeddig, ei ferch un galon.[2] Dychymmyged y darllenydd resynol gyflwr y Prydeiniaid, a fuont warogion i'r iau Rufeinaidd 483 o flynyddoedd; pe cawsent eu Rhyddid yn ol hyny, buasai yn rhyw fath o iawn am y cam a ddyoddefasai eu hynafiaid; ond gwaethwaeth y cyflwr, myned at genedl am gymhorth, yr hon oedd yn methu amddiffyn ei Rhyddid ei hun. Gwedi aml ruthr yr annhosturiol Frithwyr,[3] a lladronllyd drigolion Isgoed Celyddon;[4] y chwith olygiad nesaf sydd yn codi yn fy meddwl, yw dyfodiad Hengist i ynys Rhyothym.[5] Yr Ellmynaidd ffrewyll a ddarparodd Dwywol Gyfiawnder i gospi syrthni a difräwch yr ymranedig Brydeiniaid. Y Duw Goruchaf yn rhoddi ei gyfaddefwyr, ond nid ei eiriolwyr, yn nwylaw addolwyr Odin,[6] y gau dduw llwyddiannus mewn rhyfel, fal y credai y Seison. Dyma y genedl ormes a lwyr ddifuddiodd ein cyndeidiau o fendith nef, drwy ei ragluniaethol genad. Ac er ymdrechiadau Emrys,[7] a buddugoliaethau mab Uthr,[8] yr oedd yr iau haiarnaidd wedi ei chloi am eu gyddfau gan anochel-

[1] The traitor Mandubratius.
[2] Cartismandua, queen of the Brigantes, who betrayed Caractacus into the hands of the Romans.
[3] Picts.
[4] Scotland.
[5] Isle of Thanet.
[6] The god of war of the ancient Saxons, and Scandinavians.
[7] Ambrosius, who slew Hengist, the Saxon General.
[8] Uther Pendragon, father of King Arthur, according to our Romance.

adwy deyrnasol dynged. Yn awr, gadawaf y dirieid-ddewr fwriad-ffol Brydeiniaid yn griddfan dan y blymaidd warog; ac i ysgafnhau fy meddyliau lleth-edig, cymmeraf olwg ar gylchdroiad dygwyddiadau, yn mesur i'r estron genedl lathen o'r un brethyn a fesurasent i'r anffodiog ddarostyngedigion. Gwelaf ryfelwyr y Gogledd,[1] amlder locustiaid yr Aipht, yn hulio trawsfeddiant Egbert, o Ddyfnaint[2] i Gaer Efrog.[3] Gwnaethant i'r brenin Alffred ymddyeithro ei hun megys bugail; ennillasant holl Loegr, oddi eithr Caer-wynt,[4] oddi ar Elystan.[5] Ac yn y fl. 999, gorfu i Ethelred II. ganiatäu iddynt dreth o un mil ar bymtheg o bunnau; ym mhen pedair blynedd mynodd Swain o Ddenmarc, un mil ar bymtheg ar hugain o dreth flyn-yddol; yn y fl. 1008, goresgynodd y gormeisiaid y rhan fwyaf o'r deyrnas; ac yn y fl. 1012, cytunwyd â hwynt i ymado â'r deyrnas er 48,000 o bunnau; yr hyn a wnaethant tan y flwyddyn ganlynol, y pryd y dy-chwelasant, ac y llwyddasant fal ag y coronwyd Swain yn frenin Lloegr, a chiliodd Ethelred i Ynys Enlli.[6]

Mae cyflawnder caethiwed y Seison yn nesu. Gwilym Ordderchfab,[7] penciwdawd Normandi, aw-yddus am lywodraeth, sychedig am waed, prysurodd fal yr eryr i ysglyfaeth; cymmerodd feddiannau o'r deyrnas yn ei galon cyn dyfod i'w golwg: tra yr oedd ei longau yn rhwygo'r weilgi, dychymmygodd ei fod yn goronog ar ei orseddfainc, a Harold yn fathredig dan draed ei filwyr. Golwg ar y tir a ennynodd ei ysbrydoedd, a nerthodd ei fraich i dynu y bwa, nad allai yr un o ddeng mil: yr oedd awydd i glod megys hogalen yn hogi ei gleddyf, ac yn peri iddo ysgwyd ei darian cyn canfod gelyn: dysgwyliodd yn anoddefus ar flaen-fwrdd y llong, i gael yn gyntaf osod ei droed ar y

[1] The Danes.
[2] Devonshire.
[3] York.
[4] Winchester.
[5] King Athelstan.
[6] Isle of Bardsey, in the Irish Sea. [Swain crowned, and Ethelred II. retires to Bardsey Island—qu?—See *Rapin*.—W. D. 1795.]
[7] William the Bastard, Duke of Normandy.

tir, yr hwn yr oedd e'n credu oedd yn ymlithro i'w gyfarfod i'w dderbyn megys ei deilwng berchenog. Ei lais oedd megys taran, a'i olwg yn fellt i'w filwyr; ymegnïasant i ddyfod i dir am y cyflymaf, gan brisio brasder Lloegr o flaen gwlad eu ganedigaeth. A Gwilym, i beri iddynt ymddiried i nerth eu breichiau, ac awch eu harfau, am eu hoedlau, ac nid i gyflymder eu traed na gwrthrediad i'r môr, megys Fferdinando Cortes ym Mecsico, gosododd dân i'w longau, yn arwydd nad oedd yn ei fwriad fyth ddychwelyd, ac y byddai raid iddo fe a'i wŷr un ai cael eu lladd, ai llwyddo.

Hanes ei fuddugoliaeth ar y Seison,[1] sydd mor hynod, nad oes ond ychydig o'r rhai mwyaf anllythyrenog a'r na chlywsant son am Wilym y Goresgynwr.

Hwn a flinodd y Seison yn dost, heb berchi eu cyfreithiau mwy na hen chwedlau gwrachïod. Y pedwerydd dydd ar ddeg o Hÿdref, 1066, yr ennillodd y maes a choron Loegr ar yr un ergyd; y 29 o Ragfyr yn ganlynol y coronwyd ef, ac ym mhen dwy flynedd, sef yn y fl. 1068, y dychymmygodd Gwilym gyfraith gaeth, i ddangos i'r Seison pwy oedd drechaf, sef gorchymmyn canu cloch,[2] am wyth o'r nos, ym mhob plwyf; ac os ceffid na thân na chynneu na chanwyll, wedi yr awr hòno, yn nhy un Sais, fe gospid yn greulon; a'r gyfraith hon a barhaodd mewn grym ddeuddeg mlynedd ar hugain. Yr oedd tiroedd, arian, ïe, hoedlau ei ddeiliaid ar ei law ef; fe a ddiboblodd ran o Wlad Hamtwn,[3] gan dynu teios y gwreng a llysoedd y boneddig i'r llawr, am ddeng milltir ar hugain o gylch, i wneuthur coedwig hela; a phwy bynag a droseddai ei gyfraith hely, un ai fe'i dysbaddid, tori ei ddwylaw a'i draed ymaith, neu dynu ei lygaid; heb brofedigaeth rheithwyr, ond trwy awdurdod arglwyddiaethol un swyddog.

[1] Battle of Hastings, in Sussex, fought Oct. 14, 1066, where Harold, with the greatest part of his army, was slain, and William assumed the title of *Conqueror.*

[2] Curfew bell.

[3] Hampshire.

Fe a lwyr ddiddymodd bob arfer a thraddodiad cyfreithiol, a oedd yn tueddu i'w ddeiliaid y Rhyddid lleiaf. Alffred y Sais oedd hynod am ei amrywiol osodedigaethau, yn enwedig profi euogrwydd neu ddieuogrwydd carcharor, trwy Raith Gwlad;[1] ond y gormeisiaid Normanaidd a ddiddymasant yr hen arfer hon, o herwydd fod arni ychydig o sawr Rhyddid; ac a ddychymmygasant farn watworedig i bawb ond ynfydion anturiol; sef rhoddi yr achwynwr[2] a'r cyhuddol[3] i ymladd â'u gilydd, a hwnw a ennillai y frwydr, ac a laddai ei wrthwynebwr yn yr ornest, a fyddai yn rhydd o'r gyfraith: y ddefod giaidd hon a fu mewn rhwysg tra parhaodd teyrnasiad Gwilym Fasdardd, a Gwilym Goch ei fab, yr hwn a saethwyd yn lle iwrch yn y goedwig[4] a drawsfeddiannasai ei dad er gwaethaf yr iawn berchenogion.

Yn y dyddiau hyny yr oedd camrwysg y brenin yn Lloegr mor awdurdodol, ag y mynai feddiant o diroedd pob etifedd neu etifeddes amddifad a fyddai dan oedran, nes y deuynt i'w cyflawn flwyddau; ac os priodent yn y cyfamser hwy a gollent eu treftadaeth trwy ddirwy. Harri I. a esmwythodd ronyn ar ei ddeiliaid, trwy osod clustogau dan eu hystrodyriau, y rhai wnaethent aml gefn cignoeth yn nheyrnasiad ei dad a'i frawd. Y gwyr llên oeddynt gymmaint eu cymmeriad gydag ef, fal ag y cawsant eu rhyddhau oddi wrth bob cospedigaeth corfforol, bydded eu camweddau o'r radd ddyhiraf; ond Harri II, yn nefodiad Clarendon, a sefydlodd fod i'r gwyr llên a droseddent y gyfraith gael yr un gospedigaeth a'r lleygion.[5]

Un o hen chwedlau y monachod gynt a'r gwrachïod presennol ydyw, fod ellyllon a gwylliaid, a phob ymrithiadau dychymmygol, yn cilio ar ganiad y ceiliog, a bod egnïol grechwen y rhybuddiwr boreuol yn ysgafnhau

[1] The trial of a criminal by jury.
[2] Plaintiff.
[3] Defendant.
[4] New Forest in Hampshire, wherein William Rufus was accidentally shot by Sir Walter Tyrrel, a French Knight.
[5] The laity.

meddyliau a synwyrau yr ymdeithydd ofnus oddi wrth yr anhyder a'r petrusder y mae trymder y nos yn ei ddwyn ar ddynion.

Felly yn ol yr hirnos o orthrymder hyd y drydedd wyliadwriaeth, wele ddwyreiniol oleuni a thoriad y wawr yn sirioli calonau trigolion Lloegr: daeth udgorn Ffits-Walter[1] i gyhoeddi anoddefgarwch y Seison dan warog y treisiwr digalon, a'r deyrnas oll mewn arfau a adawsant yr aerwyon ym maes *Runnemede;*[2] Rhyddid a barodd iddynt lithro oddi am yddfau y treisiedig, pryd y gorfu i Ioan frenin, trwy annogiad yr arfog arglwyddi, ganiatäu iddynt yn ysgrifenedig oddi dan ei law, eu teilwng Ryddid, sef *Magna Charta:* yr hon yw'r argae benaf i sicrhau Rhyddid y deiliaid rhag rhyferthwy trais a chaeth reolaeth yr unben. Bydded ffrwythlon y maes hwnnw, lle gosododd Rhyddid ei gogoneddus luman; disgyned gwlith o'r nefoedd, hidled tymmorol gawodydd fendithion i'w berchenog; gwerthfawrocach ydyw i'r Seison rhyddion na holl fwyngloddiau Periw i'r Yspaeniaid caethion, Bydded y pedwerydd dydd ar bymtheg o'r Gorphenaf yn hynod ym mhlith dyddiau y flwyddyn; a'r flwyddyn 1215, yn un o'r rhai parchedicaf er dyoddefaint Crist. Dyna y diwrnod y cafwyd yr hon a gollwyd er ys cymmaint o oesoedd drwy holl barthau y ddaiar. Bydded y flwyddyn hòno mor anrhydeddus ym mhlith Seison ag ydyw yr Hegira[3] ym mhlith Mahometaniaid; bydded yr Alcoran[4] yn ddychymmyg dynol, a *Magna Charta* yn llawysgrifen angel. Hyfrydaf eiriau i Brydeiniaid (yn nesaf i Efengyl Duw) yw y rhai hyn, o'r xxix. bennod, yn ol esboniad Syr Edward Coke: " Na chym-

[1] The general appointed by the English Barons to command their forces against King John.

[2] The very spot of ground, between Staines and Windsor, where King John signed Magna Charta.

[3] The flight of the impostor Mahomet from Mecca, his native place, in the year 622, which is the grand epoch from which the Mahometans compute their time, as Christians do from the birth of Christ.

[4] The book which contains the tenets of Mahometism, invented by Mahomet and his accomplices, which is held so very sacred by Mussulmen, that a Christian dare not touch it with impunity.

merer, na charcharer, na ddifuddier o etifeddiaeth, &c., na anghyfreithier, na yrer o'i wlad, na ddyfether, ac na fwrier i farwolaeth, yr un dyn trwy gwyn y brenin, neu ger bron un barnwr pa bynag, ond trwy ddedfryd gyfreithlon ei arglwyddi neu ei gydraddolion yn ol cyfraith y tir." Yr osodedigaeth dra llesol hon a adnewyddwyd gan fab y Brenin Ioan, sef Harri III: ac o ddechreuad teyrnasiad Iorwerth I, hyd ddiwedd rheolaeth Harri IV, y sefydlwyd ddeuddeg ar hugain o osodedigaethau, y rhan fwyaf yn helaethu Rhyddid y deiliaid, ac yn cwtogi rhwysg y goron.

Wele fendigaid Ryddid! yr hon a fuasai ar ddisberod er ei deoliad o Rufain, heb un orsedd ymherodrol hyd yn hyn: ond gyrwyd hi ar encil i grwydro ym mhlith neillduol deuluoedd; ymgysurodd ac ymhyfrydodd gael achles ym mynwesau'r caethion, y rhai oeddynt ryddion yn yr ysbryd, er bod eu cyrff yn rhwym: cyd-ymofidiodd a chyd-lawenychodd â'r merthyron; ymddyeithrodd rhag llygaid cenfigenus; miloedd a ddienyddwyd yn ei phlaid; gwaedasant, ond yn ofer; ymegnïasant, ond yn ddi fudd: o'r diwedd hi a adferwyd, a'i deolaeth a ddiddymwyd; yr hon oedd yn llechu yn y dirgel a gyhoeddwyd yn yr amlwg. Ymddangosodd uwch terfyngylch trais a gorthrymder, yn ymddyrchafu megys seren ddysglaer yn yr unfed ty ar ddeg o addurn y seryddwyr; yn amgylchedig gan fân gymylau caddug ei chaseion; ond nid oedd y rhai hyn ond yn chwanegu ei dysgleirdeb yn llygadau y cawodydd. Ond eto, er ei bod yn llewyrchu ar Loegr, yr oedd cwmwl dudew rhyngthi ac Eryri! Er goleuni haul a llewyrch lleuad, yr oedd dysgleirdeb pelydr Rhyddid yn ddyeithrol ym mro Gamber: ni chaniataodd Ioan i'w ddawf Llywelyn[1] yr un *Magna Charta*.

Yr oedd y Cymry y dyddiau hyny yn llawn helbul, gelynion i'w gorthrymu, a'u tywysogion yn ymryson pa un a gai dreisio ei wladwriaeth greulonaf: coroni un

[1] Llywelyn ab Iorwerth Drwyndwn, called Llywelyn the Great, had to wife Joan, daughter of John, king of England, with whom he had as a dowry, the lordship of Ellesmere.

heddyw, y llall y fory yn anghyfanneddu ei derfynau, gan losgi a lladd â thân a chleddyf y cwbl o'i flaen. Yr oedd y dyn a anrheithiai ei gymmydog o'i arian neu ei dda, yn deilwng o uchel swydd yn y fyddin am ei wrolder. Oferedd oedd i wr wrth hau ddysgwyl medi ffrwyth ei lafur; a dyna yr achos y mae cymmaint o hen fathau a darnau arian wedi eu cael amryw weithiau yn y ddaiar; canys gwell a fyddai gan y naill blaid guddio eu cyfoeth mewn ogofëydd a llochesau, nag iddo ddygwydd i ddwylaw y blaid arall.

Geill cenedl y Cymry ddiolch, mewn rhan, i Rodri Mawr am y galanasdra a wnaethpwyd yn eu plith trwy ymrafael eu tywysogion. Rhodri a ranodd ei dywysogaeth rhwng ei dri meibion, gan ddysgwyl y byddent hwy a'u dilynwyr yn un a chytûn i wrthsefyll ymgyrchiadau y gelyn. Ond gweithredasant gan belled oddi wrth ei ddysgwyliad ef ag ydyw'r gogledd o'r deheu: canys pan fyddai heddwch rhyngthynt a'u gormesawl elynion (yr hyn yn anaml iawn a ddygwyddodd tros gantoedd o flwyddau), yn lle cryfhau eu cestyll, ac amlhau a dysgu eu milwyr, ymgynddeiriogent y naill yn erbyn y llall, ar yr achos lleiaf. Dechreuodd yr anllywodraeth yma, cyn pen hir wedi marwolaeth Rodri, awdur y dinystriol raniad; canys Cadell o Ddeheubarth a gymmerodd feddiant o Dywysogaeth Powys yn ol marwolaeth Merfyn ei frawd; ac Anarawd, tywysog Aberffraw, i ddial ar Gadell, rhag ofn nad oedd ei fyddin ei hun yn ddigon mileinig a galluog, a annogodd y Seison i'w gynnorthwyo, ac a ddifrododd wlad Aberteifi ac Ystrad Gwy, yn y fl. 893. Yn ol hyny Ieuaf ac Iago, meibion Idwal Foel, tywysogion Gwynedd, wedi gorchfygu cyssylltedig fyddinoedd meibion Hywel Dda ar fynyddoedd Carn, a anrheithiasant holl wlad Dyfed; a meibion Hywel, yn anfodlon i ddyoddef hyn heb roddi dant am ddant, a anghyfanneddasant Wynedd hyd afon Gonwy. Un o'r pethau rhyfeddaf a'r a ddarllenir yn hanes y tywysogion, ydyw, i'r brodyr rhagddywededig, sef Ieuaf ac Iago, gyduno i lywodraethu Gwynedd

am un mlynedd ar hugain, heb nemawr groesineb â'u gilydd; yr oedd cŵn gwaedlyd alanasdra, a chartrefol ddifrod, erbyn hyn yn ymgynddeiriogi am gael eu gollwng o'u cynllyfanau; ac yn ganlynol Iago a roddes ei frawd Ieuaf yng ngharchar, a Hywel, mab Ieuaf, a gynnullodd fyddin, ac a droes Iago o'i lywodraeth, a thynodd lygaid Meirig, brawd hynaf ei dad, ac a'i rhoddes yng ngharchar, rhag y byddai iddo arddelw hawl i'r goron. Ac Iago, i ddial ar ei nai, ac yn chwennych ail-feddiannu ei dywysogaeth, aeth ac a ymbiliodd ar Edgar frenin Lloegr i ddyfod â byddin i'w gynnorthwyo yn erbyn Hywel; yr hyn a wnaeth, a gorfu i Hywel gymmeryd Iago yn gyd-reolydd; ond cyn pen tair blynedd yr oedd y ddau â'u byddinoedd yn y maes, a chymmerwyd Iago yn garcharor. Yna lladdodd Hywel, Idwal Fychan, ei ewythr arall, i gael diogelu ei hun ar yr orsedd. Yna cyflogodd Cwstenyn Ddu, mab Iago, fyddin o Ddaeniaid[1] (pa rai oedd y pryd hyny yn heidio o gylch Prydain) yn erbyn ei gefnderw Hywel, ac a anrheithiodd Fon; ond Hywel a roddes iddynt frwydr, ac a laddodd Cwstenyn, ac yn y fl. 984 y lladdwyd yntau wrth ymladd yn wrol yn erbyn gelynion ei wlad, sef y Seison. Gormod o'r fath dystiolaethau a hyn o anghallineb y Cymry yn lladd ac yn dyfetha eu gilydd, a gyfarfyddir yn hanesion ein gwlad; ond digon ydyw hyn a draethais, i beri i'r darllenydd ddeall yr anystyriol waedlyd fyrbwylldra a oedd yn rheoli gweithredoedd ein hynafiaid.

Tosturus ydyw ystyried fod mynwesau dau frawd, a faethwyd yn yr un gwpan, ac a gyd-chwareuasant yn eu mebyd, yn cynnwys y fath gasineb ac awydd i orthrymu naill y llall. Pe terfynasent y ddadl trwy ladd neu garcharu eu hunain yn unig, ni buasai yr Abadon[2] uffernol yn cael y fath orfoledd yn eu cwymp: ond casglu cynnifer o filoedd o fileinig fodau[3] i gigyddio

[1] Danes: *Llychlynigion* is sometimes used, which is more properly the general name of all the borderers on the Baltic Sea, than the Danes in particular; as that sea is called *Llychlyn* in Welsh.
[2] *Rev.* ix. 11.
[3] Beings.

a dyfetha naill y llall heb wreiddiol gasineb rhyngthynt, ond yn unig amddiffyn achos eu blaenor, pa un bynag ai cam ai iawn a fyddai, sydd gywilyddus wallgofrwydd. Rhyfel rhwng teyrnasoedd gwahanol a'u gilydd, a bura y byd o'i ormodedd drigolion; ond cenedl yn ymddïal ar ei hymysgaroedd ei hun, sydd o echrysawl anian; gwaewffon un yn nwyfron ei frawd, tad yn syrthio trwy ddwylaw ei fab, a'r cyfryw ddychrynadwy ddifrodiad, na chynnwys geiriau erchylldod yr aruthrol aerfa.

Yr oedd Clawdd Offa yn y dyddiau hyny i'r Cymry, megys afon Styx i'r hen feirdd cenedlig; canys os unwaith yr elai Gymro trosto, ergyd i gant iddo ddychwelyd.[1] Nid oedd ganiataol i Gymro brynu un gwys o dir yn Lloegr, er bod ganddo foddion; na gwasanaethu swydd, er ei fod yn gyfaddas iddi. Anoddefol greulondeb y Seison pan gaffent y llaw drechaf, a mynych ymgyrchiadau ein hynafiaid i ysgwyd ymaith iau y treiswyr hyny, a fagodd wreiddiol gasineb rhwng y ddwy genedl; ac nid ydyw wedi llwyr ddarfod yng nghalonau cyffredin bobl y ddwy blaid hyd heddyw.

Fal y soniais o'r blaen, er i'r Brenin Ioan, trwy ei fygwth, ganiatäu Rhyddid i'w ddeiliaid Seisnig; eto yr oedd y Cymry yn amddifad o honi. Cyfrifodd rhod y tymmorau ddau gant a deg a thrigain o flynyddoedd wedi hyny, cyn i'r gorthrymedig feddiannu yr un breintiau â'u gorthrymwyr.

Er dichell Iorwerth I, er geni ei fab yng nghastell Caer yn Arfon, er ei alw yn Dywysog Cymru; eto cas yng ngolwg Brython oedd ymostwng i alltud a gormes gwahoddedig: ac nid wyf yn tybied yr ymostyngasent eto yn wirfoddol, oni bai i Ragluniaeth ddirprwyo dyweddi rhwng Owain Tudur o Benmynydd ym Mon, a gweddw Harri V. Hyn a roddodd achlysur i'w ŵyr ef, Harri, Iarll Rismwnt, arddelwi hawl i goron Lloegr,[2]

[1] King Edgar prohibited the Welsh from passing Offa's Dike on pain of death.—*Speed's Chron.*

[2] Henry VII. laid claim to the crown of England, as being (of his mother's side) the only remaining heir to the House of Lancaster.

pan a'i gwelodd yn giprys, heb un pen cymhwys i'w chynnal. Dyma yr amser nodedig[1] y dylai Cymry gyfrif blynyddoedd eu Rhyddid oddi wrtho. Nid oedd prin le i Harri a'i wŷr dirio yn Aberdaugleddeu, gan luosogrwydd y Prydeiniaid yn ymdrafferthu am y prysuraf i fyned i gynnorthwyo gorwyr Tudur ab Gronwy i fod yn frenin ar Loegr. Cymmaint oedd awch hyderus y Cymry i ddangos eu dewrder a'u hewyllysgar barodrwydd i amddiffyn eu gwladwr, fal y credwn yr anturiasent, ym mhlaid Harri, i ymladd yn noethion â llu arfog.[2]

Y mae barddoniaeth yr oes hòno yn dryfrith o dystiolaethau gwresog bured oedd y beirdd at Owain Tudur a'i epil: mor gwynfanus y canodd y beirdd, pan oedd yn garcharor yn y Tŵr Gwyn! a D. ab Edmwnt, ym molawd Edmwnt a Siasper, Ieirll Rismwnt a Phenfro, sef meibion Owain, a draethodd awyddfryd y Cymry i ddangos eu tueddiad i amddiffyn eu hachos, yn y geiriau hyn:—

"Os eu tad a esyd dydd,
I roi 'i faniar ar fynydd,
Dichon gael hyd ym Maelawr,
Drigain mil—darogan mawr!"

Ym Maes Bosworth[3] terfynwyd y ddadl rhwng Harri a Rhisierdyn Gefngam; ac i'w gyflawn sefydlu ar yr orsedd, efe briododd Elisabeth, unig etifeddes y goron o Dylwyth Caer Efrog.[4] Dyma y cyntaf o freninoedd Lloegr y bu y Cymry yn foddlonus tan ei lywodraeth; canys cydwybodol oeddynt o'i waedoliaeth ef, ac yntau o'u gwasanaeth hwynt ym mrwydr Bosworth.[5]

Cafodd y beirdd y pryd hyn genad i ollwng eu hawenyddau allan o'r carchar, a ddarparodd Iorwerth Hirgoes[6] a'i ddilynwyr iddynt. Ni feiddient gyfhwrdd

[1] Era.
[2] Henry II. of England, in a letter to Emmanuel, Emperor of Constantinople, gave the Welsh, though his enemies, this character.
[3] Bosworth Field, where Henry proved victorious, Aug. 24, 1485.
[4] House of York.
[5] [Too flattering a compliment to Henry VII.—W. D. 1824.]
[6] Edward I, surnamed Longshanks.

â barddoniaeth, rhag iddynt awchlymu arwraidd anian eu cenedl i ymegnïo am eu Rhyddid. Os dawn awenyddol a gynhyrfai deimlad bardd i gwyno yn alaethus gyflwr tosturus ei wlad, neu i ddangos galar ei enaid am gyfaill pur a syrthiasai drwy wrol amddiffyn iawn a braint ei genedl; hyn, meddaf, oedd achos marwolaeth iddo trwy greulon ddedfryd cyfraith Loegr. Nid oedd iddo i'w wneyd yn y caethiwed hwn, ond anadlu i'r gwynt ei feddyliau llwythog trwy ocheneidiau griddfanus, tra yr oedd dadwrdd dyfroedd a diaspedain creigiau megys yn cyd-resynu ei gyflwr.

Yn ol Chwefror a Mawrth oer-chwerw, daeth cerddgar Ebrill i sirioli awenyddion Gwynedd, dan deyrnasiad Teulu Tudur. Cyfyngwyd awdurdod a thrais Arglwyddi y Terfynau,[1] y rhai oeddynt filain gyndyn elynion i'r Cymry; ac amryw osodedigaethau er sylfaenu Rhyddid, a ddaeth allan yn nheyrnasiad Harri VIII; eto er hyn yr oedd rhai defodau mewn grym yn cynnal anghymhwys wahaniaeth rhwng y ddwy genedl; gwahaniaeth wrthwynebus i iawn lywodraeth; ond y Cymry eu hunain, er mawr barch iddynt, a erfyniasant i'r brenin gyduno â'u hamcanion llesol, gan fwrw i'r llawr y gwahan-glawdd cas oedd rhyngthynt: ansawdd a chyfiawnder eu dymuniad a gyflwynasant ger bron y brenin yn y geiriau hynod sydd yn canlyn:—

"Rhynged fodd eich Uchelder,

"Nyni, dros ddeiliaid eich Uchelder, yn cyfanneddu y rhan hòno o'r ynys a elwid *Wales* gan ein gorddwyon cyntaf, a ydym yn ostyngeiddiaf yn ymgrymu wrth draed eich Uchelder, ac yn erfyn caffael ein derbyn a'n cynnwys i'r un gyfreithiau a breintiau a fwynhëir gan ereill o'ch deiliaid: ac nid oes a luddia hyny (gobeithiwn), gan ddarfod ini fucheddu dros gyhyd amser dan rai ein hunain. Herwydd, gan eu bod yn gystadl wedi eu sefydlu drwy awdurdod ein llywiawdwyr yn y cynamser, ac o ddarfod o honom ninnau ymddarostwng

[1] *Penaethiaid Gorwlad*, Lords of the Marches.

iddynt drwy lawer to o oesoedd; yr ydym yn hyderu y gwna eich Uchelder faddeu ini, os meddyliasom mai nad hawdd na diberygl oedd ini mor ddisyfyd ymwrthod â hwynt. Ni ryfygwn ychwaith eu cystadlu efo y rhai a arferir yn awr, a llai hefyd yr ymrysonwn ddäed ac iawned ynt ynddynt eu hunain. Ond yn unig, os eu hamddiffyn hwynt a'n Rhyddid rhag y Rhufeiniaid, y Seison, a'r Llychlynigion, dros gynnifer o gantoedd o flynyddoedd, ac yn ddiweddaf yn erbyn y Normaniaid, tra yr honasant ddim iawn ond y cleddyf, a feddyliwyd yn gyfiawn ac anrhydeddus; nyni a ryfygwn na bydd yn ammharchus y pryd hyn; ac y bydd i'r holl nodau o wrthryfeloedd a thwyll, pa rai a chwennychai ein henllibwyr fwrw arnom, ddisgyn ar bawb arall yn hytrach nag ar y rhai a ymladdasant dros gymmaint nifer o flynyddoedd, ac yn erbyn y fath amrafaelion genedloedd er ein cyfiawn ddiogelwch: wiried yw hyn hefyd, mal y mae ein hanesion goraf yn dangos, mai ganddom ni yn unig y cadwyd y grefydd Gristianogol, dros lawer o flynyddoedd, tra yr ydoedd y Seison (gan eu bod yn anghred) un ai yn ymgyrchu, ai yn meddiannu y wlad hon. Teilynged, gan hyny, i'ch Uchelder synied ein gweithredoedd, tra y gwnaethom ond y cyfryw ddyledswydd a wnai eich Uchelder yr awr hon er ei holl ddeiliaid, ar y fath achos; o herwydd, os gwna neb rhag llaw ormesu y wlad hon, gwyddom yn dda na chwennycha eich Uchelder ini ymddwyn mewn modd arall.

"Heb law, oni buasai i'r gormeisiaid gyfarfod â rhywfaint o wrthwynebiad, hwyrach y diystyrasynt wlad na ddygai neb i'r maes yn perchen digon o wroldeb i ymbleidio am dani; gan hyny, ein Ior, yr erfyniwn eich maddeuant, os dywedwn mai iawn er anrhydedd i'ch teyrnas oedd i ryw ran o honi fod byth heb ei goresgyn. Nyni, gan hyny, yn enw y pa bethau bynag ym meddiant eich Uchelder a ddarfu wrthsefyll yn erbyn pob gorddwy a thrais, a ydym yma ger eich bron yn ymroddi yn ewyllysgar, ac yn ufuddhau i'r cyfryw unbenaeth a gyfaddefwn sydd mor gyflawn

urddol yn eich Uchelder. Hefyd, nid yw hwn y tro cyntaf; nyni a fuom yn barod ar bob amser cyfaddas i ymuno gyda y parthau mwyaf a goraf o'r ynys.

"Ond breninoedd y deyrnas hon, gan fod yn lludd-edig o'u haml ymgais eu hunain yn ein herbyn, a rodd-asant gynt, nid yn unig ein gwlad i'r sawl a allai ei goresgyn, ond ym mhellach, caniatawyd iddynt freninol rwysg yn eu hamryw ardaloedd; felly yr oedd yn rhy anhawdd dyfod i'r un cytundeb, tra yr oedd y cynnifer a gymmerasant y gwaith hwn mewn llaw, trwy drais yn arfer llüyddog a diammodol rwysg a llywodraeth yn y cyfan a feddiannasant, heb sefydlu diduedd gyf-iawnder.

"A'r holl droseddwyr a ddiengent o'r naill ar-glwyddiaeth gyffiniol (canys felly y gelwid) i'r llall, a oeddynt yn gochel cospedigaeth y gyfraith, ac felly yn cael eu hachlesu i wneuthur pob math o'r gyflafan ac anrhaith, a lygrodd anrhydedd ein parthau. Felly hyd oni ddygwyd nid yn unig (greulon gyfreithiau) ein hamrywiol oresgynwyr o Loegr, ond hefyd yr ym-gyrchwyr ar ein parthau i iawn gymmedrolder, nid oedd undeb yn dilyn, er maint ein hawyddfryd ni.

"Gan hyny, ac nid yn gynt yr ymostyngasom i Edward I, tywysog, yr hwn a wnaeth amryw a chy-mhwysach gyfreithiau nag un o'i flaen; am hyny yr amddiffynasom ei fab, sef Edward II, y pryd yr oedd, nid yn unig y Seison wedi ei adael, ond hefyd ninnau ein hunain a allasem ail gaffael ein Rhyddid, pe buasem yn chwennych. Am hyny yr ennillasom fuddugoliaethau i Edward III, ac a safasom yn ddi-ysgog tra parhaodd yr holl deyrnasol anghydfod ar ochr ei ŵyr a'i ddilynwr, Richard II. Yn unig os darfu rhai yn ein plith wrthwynebu Harri IV,[1] eich Uchelder a ddichon amgyffred yr achos yn well na nyni ei draethu, er i amryw ddyeithriaid a eglur wrthodasant gymmodi ag ef, megys unben a thywysog cyfreithlon, gyflawn gyhoeddi hyny. Ni ddarfu ini ychwaith gilio

[1] Yn nyddiau Owain Glyndwr.

oddi wrth ddyledus ufuddhâd i Harri V, er mewn amseroedd ammhëus, nid allwn wadu na ymddangosodd amryw ddynion gwrthnysig. Pa fodd bynag, ni ddarfu ini erioed ymgyssylltu â Seison gwrthryfelgar, na chymmeryd achlysur oddi wrth hyny i ennill ein Rhyddid, er, yn nyddiau Richard II, a thra parhaodd yr holl ryfel cartrefol rhwng Teuluoedd Iorc a Lancaster, aml achlysur a roddwyd. Am lynu wrth Deulu Iorc, i'r hwn yr oeddym ni yn canfod yr hawl goraf, ni a gadwasom ein tueddiad o hyd i'r goron, hyd ddyddiau tad eich Uchelder, yr hwn (oedd yn dwyn ei enw a'i waedoliaeth oddi wrthym) yn fwy siriol a gynnorthwywyd gan ein rhieni yn ei hawl i'r goron, pa un mae eich Uchelder yn awr yn ei mwynhau.

"Ac felly, Ior, os rhoddasom er ys oesoedd dystiolaeth o ddilwfr ddewrder trwy amddiffyn ein Rhyddid a'n gwlad, ni roddasom ychwaith lai tystiolaeth o'n ffyddlondeb i'r goron er pan gyntaf yr ymroddasom. Yn gymmaint ag y gallwn yn wirioneddol gadarnhau, yn ol ini dderbyn yr ammodau a roddwyd ini gan Edward I, ni ddarfu ini esgeuluso un achlysur o wneuthur dyledswyddau ufudd ddarostyngedigion. Ac nid oes ddim yn ein cysuro yn fwy na bod yr holl amryfaelion yng nghylch etifeddiaeth y goron (yr hyn a flinodd cyhyd y wlad hon) wedi eu terfynu yn eich Uchelder; ym mha un yr ŷm ni yn cydnabod fod y ddau deulu wedi eu dedwydd gyssylltu.

"I'ch Uchelder, gan hyny, y cynnygiwn bob ufudddod, yn dymuno ond yn unig ein hamddiffyn rhag sarhâd ein llidiog ddirmygwyr; canys nid ydym ni hiliogaeth Prydeiniaid gwrthgiliedig (fal y galwant nyni) ond priodol drigolion gwlad, yr hon, heb law ei hamddiffyn ei hun, a dderbyniodd bawb oll a ddaethant atom am gymhorth. Gan hyny, Ior, rhoddwch ini ganiatâd i ddywedyd, eu bod yn gwneuthur mawr gam â nyni, pan feiddiant haeru na chyfanneddwyd ein gwlad cyn eu dyfodiad hwynt, neu iddi ballu mewn cyfaddas dynerwch pan ydoedd mor groesawus tuag at bawb a ffodd iddi am noddfa: yr hyn hefyd a fydd

fwy credadwy pan gofhëir, fod yn oed ein mynyddoedd uchaf yn darparu cig myllt ac ychain, nid yn unig i'w holl drigolion, ond hefyd yn gwasanaethu Lloegr â mawr amlder. Gan hyny, ni a atolygwn eich Uchelder fod i'r sarhâd hwn gael ei symmud oddi wrthym.

"Am ein tafodiaith, er ei bod yn arw mewn sain, a lefarwyd yn y cynamseroedd nid yn unig yn yr ynys hon, ond hefyd yn Ffrainc: rhai ceinciau o honi a arferir eto ym mhlith trigolion Llydaw yno, ac yma, yng Nghernyw. Ac nid oes un dyn a ammheu hyny, pan ganfyddo eiriau y *Celtæ*, hen drigolion Ffrainc, a adroddir gan yr awduron Lladingaidd, yn arwyddocäu yr un feddwl yn ein plith ni hyd heddyw: ac ni bydd yn warthrudd, gobeithiwn, ei bod yn ymadroddi gymmaint yn y breuant, gan fod y Ffloriniaid a'r Yspaeniaid yn ymserchu yn y fath yma o adroddiad, megys yn credu fod y geiriau a seinio mor ddyfn yn tarddu o'r galon. Felly, os cadwasom yr iaith hon yn hwy na thrigolion mwy gogleddawl yr ynys hon (ymadrodd pa rai sydd yn eglur ymddangos i fod yn fath o gymmysgiaith, ac yn debygol a ddygwyd i mewn gan y Seison), gobeithiwn na osodir hyny i'n herbyn; ni bydd gan eich Uchelder ond ychwaneg o ieithoedd i'ch gwasanaethu: ni chaiff ein rhwystro i ystyried Seisoneg, ped fai ond i'n dysgu y modd y gallwn yn well ufuddhau a gwasanaethu eich Uchelder: dan gyfreithiau pa un yr ydym ni eto yn ostyngeiddiaf ddymuno gael ein cynnwys; ac nid ydym yn ammheu, os ym mhob gwledydd y rhoddodd y parthau mynyddig odidoced prawf o synwyrau ac ysbrydoedd eu trigolion ag un ardal yn y gwastadoedd, ein parth ninnau hefyd, trwy hynaws gymmwynasgarwch a chaniatâd eich Uchelder, a ddichon gyrhaedd hyny o gymmeriad."

Felly yn y 27 fl. o deyrnasiad Harri VIII, wedi i'r brenin wrando cwyn y Cymry, y gwnaethpwyd deddf yn cynnwys y meddwl yma: "Bod llywodraeth Cymru i'w chyssylltu at deyrnas Lloegr, ac i barhau yn gyssylltedig yn dragywydd. Bod pob Cymro o anedigaeth i fwynhau yr un Ryddid â deiliaid ereill y brenin, ac

nad oedd ddeddfau i'w harferyd yng Nghymru ond deddfau Lloegr yn unig."

Y mae awdur Seisnig[1] yn dywedyd fal hyn am Ryddid y Cymry oddi dan orthrymder y Seison: "Thus were these brave people gradually conquered into the enjoyment of true liberty, being insensibly put upon the same footing, and, Roman-like, made fellow-citizens with their conquerors; which gave the utmost advancement to their civil prosperity, by admitting them to a thorough communication of laws with the people of England."

Yn awr, dysglaer belydr Rhyddid a dywynodd ar ardaloedd Cymru, cafodd ei thrigolion fwynhau yr un hynawsaidd gyfreithiau â'u gelynion gynt. Creulonder Harri IV, yn achos Owain Glyndyfrdwy, yn awr a ddiddymwyd.

"Dygn adwyth digwyn ydoedd
Tros oesoedd tra y Seison;
Treiswyr trawsion.
I'n iaith wen hon;
Taer-flin oeddynt hir flynyddoedd,
Llu a'n torai oll o'n tiroedd
I filoedd o ofalon:
Yno, o'i rad ein Ner Ion——a'n piau,
A dro 'i galonau drwg elynion."

GRO. OWAIN.

"Nid archwn ni drochi 'n iaith,
Na dialedd Duw eilwaith;
Ni a roem yn wir yma,
Dreth aur am lywodraeth dda."

LLAWDDEN, 1450.

"Mawr fu'r bai, am arfer bâr
Mara, angerdd ymrysongar;
Llawer dug llwyr waedogaeth;
Llawer iarll i'r llawr a aeth;
Llawer marchog diogan;
Llawer mil oll o wŷr mân!
Duw'r gwir, o'i fawr drugaredd,
Wedi 'r oes hon a droes hedd;
Rhybudd yn ol hir obaith,
Rho'i Iesu in' Harri Saith;
Gwnaeth briodas urddas-wych,
A theilwng waed ethling[2] wych;
Gwnaeth mawredd y ddyweddi
Yn un Normaniaid â ni.

[1] Judge Blackstone.
[2] The heir royal.

Seirws briodes eurwawr,
Merch Darïws, Mediws mawr,
Er dwyn Isr'el o'u helynt,
Bobl ai 'n gaeth o Babilon gynt.
Harri lân, hir lawenydd!
Yw'r un a'n rhoes ninnau'n rhydd:
I Gymru da fu hyd fedd
Goroni gwr o Wynedd."

SION TUDUR.

Can haf yn nesaf i ni,
Can gwanwyn cyn ein geni.

D. AB EDMWNT.

Wedi canlyn Rhyddid yn ei phrif sefyllfëydd tramor, a'i holrhain i Brydain, a rhoddi hanes o'i bendithion i'r Cymry gystadl a'r Seison, af rhagof i draethu ei gogoneddus gynnyddiad i ddeol gorthrymder yn llwyr o'r ynys.

Y mae mawrhydi breninoedd (yn eu golwg eu hunain) yn rhyw beth tu hwnt i ddynol; a rhai o honynt na chynnysgaeddodd Duw â doethineb a thynerwch i reoli, a edrychant ar eu deiliaid megys creaduriaid dybenol i wasanaethu, ac annheilwng o fendithion Rhyddid. Y tywysog aflwyddiannus, Siarls I, yn hyn a brynodd ei ddysg yn rhy ddrud: yr oedd ei ddeiliaid erbyn hyn yn rhy gydnabyddus â gwerthfawrogrwydd Rhyddid, i ddyoddef i un brenin yn y byd eu hanrheithio o honi, heb ymgais egnïol yn ei hachos. Dyrchafodd Hamden[1] enwog ei lais yn y Senedd, ac a wrthsafodd elynion Rhyddid hyd angeu; gan roddi anghraifft i'w wladwyr, nad oedd einioes yn ddymunol hebddi. Terfynodd y ddamwain annedwydd hon mewn cywilydd, er enllib tragwyddol i'n teyrnas. Awdwr yr Ysbienddyn Mahometanaidd,[2] a fu bum mlynedd a deugain yn ddirgel ym Mharis yn Ffrainc, a ysgrifenodd ar yr achos uchod at un o raglawiaid Caer Cwstenyn mewn ymadrodd gwaradwyddus; ond nid oes graff i'r gwaradwydd sefyll, am godiad y deyrnas ym mhlaid eu Rhyddid; ond dienyddio eu brenin, y mae yn rhaid addef y bydd gorlliw cyflafan ar yr hanes, byth.

[1] Hamden [Hampden], he first openly opposed the proceedings of Charles I. in parliament, and was afterwards slain in battle.
[2] Mahmut, the Turkish Spy.

Yn nheyrnasiad ei fab gloddestgar, sylfaenwyd argae[1] arall er gwell ddiogelu Rhyddid y deiliaid: ym mha un y gosodwyd, "Os treisir deiliad o'i ryddid, gan ei garcharu trwy orchymmyn llys anghyfreithlon, neu archiad ei fawrhydi y brenin ei hun, neu trwy arwaesaf ei gyfrin-gyngor;[2] fe a ddichon trwy holiad ei gynghaws[3] gael ysgrifen *habeas corpus* i ddwyn ei gorff ger bron llys brawdfainc y brenin, neu lys y cyffredin ddadleuon, i sefydlu a oedd achos ei garchariad yn gyfiawn, ai nad oedd; ac yn ganlynol i farnu fal y bo cyfiawnder yn perthynu." Canys y mae cyfraith Loegr, megys Ffestus, yn barnu yn anrhesymol anfon un i garchar heb iawn egluro yr achos; ac nid oes gan geidwad y carchar awdurdod i ddal y cyfryw. Nid yw y gyfraith, yn ol gweithred yr *habeas corpus*, yn caniatäu hir garchariad; canys y carcharor, trwy gwyn at ei gynghaws, a ddichon gael barn ddiattreg. Mae meichnïaeth hefyd yn lluddias hir garchariad; ac fe a sefydlwyd,[4] rhag bod holi anrhesymol feichnïaeth, er dal yn hwy y carcharor, nad oedd gyfreithlon holi iawn neu bridwerth ond a fyddo gyfaddas.

Gwych y sylwodd yr enwog ysgrifenydd Locke,[5] "Lle nad oes gyfraith, nid oes Rhyddid." Ond rhoddi i Dduw y lle uchaf am gadw ini ein breintiau mewn gwlad ac eglwys, trwy ei ragluniaeth Ef, meddaf, mae lluosogrwydd a chryfder ein llongau yn beiriannau tra llesol i amddiffyn ein Rhyddid rhag gormeisiaid pellenig; a'n hamddiffyniad rhag gormeisiaid cartrefol, pa rai bynag ai dyledogion[6] ai taiogion,[7] ydyw ein gosodedig gyfreithiau. Montesque, ysgrifenydd Ffreinig, a sylwodd, ac nid oedd gywilyddus ganddo, ym mynwes gwlad ein gelynion, gyfaddef, mai Lloegr (am a wyddai ef) oedd yr unig wladwriaeth yn y byd, ym

[1] *Habeas Corpus* Act, 31 Car. II. Chap. 2.
[2] Warrant of the Privy Council.
[3] Counsellor at Law.
[4] 1 W. and M. Stat. II. Chap. 2.
[5] See Locke on Government, Book II, § 57.
[6] Nobility of the realm.
[7] Commonalty, or the lower class of people.

mha un Rhyddid ydyw unig ddyben a bwriad ei chyfreithiau.

Y mae cyfreithiau Lloegr yn dirprwyo yr annhraethol fendith o Ryddid i'r gwaelaf ddeiliaid: y mae y cardotyn yn ddiogel tra pery yn ddiniwaid tuag at ei gyd-ddinasyddion; bydded ei ymarweddiad mor ddyhir ag y myno, mae allan o afael y gyfraith ddynol tra y ceidw ei ddrygioni iddo ei hun. Ac hefyd, yn rhoddi y fraint i bob trigiannydd i wrthod ei gam, ac i holi yn llysoedd cyfiawnder am uniondeb o'r sarhâd; bydded ei wrthwynebydd yn wr llên,[1] bydded yn wr lleyg,[2] nid oes wahaniaeth: mae iawn farn a chyfiawnder i'w cael, yn hael heb werthiad, yn gyflawn heb wad, ac yn chwai heb oed.[3] Y maent yn sicrhau i ddyn ddirwystr fwynhâd o'i fywyd, ei aelodau, ei gorff, ei iechyd, a'i eirda: nid oes gan farchog yn Lloegr awdurdod i niweidio cardotyn yn un o'r rhai hyn heb achos. Nid oes un dyn mor dlawd angenus, nad ydyw y gyfraith yn erchi iddo ei angenrheidiol gyfreidiau oddi wrth ei uchraddolion. Nid oes nemawr o flynyddoedd er pan oedd cyfraith yng ngwlad y Pwyl,[4] yn caniatäu dienyddu y tlodion afiachus, a'r henaint diallu, megys rhwystrus frychau y lywodraeth. Y mae ein cyfreithiau wedi ein gwneuthur yn wahanol o ran Rhyddid, oddi wrth holl annosbarth-dir[5] Europa; y maent yn gydunol â deddfau Duw ac anian; fe a'u cyfrodedd weuwyd o dosturi a chyfiawnder; hyn a barodd fod Rhyddid wedi ei dyfn blanu yn ein calonau, ac wedi ei llwyr wreiddio yn ein hymserchiadau.

Mor werthfawr ydyw mynwawl Ryddid![6] pa fendith y mae ein cymhwys gyfreithiau yn sicrhau i ni, nid yn unig o febyd i fedd, ond cyn ein geni hefyd; canys ni

[1] *Gwŷr llên*, the clergy.
[2] *Lleygion*, the laity.
[3] *Chwai heb oed*, speedily, without delay.
[4] Poland.
[5] Continent of Europe.
[6] Personal liberty.

chaniatëir ddienyddu un drosedd-wraig feichiog; fe a'i hachlesir dan gysgod Rhyddid hyd oni chaffo esgor.

Pe byddai yng ngallu rhai o'r prif swyddogion garcharu yn arglwyddiaethol pwy bynag a ddymunent, ein cyflwr fyddai druenus. Rhyfeddwn pa fodd y gallodd Ffrainc sefyll cyhyd tan y cyfryw lywodraeth; mae yn ddiammheu eu bod yn ceintachus ddadwrdd gan genfigenu wrth Ryddid Prydain: fe allai fod y dydd yn dyfod, y pryd y cenfigena Lloegr wrth ryddid Ffrainc: ond gweddïwn na byddo achos.

Fe gaiff trigiannydd Prydain newid ei gyfanneddfa a symmud ei drigfan, pan chwennycho, i'r cyfryw le a ddymuno heb rwystr na charchariad; oddi eithr ar achos cyfreithlon. Y mae hawl gan bob Brytwn i aros yn ei wlad cyhyd ag a ddymuno, ac i fyned o honi pan ewyllysio; er y geill y brenin yru ei orchymmyn *ne exeat regnum*, i wahardd mynediad ei ddeiliaid i barthau pellenig heb ei genad: ond nid yw hyn un amser yn dygwydd, ond naill ai i warafun mynediad dynion celfyddgar, neu pan fyddo ammheuaeth bradwriaeth.

Nid oes allu daiarol, ond awdurdod y Senedd, a ddichon yru un o drigolion Prydain allan o'r tir, yn erbyn ei ewyllys; nid ellir, meddaf, yru drwg weithredwr o'i anfodd, canys alltudaeth a herwriaeth[1] ydynt gwbl ddyeithrol i'n cyfreithiau; ac ni arferir, ond un ai trwy ddewisiad y carcharor rhag cosp a fai gwaeth, neu trwy orchymmyn seneddawl osodedigaeth ddiweddar, er pobli lleoedd anghyfannedd, anhyweddol.

Ym Mhrydain, amddiffynir y gwan rhag trais y cryf; mae ein prif ddyledogion, ïe, ein brenin, yn ddarostyngedig i ganlyn y gyfraith. Tystiolaeth hynod o ddidueddgarwch y ddeddf, ydoedd barn yr Arglwydd Mansffield, pan ddirwyodd y diweddar Wiliam, Dug Cumberland (brawd i'n presennol frenin) o ddeng mil o bunnau, am anghyfreithlon weithredoedd efo Arglwyddes Gr—r. A Bennet y barnwr, gorfu iddo

[1] Banishment, transportation, &c.

dalu 20,000 o bunnau, am dderbyn gwobr ar gam, yn y fl. 1616.

Bracton, yr hwn a ysgrifenodd yn nheyrnasiad Harri III, a ddywedodd, "Nid ydyw brenin ddarostyngedig i ddyn, ond i Dduw a'r gyfraith; canys y gyfraith a wnaeth y brenin, yna rhodded y brenin i'r gyfraith y peth a roddes y gyfraith iddo ef, sef arglwyddiaeth a gallu: nid ydyw iawn frenin yr hwn a reolo wrth ei feddwl a'i fodd ei hun, ac nid wrth y gyfraith." Ffortescue, ysgrifenydd Ffreinig, hefyd a ddywawd, "Mae yn rhaid i frenin Lloegr reoli ei bobl yn ol ei gyfreithiau, canys fe a rwymir trwy lw yn ei goroniad i'w cadw a'u cyflawnu hwynt."[1]

Nid coron o feini gwerthfawr na gorseddfainc euraid sydd yn anrhydeddu brenin; ond brenin rhinweddol sydd yn eu hanrhydeddu hwynt.

Meddyliais unwaith osod yma eiriau llw y brenin yn ei goroniad; ond gan fod genyf ormod o sylwiadau ereill mwy buddiol i'r darllenydd, gadewais hyny yn anghyflëus.

Cymmaint ydyw parch a gofal y gyfraith am unigol feddiant deiliad, fal ag ni chaniatâ y niwed lleiaf iddo; er ei fod yn fudd i'r holl wladwriaeth. Ped fai priffordd newydd i'w gwneuthur trwy diroedd gwr unigol, er y byddai yn llesol i'r holl wlad, eto nid ydyw y gyfraith yn caniatäu i'r un dyn, nac amryw ddynion, yr awdurdod i'w gwneuthur heb genad perchenog y tir; ac nid oes allu i'w gymhell i ymadael â'i feddiant, ond gallu y gymmanfa ddadlyddiaeth, sef y Senedd; na hòno ychwaith, oni roddir i'r perchenog yn arian, gyflawn werth ei dir. Mae rhagoriaeth rhwng hyn a gorthrymder Gwilym y Goresgynwr, yr hwn (fal y soniais o'r blaen) a anghyfanneddodd ddeng milltir ar hugain o diroedd ei ddeiliaid, heb na thâl na diolch iddynt.

Pe dygwyddai rhyw ganlyniad mewn achos pwysfawr, na byddai y gyfraith yn ei gyflawn egluro, a bod

[1] Vide St. 12 and 13. W. and M. c. 2.

y cyhuddwr neu y cyhuddol yn ammheu ei fod yn cael cam, mae ganddo Ryddid neu iawn i ymbil y goruwchlysoedd am sefydlu uniondeb rhyngtho a'i wrthwynebwr. Y mae gan drigolion Prydain dri o ragorfreintiau, i achub eu Rhyddid a'u meddiannau yn anormesol; yn gyntaf, gwastad gyfraniad cyfiawnder a diduedd wrandawiad yn llysoedd y gyfraith; os metha hyny, mae gan y treisiedig hawl i erfyn y brenin neu'r Senedd am amddiffyniad: ac yn ddiweddaf, os na bydd i'r gyfraith ei noddi, nac i'r brenin wrando ei gwyn, rhaid iddo amddiffyn ei hun trwy arfogaeth.[1]

Y mae yr Erfyniad am Iawn,[2] a draddodwyd i Dywysog a Thywysoges *Orange* (gan yr Arglwyddi a'r Cyffredin) cyn eu coroni, yn diweddu yn y geiriau yma: "Ac y maent yn holi ac yn arddelwi, oll ac yn unigol, y cynnwysiadau, megys eu hawl diammheuol, a'u breintiau." A gosodedigaeth[3] arall sydd yn hysbysu "mai ganedigaeth-fraint y Brytaniaid ydyw Rhyddid eu crefydd a'u cyfreithiau, yn ol prif athrawiaeth y gyffredin gyfraith." Wele odidawgrwydd ein deddfau! y rhai sydd yn gytunol â Rhyddid, os iawn arferir hwynt; os na chawn arferiad iawn o honynt, nid adwaenom Ryddid; ac os treisir ni o'n Rhyddid, y mae ein cyfreithiau yn ddifudd.

Edryched Prydeiniaid yn ol trwy ryfeddu, ar yr oesoedd aethant heibio, pan oedd y llywodraeth mor arglwyddiaethol; byddont foddlon a diolchont i Dduw fod Rhyddid wedi cyrhaedd ei gogoneddus orsedd; a bod ganddi deml wedi ei hadeiladu ym Mhrydain, er gwaethaf cenfigen ei holl elynion.

Yn ol yr hanes ysgrythyrol, bu teml Solomon saith mlynedd cyn gorphen ei hadeiladu, y waith gyntaf; a'r ail waith, yn ol dychweliad caethiwed plant Israel, gosodwyd ei sylfaen yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad y Brenin Cyrus, oed y byd 3516, ac ni orphenwyd hyd

[1] See Blackstone's Commentaries upon the Laws of England.
[2] Bill of Rights, delivered to William and Mary, Feb. 13, 1688.
[3] 12 and 13 W. and M. c. 2.

y chwechfed flwyddyn o deyrnasiad y brenin Darïus,[1] oed y byd 3560, sef 44 o flynyddoedd. Bu'r holl fyd yn ymboeni ddeugain mlynedd efo thŵr Babel; ond y mae sylfaen teml Rhyddid wedi ei osod ym Mhrydain er ys agos chwe' chant o flwyddau. Ac er bod aml Esra ddiwyd wedi bod yn y goruchwyliaeth er prysuro yr adeiladaeth, eto yr oedd y rhwystrus Samariaid, Babiloniaid, ac Elamiaid, hepil Sanbalat a Thobïah genfigenus, wedi lluddias yr adeiladaeth cyhyd o flynyddoedd. Darllenir bod tros naw ugain mil o ddwylaw yn adeiladu teml Solomon; rhoddes naw can mil eu hoedlau a'u cyfoeth mewn enbydrwydd, wrth anturio eangu muriau teml Rhyddid. Y mae saernïaeth dynion celfyddgar mewn amrywiol oesau yn ymddangos ynddi; y naill yn ymorchestu i drechu y llall yn addurniad ei cholofnau. Ei muriau sydd mor ddurfing a challestr;[2] canys cymmysgwyd y simant[3] â gwaed lladdedigion. Cedwir yn un o'r ystafelloedd amryw beiriannau, argraffau, ysgrifeniadau, a'r fath, er coffadwriaeth i'r oesau a ddêl o'r llesol gynnorthwy a roddasant tuag at yr adeiladaeth. Y ddangoseg hynaf ydyw cynghrair yr arglwyddi yn y fl. 1213 i sefyll ym mhlaid y deyrnas yn erbyn traha y brenin. Yno y mae cynluniau o'r holl osodedigaethau tegweddol, o'r ddeddf fawr,[4] hyd weithred dilyniad y breninoedd;[5] gwneuthuriad y barnwyr yn anymddibynol, neu i gynnal eu swyddau tra yr ymddygont yn addas;[6] diddymiad y cyffredinol arwaesafau; cyfreithiol weithredoedd i fod yn Seisoneg yn lle Lladin;[7] ac ereill ddeddfau llesol at brysuro yr adeiladaeth. Gwelir yno hefyd areithyddiaeth neu ymddyddanion

[1] This Darius, in whose reign the temple was finished at Jerusalem, was surnamed Hystaspis, to distinguish him from Darius Cyaxares, the Mede, who took Babylon, as also from Darius Nothus, the successor of Art. Longimanus, and likewise from Darius Codomanus, who was overcome by Alexander the Great.

[2] Flint.

[3] Mortar.

[4] Magna Charta.

[5] Act of Succession, 12 and 13 W. III. c. 2.

[6] Judges made independent anno primo G. III. c. 23.

[7] Law proceedings turned from Latin into English.

ac ymgynghoriadau aelodau y Dadleudy Cyffredin,[1] y waith gyntaf yr ymgyfarfuont yn y fl. 1264; llythyr ysgar y Brenin Harri VIII. a'r Frenines Catrin; llythyr cymmyn Iorwerth VI, ond bod ei chwaer Mair wedi ei anffurfio; hanes dinystriad yr anorchfygol *Armada*, llynges fedydd y Pab; adroddiad o arwraidd araith y Frenines Elisabeth wrth ei milwyr yng ngwersyll Tilbury.[2]

Y mae yno restr o argraffau arwyr, a hanes eu buddugoliaethau, o Ffits-Walter, pen cad y breyron, hyd farwolaeth Hamden ddiysgog. Y mae yno restr arall o amddiffynwyr, heb fod â llaw yn yr adeiladaeth, o'r blaenor Monk yn llosgi coelcerthi yn Llundain, hyd y Dug Wiliam, ym mrwydr Culoden, yn yr Alban. Y mae yno ddarluniad Wicliff, seren ddydd y Diwygiad. Gosodwyd yno unwaith yn barchedig ddelw Harri VIII; ond y monachod wrth weddïo am ei enaid o burdan, dileuasant ei enw o deml Rhyddid.

Y mae yno yn nesaf bedwar o benau coronog—Iorwerth VI, Elisabeth, Gwilym III, a'i ddyweddïol rian: ac yn yr ystafell ger llaw, y mae llun y Frenines Ann, yn derbyn gostyngedig ddiolchadau y caethion, y rhai a ryddhasai o rwyflongau Marseilles. Sior II. sydd yno hefyd, am ei dosturi Cristianogol yn dirprwyo Rhyddid caethion Morocco. A Sior III, am uno i dori ymaith amryw gangenau o rwysg y goron, a oeddynt yn sawru yn anghytunol â phereidd-dra Rhyddid; gan gystadlu tair rhan y llywodraeth i gydbwyso yn wastad â'u gilydd.

Uwch ben y rhan hòno o'r deml sydd yn gwynebu codiad yr haul, y mae gorchudd harddwych o waith cywrain, yn dryfrith o luniau cysgodawl, annirnadwy ond i feirdd a lluniedyddion; ac os na cheidw yr awenyddion hyny enw y deml yn eu cof, gallant ei chymmeryd yn Rufeinaidd *Bantheon*, gan luosogrwydd y gwrthddrychau.

[1] House of Commons.
[2] "I would sooner perish in the field of battle, than to see the slavery of my people."

Y gyntaf ddaw i'r golwg ydyw Rhyddid, yn debyg i wyryf ym mlodau ieuenctyd, â golwg siriol megys yn gwenu ar bawb o'i hamgylch; ac yn dal yn ei hun-llaw bais arfau Prydain Fawr a'r Iwerddon, ond y tair *fleur de lis* ni dderbyniwyd yno eto: ar y llaw arall y mae yn cynnorthwyo Prydain i gynnal ei theyrnwialen, tra mae masnach tramor a digonolrwydd cartrefol yn bwrw eu trysorau wrth ei thraed. O'r naill ochr i Ryddid y mae aneirif o lyfrau ym mhob celfyddydau, gwydr-ddrychau, nodgylchau morwyr, llongau masnach, a'r cyfryw bethau: o'r tu arall mae bwäu a saethau, cleddyfau, tarianau, gwaewffyn, ac arfau tân; rhai yn rhydlyd, heb eu harferyd er ys cantoedd o flynyddoedd, ac ereill yn loewon, ac yn barod ar yr amnaid lleiaf. Uwch ei phen mae y ffurfafen serenog, a'r wybrenol redegwyr yn bwrw tremiadau mor gyfnewidiol a helyntiau dynol ryw, weithiau yn driongliad tegweddol, dro arall yn wgus gyferbyniad. Y byd o dân mewn cysswllt â llawforwyn y ddaiar, a chythryfwl y moroedd. Ni ddown yr hawg i ben â darlunio y cwbl, canys fe weddai lyfr cyfan i hyny yn unig; felly mi af ym mlaen ar fyr. Yn nesaf at Ryddid, y mae Heddwch yn hepian, ag angel uwch ei phen ag udgorn ar ei fant, yn barod i'w rhybuddio, pe dygwyddai i elyn ymddangos. Yn drydedd y mae Cyfiawnder â'i huniawn gydbwys glorian, â gorchudd dros ei golygon, rhag gwyro barn; megys brawdwyr yr *Areopagus* gynt.[1] Yn bedwaredd y mae Barn, â chleddyf noeth yn un llaw, a changen o balmwydden yn y llall.

I ddiweddu mae delwau bendithion Rhyddid yn arwyddluniol,[2] megys colomen yn dwyn ymborth i

[1] Areopagus, a place in Athens, where the impartial judges, from thence called *Areopagitæ*, sat in judgement. At our Saviour's death, when the heavenly charioteer withheld his radiant beams from giving light to Adam's sinful progeny, who crucified the Lord of life, Dionysius, one of those judges, well knowing that the darkness could not be the effect of a natural eclipse, exclaimed, "Either the world is at an end, or the God of nature suffers." Upon which (as is rationally supposed) the altar to the unknown god was erected, which St. Paul afterwards found, and converted the said Dionysius to the Christian faith.

[2] Hieroglyphically.

gywion yr eryr; yr oen yn cydbori â'r llew; rhianod dibalog yn tramwy yn ddidrais trwy lu o filwyr. Aneirif ydyw addurniadau y deml hon pe'u rhifid oll, adeilad ddymunol, gwerthfawr i Brydeiniaid; ond amryw o honynt a haera fod yr adail eto yn anorphen, gan fod gorthrymder heb ei llwyr ddiddymu, a'i deol o'r ynys, ac yn feddiannol o ychydig o'n cyfreithiau, y rhai na fyn Rhyddid ym mhlith ei deddfau. Ond gan nad ydwyf fi yn foddlon i addef fod y deml a gyfododd yn fy myfyrdod yn ben-agored, sef heb orphen ei hadeiladu, rhoddaf genad i'r gwrthddadlydd draethu ym mha ran o'i chyfreithiau a'i llywodraeth y mae Prydain yn fyr o'i Rhyddid (yn ei dyb ef); a minnau a wrthddadleuaf y gwrthddadlydd, a barned y darllenydd.

---

## Y BEDWAREDD RAN.

**Ym mha un y mae cwynfanau Prydain yn cael eu hystyried: sef Masnach yr Indiaid caethion—Y gyfraith hely—Yr achos o drymder y trethi—Talu trethi a bod tan nawdd y gyfraith, yn fwy dymunol nag anllywodraeth.**

Gwrthddadl. Yn araf, gyfaill, dyrchefaist dy araith ar esgyll gweniaith; ysgrifena yn ddiduedd, heb roddi gwrandawiad ar y glust ddeheu mwy nag ar yr aswy.

Ateb. A draethais i yr hyn nid oedd wirionedd? Neu a wisgais i orthrymder ag angylaidd fantell Rhyddid?

Gwrth. Nid oedd dwyll yn dy ymadroddion, pan ddywedaist fod Prydain yn un o'r gwledydd sydd yn mwynhau mwyaf Rhyddid yn y byd; ond os dywedi ei bod mewn perffaith Ryddid, hudol a gwenieithiwr ydwyt: canys mae pob dyn o ddealltwriaeth yn hys-

bysol nad ydym ym mhob cilfach o'n cyfreithiau yn gwbl ryddion.

ATEB. Gwir yw'r ddiareb, "Drwg pawb o'i wybod;" felly yr anesmwyth Brydeiniaid, yn eu meddyliau eu hunain y maent yn orthrymedig. Myfi a draethais Ryddid Prydain heb ganfod achos iddi gwyno ei gorthrymderau presennol; yr hwn y maent yn amlwg iddo, eglured hwynt.

GWRTH. Gofidus genyf draethu y rhan fwyaf galarus o'r testyn; ond gan dy fod yn erchi, os oes fodd, mi a wnaf it' gyfaddef fod achos i Brydain rwgnach ychydig; gan ddechreu yn un o'r gweithredoedd sydd yn dienwogi ein Rhyddid fwyaf oll, sef masnach y caethion Indiaid:[1] gweithred sydd braidd yn rhy dosturus genyf ei chrybwyll. O! yr anian fileinig a gynnwysir ym mynwesau dynion, a'r dynion hyny yn drigolion Prydain, bro a elwir Gwlad Rhyddid! ond hyd oni ddiddymir yr arfer greulon hon, y mae deiliaid ymherawdr Morocco yn gydbwys â nyni yng nghlorian Rhyddid. Os ydyw cyfraith y tir yn caniatâu y fasnach, ni saif hyny yn erbyn cyfraith Dduw; canys Duw a roddes yr un Ryddid anianol i'r Indiaid a ninnau; ac yr ydym yn arddelw crefydd, yr hon sydd yn ein dysgu i wneuthur i ddynion megys y dymunem iddynt hwythau wneuthur i ninnau. Yr ydym yn gwrando ar yr offeiriad yn gweddïo, ar i Dduw, o'i fawr drugaredd, gymhorth a dyddanu pawb a'r sydd mewn perygl, angenoctyd, a helbul; a thosturio wrth bawb a fo mewn caethiwed a charchar. Yn ol hyn mae y masnachwyr celyd galonau mor ryfygus a gwatwor Duw, gan ddywedyd, "Ni atolygwn iti ein gwrando, Arglwydd trugarog." Gweddïwn na bo i ddialedd yr Hollalluog ein goddiwes: y mae ocheneidiau a griddfanau y caethion treisiedig yn cythruddo nefol dosturi i ddigllonedd. Y mae y fasnach felltigedig hon yn arferedig yn Lloegr er y fl. 1562. O! gywilyddus weithred, gwneyd masnach o ddynol ryw:

[1] African Slave Trade.

prynu a gwerthu ein cydgreaduriaid, hepil yr un Adda, a anwyd mor rydddion a ninnau. Meddai un Demas o'r masnachwyr, gan ymorfoleddu yn yr elw, "Yr ydym ni, heb law llenwi â'r Duantwys ein hardaloedd tramor ein hunain, yn gallu gwerthu lluoedd o honynt i'r Yspaenaidd Orllewinawl India; gan ein bod yn prynu ac yn gwerthu ddeng mil ar hugain o honynt bob blwyddyn." Ië, eu caethgludo, y gwr oddi wrth ei wraig, a'r wraig oddi wrth ei phlentyn, a'u llwytho yn y llongau megys moch; ac ymddwyn mor ffyrnig tuag atynt, fal y bo i un ran o dair o honynt gael eu gollwng oddi dan ffrewyll eu cystuddwyr, cyn cyrhaedd y fangre a benodwyd iddynt, trwy angeu creulon, a gyfiawn haeddai yr enw o *gyflafan y gwirioniaid;* a'r ran druenus o honynt a fyddo â chwythiad ynddynt yn ol cyrhaedd pen y daith, yw y flinaf ei thynged; rhaid iddynt boenus dreulio eu gofidus ddyddiau mewn caethiwed gwastadol. Rhai o honynt (fe allai) yn perchen eneidiau cyfoethocach o rinweddau na'u masnachwyr anghristianogol. Er gwaethaf ymdrechwyr Caerodornant[1] a Lerpwl, a'u hareithwyr llog yn y Senedd; gweddïed pob enaid tosturiol am ddiddymiad a dadwreiddiad yr arfer gythreulig sydd yn waradwydd i'r byd Cristianogol. Pa aelod o'r Senedd na ymegnïai i adferyd i'r miloedd o'i gydgreaduriaid eu Rhyddid! y rhai sydd mewn cystudd calon yn gwaeddi —"Pwy a ddengys i ni ddaioni?"

Ateb. Gwir yw, mai arfer echryslon ydyw gwneuthur masnach o ddynol ryw, fal y tystiolaethodd amryw seneddwyr yn y gymmanfa; ac a lwyddasant gan belled, a bod awdurdodawl orchymmyn wedi ei gyhoeddi, na chaniatëir tan boen mawr ddirwy, i'r masnachwyr lwytho ond nifer penodol yn yr un llestr, ac na feiddiant arfer ond llongau bychain: a bod gwobr wedi ei sefydlu i'r masnachwr a fyddai â'r nifer leiaf o'r caethion wedi meirw ganddo yn y fordwyad. Ystyr gan hyny, fod y gyfraith wedi esmwytho llawer

[1] Bristol.

ar y caethion, o ragor y dull y darluniaist ti eu trueni; ac y mae y Senedd yn y cyfarfod presennol yn bwriadu ystyried ym mhellach yng nghylch eu trosglwyddiad; ac fe allai y llwyr ddiddymant y fasnach. A phe bai y morwyr a'r swyddogion yn ymddwyn yn dynerach tuag atynt ar eu mordwyad; a chenadon efengylaidd yn cael trwydded atynt yng ngwlad eu halltudaeth, i'w dychwelyd i iachus wybodaeth o Brynwr pechaduriaid, byddai epil Ham yn ddedwyddach, ïe, ym mro y caethiwed, ym mhebyll a gwinllanoedd Iapheth, na bod yn eu prif wylltineb yn lladd ac yn bwyta eu gilydd yn eu gwlad eu hunain. Bellach, dos ym mlaen, a thraetha y grwgnach nesaf sydd yn dy flino.

GWRTH. Mae cyfreithiau Lloegr naill ai yn caniatäu, ai yn gwarafun; ym mhlith y ran ddiweddaf ni fedrai dynu allan yr un mor wrthwynebol i Ryddid a'r gyfraith hely.

Dyn yn cael ei ddifwyno o'i Ryddid, sef ei anedigaeth-fraint, am na threfnodd Rhagluniaeth iddo ef berchenogi etifeddiaeth o gant neu ddau o bunnau yn y flwyddyn.

Anghyfaddas[1] y gelwir y cyfryw ddyn; ac ni chaniatëir iddo gadw yn ei feddiant un offer pysgota, er ei fod heb eu harfer; ac y mae ty y cyfryw (yn ol y gyfraith) yn ddarostyngedig i gael ei chwilio y nos cystadl a'r dydd; ac os ceir yntho ryw beth tebyg i irai ychain â rhawn march wrthi, dyna bum punt o ddirwy; os medd mul Issachar gymmaint ar ei helw.

Gwir yw'r ddiareb fod y dwfr yn loewach yn y ffynnon nag yn y ffrwd. Felly nid wyf finnau yn deall fod y gyfraith hely wreiddiol mor gaeth ag y mae rhai swyddogion yr heddwch (â rhy brin o gyfiawnder) yn ei harfer yn y cyflawniad; canys nid ydyw cadw cyflegr[2] yn unig, heb ei arfer, yn ymddangos yn y weithred:[3] er hyny, un ai y mae bathdy cyfreithiau yn nes na Llundain, neu y mae gan rai

[1] Unqualified.
[2] *Cyflegr*, a gun.
[3] 2 Stra. 1098. Burn, 511. 14 Vin. Abr. 3 Andr. 228. Ses. Cas. 385. pl. 204.

swyddogion gyfraith o'u gwaith eu hunain; pan allodd swyddog urddasol o Swydd Ddinbych fynu i'w feddiant yr holl gyflegrau trwy dri phlwyf ogylch, pa rai oedd geidwadaeth tai rhag anrheithwyr lladronllyd, ac hefyd ffrwythau y ddaiar rhag ehediaid yr awyr. Terfynaf y gwynfan hon yng ngeiriau Selyf: "Llawer o ymborth sydd ym maes y tlodion: ond y mae a ddinystrir o eisieu barn."

Ai am y cyfryw y dywedodd Voltaire?—

"Dedwydd a fyddent pe baent ddylluanod; caent heddwch i ymborthi ar eu llygod mewn ceubreni."

ATEB. Oni bai fod llinyn gwahaniaeth wedi ei dynu rhwng gwŷr cyfaddas (fel y geilw y gyfraith hwynt) a'r is-ddeiliaid, yn achos helwriaeth, byddai ychwaneg o dlodi yn y wlad. Er bod ehediaid yr awyr, gwylltfilod y maes, a physgod yr afonydd, yn ol deddf anian yn gyffredin i bawb; eto fe ennillai diwyd lafurwr fwy wrth ddilyn ei alwedigaeth, nag yn eu hymlid hwynt. Cymmaint ydyw awch rhai ynfydion i'r fath segur lafur, ag y treuliant eu hamser yn ymlid gwynt a gwyddau gwylltion (chwedl Gwion[1] Wag Siol), a'u traed trwy eu hesgidiau, a'u teulu gartref ym mron newynu o ddiffyg y bara a ddylent ei ennill trwy lafur eu breichiau.

GWRTH. Mi a welaf mai ofer ymryson â gof yn ei efail; pe bai cyfreithiau creulonaf y dwyreinfyd yn arferedig ym Mhrydain, ti a feiddit eu hamddiffyn gyda chymmaint o anweddeidd-dra ag i minnau haeru fod y gigfran loewddu yn golomen wen.

Pe dychymmygai y llywodraeth ryw ffordd i drethu rhysedd ac afradlonedd balchder a glothineb, yn lle goleuni dydd, ni byddai hyny ond gweithred o gyfiawnder dyledus. Gwrengyn llafurus yn gorfod talu chwe' swllt yn y flwyddyn am lewyrch yr haul trwy ddrws, corn mwg, neu ddrylliedig barwydydd ei fythdy; ffenestr, fe allai, ni fedd ar ei drigfan. O rhyfedd!

[1] Gwel Hanes Doctor y Bendro.—[*Cydymaith Dyddan*, t. 54, arg. 1824; *Brython*, ii. 183.]

na fedrasent ddyfalu rhyw enw arni heb law treth y *goleu;* treth ar un o fendithion Duw, y peth gwerthfawrocaf a rhyfeddaf yn anian, merch hynaf y crëedigaeth. Os credwn yr Ysgrythyrau, y mae yn ddiammheu mai ar law Duw y mae rhoddi ac attal, cynddelw, bywhâd a phrif arferiad ein golygon; ped ymwelai â'n teyrnas (yr hyn gweddïwn na wnel) â thywyllwch megys yr Aiphtiaidd, byddai raid diddymu y dreth: canys nid oes fodd trethu y peth nad ydyw mewn bod. Hon yw y dreth sydd â mwyaf o rwgnach yn ei herbyn o'r trethi oll; canys yr ydwyf yn coelio y byddai y wlad yn fwy boddlon i dalu treth am eu dannedd yn eu penau, nag am oleuni dydd: ac nid am oleuni dydd yn unig yr ydym yn gorfod talu, ond hefyd am oleuni canwyllau; nid oes ini felly yn awr, ond llewyrch ser a lleuad[1] yn ddidreth.

ATEB. Cwsg, enllib, bydd esmwyth, a gwybydd mai nid yn uniawngyrch ar oleuni dydd y rhoddwyd y dreth; ond dull i wastatäu pwys y deyrnged yn ol gallu y trethiedig; canys po amlaf y byddo ffenestri ar lysoedd boneddigion, mwyaf o dreth a ofynir: codiad y dreth sydd raddol yn ol rhifedi y ffenestri, fal hyn:—

| RHIF Y FFENESTRI. | CASGLIAD Y DRETH. P. | S. | C. |
|---|---|---|---|
| 6 ... ... ... ... ... | 0 | 6 | 0 |
| 12 ... ... ... ... | 1 | 15 | 0 |
| 18 ... ... ... ... ... | 3 | 15 | 0 |
| 24 ... ... ... ... | 6 | 4 | 0 |
| 30 ... ... ... ... ... | 7 | 13 | 0 |
| 40 ... ... ... ... | 11 | 13 | 0 |
| 180 ac uchod ... ... ... ... | 33 | 3 | 0[2] |

Mae y wladwriaeth yn llawn o gwynfanau diachos, ffuantus, tarddiadau anwybodaeth ac anystyriaeth; ac er mwyn tawelu y grwgnachus ddadwrdd, cymhwys

[1] Alluding to Sir Richard Hill's excellent speech in the House of Commons, on the augmentation of the window-tax, in the year 1784.

[2] Y dreth hon, yn gystal a phob treth arall, oddi eithr y dreth fawr, a chwanegwyd yn aruthrol gwedi y flwyddyn 1791. Gwaith difudd a fyddai dangos hyny ar glawr; o ran bod genym le i obeithio y gostyngir hwynt o un i un yn raddol, fel y bydd traul y llywodraeth yn caniatäu hyny. Yn wir, y mae swyddogion presennol Sior IV. yn haeddu parch ei ddeiliaid am a ddangosasant eisys o'u hewyllysgarwch i esmwythäu beichiau y wladwriaeth. 1824. [Y mae y dreth hon weithian wedi ei dilëu.]

a fyddai egluro ychydig ar ansawdd y trethi, a'r achos o honynt.

Y mae yn rhaid addef fod y cyllidau yn drymion iawn, rhai o honynt yn rhy anghytunol â thymmer gwlad rydd; ac yn cyrhaedd trwy Brydain Fawr, gan drethu tros ddeg a deugain o amrywiolion bethau masnach, heb law swrn rifedi o gyllidawg genadau.[1] Y rhai hyn yng nghyd yn y fl. 1765 a rifwyd yn saith myrddiwn, saith gant a deg a deugain o filoedd o bunnau; ac hwy a elwir trethi gwastadol neu barhäus. Ac yn ychwaneg o drethi blynyddawl, sef y dreth fawr, a threth y brag, dau fyrddiwn, dau gant a deg a deugain o filoedd. Y rhai hyn yng nghyd, heb law traul y cynnulliad, oeddynt ddeng myrddiwn, neu gan mil ganwaith drosodd. Ond y mae y deyrnas yn awr yn talu hyn, ac yn rhagor i wyth myrddiwn arall bob blwyddyn, heb law degymau, trethi swyddol a phlwyfol. Haerwyd mewn hortaidd enllib[2] eu bod yn y fl. 1775, yng nghyd â thraul eu cynnulliad, yng nghylch pymtheg myrddiwn; a bod hyny cymmaint a holl arian bathol y deyrnas, pe rhwystrid y papyrol gymmeriad.[3] Y mae rhai o'r cyffredin bobl mor anwybodus a meddwl mai awdurdod y brenin ydyw codiad y trethoedd; a thrachefn eu treulio fal y gwelo yn oreu. Gwir yw, fod yr awdurdod hòno gan amryw freninoedd, fal y mae gwaethaf i'r deiliaid; ond tynwyd yr awdurdod oddi wrth frenin Lloegr er y fl. 1297. A gwybydded yr anwybodus, nad oes awdurdod i drethu deiliaid Lloegr heb ganiatâd y Senedd, a elwir Dadleudy y Breyron, a Dadleudy y Cyffredin. Y mae aelodau Dadleudy y Cyffredin i gytuno â'u gilydd yn gyntaf, ai ydyw y trethiad yn deg ac angenrheidiol anhebgorol. Os cytunant, fe anfonir eu bwriad sefydlog i Dy yr Arglwyddi, ac wedi hyny i'r brenin. Deallwn wrth hyn fod yn angenrheidiol i ddeu-dy y Senedd, a'r brenin, fod o'r

[1] Licenses.
[2] See Dr. Price on the American War.
[3] Paper currency.

un feddwl cyn y gellir mynu treth oddi ar un deiliad. Deallwn hefyd mai yng ngallu y dadlyddion cyffredin y mae yr awdurdod mwyaf i drethu; canys hwy allant wrthod y cwyn gan gynted ag y dygir iddynt, ac yno ni byddai gan arglwyddi na brenin fwy o awdurdod na'r bobl gyffredin.

GWRTH. Pwy ydyw aelodau y Dadleudy Cyffredin, sydd â'r gallu hyn o drethu y deyrnas yn eu meddiant?

ATEB. Dynion a etholwyd gan wŷr eu perthynasol wledydd i gynnrychioli drostynt yn y Senedd, i ddadlu yn eu plaid, ac i edrych am farn a chyfiawnder i'r deyrnas yn gyffredinol. Y mae gan bob gwr rhydd, pob un o berchen dwy bunt yn y flwyddyn o dir, hawl i ddewis y cynnrychiolwr; ac y mae felly hawl ym mhob plwyf, oes ym mhob tref ddegwm, i ddewis gwr call, cydnabyddus â chyflwr ei wlad, i ddadlu yn ei phlaid, a phe bai modd, i ostwng y trethi. Bellach y mae yn eglur mai y wladwriaeth sydd yn ei threthu ei hun, ac nad ydyw y cyllidau yn orthrymder, ond ewyllysgar roddion, trwy gydsyniad y wladwriaeth yn eu perthynol gynnrychiolwyr.

Nid wyf fi eto wedi boddloni meddwl y tuchanwr, sydd yn sibrwd anfoddlonrwydd, eisieu iddo gael gwybod i ba le y mae y deunaw myrddiwn trethi yn myned bob blwyddyn; rhag ei fod yn talu chwe' swllt neu saith heb achos am danynt. Yr ydwyf yn barod i roddi i'r cyfryw bob boddlonrwydd yn fy ngallu, tuag at ei ddwyn i wybodaeth o'i Ryddid.

Yr achos cyntaf, a'r mwyaf hefyd, ydyw o herwydd bod cymmaint o ddyled ar lywodraeth y deyrnas; y mae yr holl drethi parhäus wedi eu gwystlo gan y Senedd; ac yn fynych y mae y penswyddogion yn gorfod llogi arian, i aros y trethi i'r trysordy. Y teyrnasol ddyled a gafodd ei dechreuad yn nheyrnasiad Harri VI, 1430, ond hwnw a dalwyd yn ol; a'r ddyled bresennol a gafodd ei chychwynfa yn nheyrnasiad Gwilym III, 1689. Dealler fod Iago II, y brenin rhagflaenol, wedi ymado â'r goron; ac o herwydd ei fod yn goledd-

wr Pabyddiaeth, deffroawdd y deyrnas i ofalu am ddiogelwch ei Rhyddid, trwy wahodd Gwilym III. (y pryd hyny Tywysog *Orange*, ac a oedd briod â chwaer y Frenines Ann),[1] i gymmeryd meddiannau o'r deyrnas weddw. Traul ei sicrhâd yn y llywodraeth, a chostau hir ryfeloedd yn amddiffyn yr Holandiaid, ac er lleihau arglwyddiaeth Ffrainc, a chynnal Rhyddid ardaloedd neillduol yr Ellmyn, a redodd i rif anghyffredinol: a rhag y buasai treth ry drom yn peri cythryfwl ym mhlith y deiliaid, meddyliodd y teyrnasol oruchwylwyr yn gall am fenthycio arian i dalu y costau, a chodi dim mwy o dreth ar y deiliaid nag a wasanaethai i dalu llog blynyddol yr arian a fenthyciwyd.

| | O BUNNAU. |
|---|---|
| Ac felly y ddyled gyntaf, yn y fl. 1697, oedd ... ... ... | 5,000,000 |
| Yn y flwyddyn 1717, chwanegwyd i ... ... ... ... | 46,603,100 |
| Yn „ 1747 „ i ... ... ... ... | 64,593,797 |
| Yn „ 1757 „ i ... ... ... ... | 74,780,886 |
| Yn „ 1762 „ i ... ... ... ... | 110,603,836 |
| Yn „ 1772 „ i ... ... ... ... | 127,497,619 |
| Ym Mehefin, 1777 yn agos i ... ... ... ... | 136,000,000 |
| Yn Ionawr 5, 1783 „ i ... ... ... ... | 247,320,921 |
| Blynyddawl log pa un oedd yn rhagor i wyth myrddiwn, un cant a deg a deugain o filoedd, dau gant a naw a thri ugain o bunnau ... ... ... ... ... ... ... ... | 8,150,269 |

Erbyn y rhoddir at hyny aneirif gostau tylwyth y brenin, a mawr rif ei hiliogaeth, a chynnal yr anrhydedd a'r urddas sydd ddyledus i goron Prydain, cyflogau yr uchel swyddogion, milwyr a morwyr, ac amryw bethau treulfawr, nad oes achos i mi wybod yn fanwl am danynt, geill un cibddall ganfod fod o gylchedd deunaw myrddiwn trethi yn fynych ar y lleiaf.

Y mae trethiad cymmedrol yn magu diwydrwydd ac ymroad i lafurwaith yn y deiliaid; ac os dodir y trethi ar offerynau balchder a gormodedd, y mae yn aneirif les i'r wladwriaeth: canys pe byddai cwrw a'r Indiaidd fyglys[2] yn ddidreth, byddai tlodi a drygioni wedi llwyr ddinystrio y rhan fwyaf o'r gwerinos.

[1] Yr oedd Ann yn chwaer i Mair, brenines Gwilym III; a'r ddwy yn ferched i Iago II.

[2] Tobacco.

Goreu pa ddrutaf a phellaf o gyrhaedd dynion y byddo pethau niweidiol iddynt, heb fod yn angenrheidiol yn ymborth nac yn wisgiad.

Lle byddo gwlad yn llawn o drigolion diwyd, llafurus, tra dyfal ym mhob masnach, nid ydyw trethi ond beichiau hawdd eu dwyn; fal y tystia Athens, Tyrus, ac ereill leoedd gynt, ac yn bresennol Genoa, Venis, a Holand; er nad ydyw y gwledydd yn eang nac yn ffrwythlon iawn, a'u trethi yn drymion ryfeddol, eto y maent (yn enwedig Holand) yn gyfoethogion. Er bod trethi Lloegr yn chwanegu bob blwyddyn, er hyny mae ei thrigolion a'i masnach yn cynnyddu beunydd. Tystiolaeth hynod o hyny ydyw sydyn eangiad ei dinasoedd a'i threfydd. Rhyfeddwn y fath borthladd enwog ydyw Lerpwl,[1] dywedir ei bod yn cynnwys yng nghylch 80,000 o drigolion, ac nid oes nemawr o flynyddoedd er pan ydoedd ond treflan berthynol i blwyf arall, a'i henw fe allai Lle'rpwll! ond yn awr, pwy ond Llynlleifiad yw chwaer henaf Llundain?

Ni a ddylem ymostwng ac ufuddhau i gyfreithiau ein gwlad, ym mhob achosion na fyddo yn perthynu i'n cydwybodau; canys ni a welwn na ddarfu i'n Hiachawdwr, yr hwn oedd reolwr nef a daiar, ddirmygu talu treth. Ped ystyriem yr aneirif draul aeth i gynnal y rhyfel yn America—talu cyflogau i filwyr o'r Ellmyn;[2]—ymborth, dillad, a milwraidd armerth, a'u cludo cynnifer o filoedd o filltiroedd hyd y cefnfor;—a gwrthsefyll galluoedd Ffrainc, Yspaen, Holand, a thair talaeth ar ddeg y gwrthryfelwyr (a phe ysgrifenwn yn null y *Bardd Cwsg*, mi a chwanegwn atynt Rufain ac Uffern) am naw mlynedd ganlynol; yna diolchem i Dduw am ein gwaredu o ddwylaw cynnifer o elynion, a chadw ini yn ddifriw ein Rhyddid, ond yn unig dalu ychydig yn rhagor o dreth; a chydnabyddwn ein hunain yn ddedwydd, fod ini frenin i'w ofni o ran ei awdurdod,

[1] Liverpool.
[2] Hessians in the British pay, during the American war.

ac i'w garu o ran ei ddaioni a'i addfwynder. Heb frenin ni byddai iawn drefn ar lywodraeth, ac heb lywodraeth ni byddai Ryddid.

Cyrus frenin Persia, er mwyn tueddu serchiadau ei ddeiliaid i hoffi llywodraeth, a wnaeth ddeddf sefydlog, bod anllywodraeth[1] i fod mewn rhwysg am bythefnos yn ol marwolaeth un brenin yn Persia, cyn dechreuad rheolaeth y nesaf; ac yr oedd y deiliaid yn flinach o'r bythefnos hòno na deng mlynedd tan achles llywodraeth gyfreithiol: canys yn yr amser hyny o anllywodraeth, nid oedd ond y trechaf treisied, heb na chosp na chamlwrw;[2] y grymusaf o nerth oedd y boneddicaf yn ei feddwl.

Nid ydyw Prydain eto wedi llwyr anghofio y ddeuddeg mlynedd dan lywodraeth Cromwel a'i annhebygol fab. Dedwyddach yn ei feddwl a ddylai pob Brytwn fod i dalu ei gyfreithlon gyfran o'r deunaw myrddiwn trethi, gan ei fod dan nawdd ac achles y gyfraith yn gyfranol o'r cyffredin Ryddid, na bod yn ddidreth (yr hyn a gyfrifai carl yn Ryddid fwyaf oll), ac yn ddarostyngedig i golli ei holl eiddo hanner y dydd, a chael ei ddanfon at ei dadau cyn ymachludd haul. Ac ystyriwn, os ydym ni yn yr oes bresennol yn talu llogau dyled ein cyndeidiau, sef deiliaid a chydoeswyr Gwilym III, hwy adawsant ini yn yr oes hòno, ac y mae yn parhau eto, ddifai daledigaeth, a mwy nag a dâl trethi yr holl fyd; sef Rhyddid grefyddol: a gwerthfawrogrwydd y fraint a egluraf yn y ran ganlynol.

[1] Anarchy. [2] Forfeit.

## Y BUMMED RAN.

### RHYDDID GREFYDDOL.

**Ei darluniad—Mewn eithaf caniatâd ym Mhrydain—Erlidigaethau, eu hanes o'r cynfyd—Ofergoelion Eglwys Rhufain—Ei chreulonder yn y chwil-lysoedd—Dechreuad Rhyddid grefyddol ym Mhrydain—Ei chynnyddiad—Anweddeiddrwydd amryw o'r rhai sydd yn ei mwynhau—Caethiwed Cristianogion yn ardaloedd y Twrciaid—Cwynfan o ran lleied nifer y Cristianogion yn y byd.**

Y MAE Rhyddid wladwriaethol yn diogelu ini ein hoedlau a'n meddiannau yn ddidrais, oddi wrth ormesol fwriadau gelynion, a chynhenus derfysgwyr: ond y mae Rhyddid grefyddol yn caniatäu ini y rhagorfraint o addoli, clodfori, a gwasanaethu ein Duw yn gyhoedd, ac yn ol y ddull a'r modd y mae ein cydwybodau yn peri ini gredu sydd fwyaf derbyniol ger bron gorseddfainc ei drugaredd Ef.

Nid ydyw yr anllythyrenog, yn yr oes hon, deimladwy o fendithion Rhyddid grefyddol; canys hwynthwy a anwyd ac a ddygwyd i fyny tan achles ei chysgodiad, heb i wres erlidigaeth, na rhuthrwynt cymhelliad erioed gyfhwrdd â thynerwch eu cydwybodau; heb erioed ddarllen hanesion caethder y prif oesoedd, na thrueni trigolion gwledydd pellenig yr awr hon. I'r cyfryw y rhoddaf yr eglurhâd canlynol o gaethiwed yr eglwys mewn ardaloedd tramor, a'r gorthrymder yr aeth hi tanodd yma ym Mhrydain, a'r rhyfeddol a'r llesol ollyngdod a gafodd yn nheyrnasiad Gwilym III. Yna fe a wel y gwrthnysig, i ddyled y deyrnas yn y dyddiau hyny brynu ini etifeddiaeth deg, un o werthfawrogrwydd annhraethol. Ni ddylem rwgnach ymadael â llygraidd Fammon yn gyfnewid am gynneddfau nefol Seraph.

Satan oedd yr erlidiwr cyntaf; Cain oedd yr ail, a genfigenodd wrth burach grefydd ei frawd Abel. Wedi hyny, Eglwys Dduw ym mhlith plant Israel a

erlidiwyd yn greulon gan yr Aiphtiaid, Philistiaid, Ammoniaid, Arabiaid, ac Assyriaid; y Macabeaid gan Antiochus Epiphanes: a phan ddaeth Crist i ollwng ei Eglwys oddi dan gaethiwed y gyfraith Iuddewig, i Ryddid a goleuni Efengyl tangnefedd, erlidiwyd Ef a'i ddysgyblion sanctaidd i farwolaeth. Yr Iuddewon oeddynt flaenoriaid yn y galanasdra, a'r cenedlig Baganiaid a chwanegasant echryslondeb y gyflafan;[1] y rhai hyn a ferthyrasant eu miloedd, a'r Mahometaniaid eu myrddiynau! Ac yn ddiweddaf daeth Babilon fawr, mam-butain y ddaiar, i feddwi ar waed y saint; gan deyrnasu ar freninoedd, pobloedd, cenedloedd, ac ieithoedd y ddaiar. Cymmerasant eu tywyso ganddi, trueiniaid oeddynt, deillion heb weled, annoethion heb ystyried ei bod yn eu harwain i ddistryw. Difuddiwyd hwynt o'u synwyrau, pan goelient gynnifer o wrachïaidd draddodiadau celwyddog, cywilyddus, gwatworedig braidd gan blant sugno.

*Heretic* oedd pob un na choeliai, yn gyntaf, fod y Pab yn weinidog i Grist, yn ddilynwr St. Pedr, yn ben ar holl Eglwysi Cred;[2] ac ym mhellach na hyny, yn anghyfeiliornadwy yn ei farn, bydded ei ymarweddiad mor ddyhir ag y mynai; er y darllenwn ddarfod i'r Pab Sicstus IV. adeiladu puteindy yn Rhufain yn y fl. 1471; ac i chwanegu cybydd-dod at ei drachwant, fe roddes wythnosawl dreth ar y budrogod; pa un a fyddai ambell flwyddyn yn ugain mil o ddarnau arian[3] i'w god sanctaidd.

Os oedd hwn, mwy nag amryw o'i alwedigaeth, yn deilwng o'i enwi yn oruchwyliwr dan Grist ar yr holl fyd Cristianogol, yna nid yw yr holl Ysgrythyrau ond dychymmyg a breuddwyd. Dygwyddodd bod ymddyddan rhwng Dr. Burnet a Christiana, brenines Sweden, yn Rhufain, yng nghylch annuwiol fucheddau

[1] The ten general persecutions of the Christians under Nero, Domitian, Trajan, Adrian, Severus, Maximinius, Decius, Valerian, Aurelian, and Diocletian, emperors of Rome.
[2] Christendom.
[3] Ducats—*4s. 6d.*

y pabau; a rheswm y frenines oedd, "ei fod yn arwydd sicr fod Crist yn cymmeryd arno ei hun oruchwyliaeth ei Eglwys yn y byd isod hwn; onid e ni buasai Fe byth yn dyoddef i'r fath annuwolion fod yn enw swyddogion tano ef."

Yn ail, credent fod yr elfenau cyssegredig yn y Sacrafen, yn wir gorff a gwaed ein Prynwr; ac er eu bod mewn dull, yn addoli y bara a'r gwin megys Duwdod, er hyny darfu i un o'r monachod am ei gyflog wenwyno yr Ymherawdr Harri VII, wrth roddi ei gymmun iddo.

Yn drydydd, bod lle o boenau, a alwent y Purdan, ym mha fan y byddai eneidiau y rhai na ollyngwyd o'u pechodau trwy edifeirwch, penyd, a phererindod, yn y byd hwn; nes y cafai yr offeiriadau a'r monachod, trwy effaith eu gweddïau, eu rhyddhau o Baradwys yr Ynfydion:[1] a pha fwyaf o arian a gafai yr offeiriadau gan gyfnesaf y claddedig, am weddïo at Fair Wyryf a'r Seintiau am ei ollyngdod, cyntaf oll y gwnai St. Pedr droi yr agoriad ym mhorth Paradwys, i'w ollwng i mewn o'i dân puredigaeth.[2] Y mae y traddodiad hwn heb lwyr ymadael o Gymru hyd y dydd heddyw; canys gwaddod cyfeiliornad Eglwys Rufain ydyw yr offrwm wrth gladdu; ac hefyd yr arfer mewn rhai monwentydd o benlinio wrth fedd y marw pan ddêl ei gyfneseifiaid i'r Llan, dros amrai Suliau wedi ei gladdu.

Yn bedwerydd, un o brif golofnau Eglwys Rufain ydoedd Anwybodaeth; canys hwy a'i galwent yn fam duwioldeb; ni weddïent at y llu,[3] ac ni ddarllenent yr offeren, ond yn Lladin. I'r cyffredin bobl yr oedd Gair Duw, yr Efengyl sànctaidd, yn llyfr seliedig. Cymmaint oedd dichell yr offeiriadau pabaidd, i gadw

[1] "Into a limbo large, and broad, since called
The Paradise of Fools."

MILTON.

[2] St. Austin, bishop of Hippo, was so superstitious as to pray for the soul of his mother Monica, many years after her death. This is very inconsistent with his notion of election, as he is called the father of predestinarians.

[3] *Llu*, host [yn hytrach *arlladen*].

y bobl mewn anwybodaeth, fal ag y mae awdur[1] godidog yn tystio, nad oedd mewn amryw wledydd yn Ewrop, yn y saith ganfed o oed Crist, ond nifer fechan ym medru darllen.

Cyhuddwyd un Dillon, gwr boneddig o Ffrainc, pan ydoedd ar ei ymdaith drwy India, o fod yn gwrthddadlu dull Eglwys Rufain yn bedyddio; am ba achos fe'i carcharwyd yn ebrwydd yn y chwil-lys[2] pabaidd oedd yn Goa. A chwedi bod cyhyd mewn cadwynau, hyd onid oedd yn rhy wan i sefyll ger bron swyddog y chwil-lys, yr hwn oedd wr dysgedig ym marn ei greulon frodyr; gofynodd y barnwr iddo pa beth oedd ganddo i ddywedyd am fedydd? "Nid oes genyf," ebr Dillon, "ond geiriau Crist yn Efengyl Ioan,—'Oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw.'" Ni choeliai y barnwr fod y cyfryw eiriau yn yr Efengyl, hyd oni agorodd y carcharor y llyfr iddo lle'r oeddynt.[3] Yn ol hyny gyrwyd Dillon yn ol i'r carchar; hyn a barodd iddo ddigaloni cymmaint, ag y ceisiodd newynu ei hun trwy wrthod lluniaeth; yr hyn pan wybu swyddogion y chwil-lys, gorchymmynasant ei ffrewyllu yn greulon, a rhwymo ei ddwylaw o'r tu cefn iddo â chadwynau. Hyn a ddigalonodd y truan garcharor gan belled, ag y ceisiodd amryw weithiau daro ei fenydd ei hun allan yng nghyd â'r mur. Ysgrifenais yr hanes yma, gan ei fod yn ddrych hynod o anghyfarwyddyd ac anwybodaeth yr uchel swyddog, oedd cyfuwch ei alwedigaeth, a mwy ei rwysg nag un esgob yn ein dyddiau ni. Fe grogwyd Tindal, Sais, am gyfieithu yr Ysgrythyrau i'r iaith gyffredin, yn y fl. 1536. Un Iuliano, o Yspaen, a brynodd rifedi mawr o Feiblau yng ngwlad yr Ellmyn, wedi eu cyfieithu o'r Lladin, ac a aeth â hwynt yn ddirgel i'w wlad ei hun, i'w rhanu rhwng ei gydnabyddiaeth, a oeddynt yn chwennych ymborthi eu heneidiau â melus ffrwythau yr Efengyl; ac am y

[1] Dr. Hurd.
[2] Inquisition.
[3] *Ioan*, iii. 5.

bwriad duwiol hwnw, fe a losgwyd, â'i Feiblau wedi eu rhwymo yng nghylch ei wddf: ac wyth gant o'r prynwyr a ferthyrwyd yn y moddion creulonaf.

Ni ddown y rhawg i ben â rhifo ofergoelion y gau grefydd hon, yn addoliad y delwau, creiriau,[1] ymgroesi, y gloch ymadawiad, ymprydio yn y Garawys, cadw dyddiau gwylion, annyweddïaeth y gwŷr llên,[2] pererindod, dwyn penyd, dwfr sanctaidd, ac amryw draddodiadau, sydd yn gofyn un â gwell cof na myfi i'w rhifo. Y sawl a chwennycho eu cyflawn hanes, darllened waith y Dysgawdr Hurd; lle mae helaeth ac eglur hanes o holl grefyddau y byd.

Yr offeiriaid pabaidd, i chwanegu eu cableddus ryfyg, drwy sylfaenu eu mympwy ar *Ioan*, xx. 23 adnod, "Pwy bynag y maddeuoch eu pechodau, maddeuir iddynt;" a gymmerasant yr awdurdod i wrando cyfaddefiad y sawl a fyddai mor ynfyd ag adrodd ei wendidau wrthynt, gan ddysgwyl cael gollyngdod a maddeuant am danynt, heb unwaith feddwl am Dduw â chalon edifeiriol. Iro llaw yr offeiriad penfoel, a myned taith tridiau i Ffynnon Gwenfrewi,[3] neu ryw le sanctaidd arall, a phys gwynion mewn esgidiau, a fyddai ddigonol o aberth am bechod, ar yr allor babaidd. Dyma grefydd ein hynafiaid; O dywyllwch anwybodaeth! yr oedd tywyllwch yr Aipht yn llwyd oleuni wrth hwn.

Amlwg yw, nad oeddynt yn rhoddi hyder ar yr unig Gyfryngwr rhwng cyfiawnder nef a phechaduriaid. Nid oeddynt un amser yn cyfarwyddo eu gweddïau at Brynwr y byd, pan fyddai clefyd neu ryw gaethiwed yn eu gorthrymu. At rai o'r seintiau y byddai holl bwys eu herfyniad. Ac nid oedd fodd iddynt wybod, pa un ai yng ngwynfydedigrwydd y

[1] Relics, which are held in such veneration by Roman Catholics, that a certain monk sold a rotten bone to the
for crowns; he positively declaring it to be the skull of St. Thomas the Apostle.

[2] Celibacy of the Romish clergy.

[3] Winifred's Well [near Holywell] in Flintshire.

ffyddloniaid, ai ym mhlith y gwylofain tragywyddol yr oedd yr enaid erfyniedig, sef y sant y gweddïent ato. Deliwch sylw ar y geiriau canlynol, o gwynfan bardd at Sant Cynhafal, am gael adferiad nerth ei aelod; nid oes air o grybwyll Duw trwy y Cywydd.

"Dy genad wna gnawd yn iach,
Cynhafal! cwyna'i 'n hyfach;
Dod ddau bwnc, dedwydd eu bod,
Erch imi ddwy arch-ammod;
Iechyd im' rhag nych, waew dwys,
A'm rhoi wedi ym mharadwys."

GR. AB IEU. AB LL. FYCHAN, 1500.

Cyffes beirdd at Fair Wyryf:—

"Yn foreu dwedaf fawr-air,
Ac yn f' oes, blygain i Fair;
*Ave Maria* o Röeg,
Ac o rad Duw geiriau teg.
Mi a luniaf, mau lawn-waith,
Gywyddau neu salmau saith;
A naw emyn o newydd,
A phob gair i Fair a fydd:
A gosper, pan fyner fod,
Llaswyr, rhag y lle isod:
Gofyn a gweddi gyfarch
Weithian, rhag purdan yw'n parch;
Clyw fy modd, am y clwyf mau,
Mair Wyrf am ofer eiriau;
O! dwg fi, er dy deg fam
Syberw, i fynwes Abram."

LLAWDDEN.

"Ni ddywed neb ar ddeu-air,
Aruthr y modd, wyrthiau Mair;
Gwae fi na fedrais, gwiw fu,
Saith ugeinwaith ei ganu:
A'u canu yn amcanawl,
A phob gair i Fair yn fawl.
Mair anwyl yw'r gair ini,
Os Mair yn unair â ni.
Mair Wyryf wna'r mawr eiriol,
Hon ni ad y ni yn ol.
Mair a'n tyn o'r mieri,
Ac wedi hyn, gyda hi,
Cawn wynfyd gan y Wen-Fair,
Cawn nef oll; canwn i Fair."

TUDUR ALED.

Llyma ddarn o gyffes bardd, er ei fod yn un o'r grefydd babaidd, mae er hyny yn gweddïo at ei Brynwr, fal hyn:—

"Dros oesoedd, dy ras, Iesu,
Er dy loes fawr, da les fu;
Er hoff eirian'r offeren,
Clyw air a choel cleiriach hen;
O bu'n ammhorth boen imi,
Wedi'r boen fawr, derbyn fi."

EDWARD RALPH.[1]

Yn y fl. 1190, dygwyddodd fod Pab mwy dichellgar nag un fu o'i flaen yn eistedd ar y bwystfil â saith ben;[2] canys gan nad oedd ceiniogau Pedr, ac elw monachlogaidd drwy holl deyrnasoedd Cred, yn llenwi ei drysorau mor fuan ag y dymunai; fe a ddychymmygodd y byddai hoff gan lawer o bobl oedranus gael sicrwydd oddi dan ei law sanctaidd ef ar femrwn, fod eu pechodau yn faddeuedig o ddydd eu ganedigaeth hyd yr awr hòno, ac am yr amser a fynent i ddyfod; canys yr oedd gwagle wedi ei adael yn y memrwn i osod rhifedi y blynyddoedd yn gyfatebol i arian y prynedigaeth.

Fe chwalodd y Pab hwnw ei fonachod megys locustiaid tros wyneb yr holl ddaiar, i werthu paradwys newydd, ddychymmygol, i'r trueiniaid anwybodus hyny a oeddynt yn credu fod teyrnas nefoedd wedi disgyn atynt, a'i bod i'w meddiannu er elw bydol. Daeth mwy o'r goddefiadau[3] hyny (fal y gelwid y tocynau maddeuant) i Loegr ar ryw dymmor nag oedd chwant y wlad i'w marchnata; a chafwyd amryw o honynt mewn cilfach yn Eglwys Sarum yn ddiweddar; a dyma eu dull:—

"Mae ein sanctaidd dad St. Pedr, esgob cyntaf Rhufain, a deg ar hugain o esgobion ereill, ei ddilynwyr yn Eglwys Rufain, a'n sanctaidd dad, Bab Ioan XXII, yn caniatäu i bawb a ddifrifol draetho y weddi hon * * * * * * ger bron delw ein harglwyddes, ollyngdod a maddeuant o'u pechodau am * * * * * o flynyddoedd."

[1] An old soldier that was present at the siege of St. Quintin, 1557.
[2] *Dad.* xiii. 1.
[3] Indulgences.

"Ffei greiriau seintiau, ffei serth—addoliad
I ddelwau mud anferth;
Ffei o'r Pab a'i wael aberth,
Burdan gwan, a'i bardwn gwerth."

Ond er tywyllwch yr oesoedd gynt, a chreulonder yr holl erlidigaethau, ni lwyr ddadwreiddiwyd efengylaidd burdeb; ni bu y ddaiar heb Eglwys Dduw yn preswylio arni, er pan bregethwyd yr Efengyl gyntaf yn Eden hyd y dydd heddyw; ac ni bydd, hyd oni adfeilio anian, ac y tawdd y defnyddiau, ac y try daiarol filwriaeth yn nefol orfoledd. Ym mhen dwy oes neu dair wedi dyddiau yr Apostolion, cyfyngwyd Eglwys Dduw i ychydig nifer o deuluoedd, a'r rhai hyny yn wasgaredig hyd wyneb y ddaiar, yn ffoi o ŵydd un erlidiwr i gyfarfod creulonder un arall. Un o'r hynotaf o'r rhai nad allodd pyrth uffern wrthsefyll, a seren ddydd y Diwygiad yn Lloegr, oedd Ioan Wicliff, offeiriad pabaidd yn nechreu ei oes; ond efe oleuwyd i ganfod cyfeiliornad Eglwys Rufain, ac a gyfieithodd ran o'r Ysgrythyr Lân i'r Seisoneg, ac a bregethodd yn gyhoedd yn erbyn Pabyddiaeth yn y fl. 1377. Efe ymadawodd yn foddlonus â'i offeiriadol fywoliaeth, er mwyn Rhyddid cydwybod. Cafodd ei erlid gan yr esgobion, ond nid oedd ganddynt awdurdod ar ei einioes; bu farw o angeu anianol yn y fl. 1385; ac ym mhen deg mlynedd ar hugain,[1] trwy orchymmyn Cymmanfa Constans, cyfodwyd ei esgyrn o'r bedd, a hwy a losgwyd, am ei fod yn heretic, a bwriasant y lludw i'r afon.

Yn y fl. 1516, y cyfododd Duw Martin Luther i gyhoedd wrthwynebu y grefydd babaidd, a'r gwaradwyddus ryfyg o werthu maddeuant. Pa fwyaf oedd dichellion Rhufain yn ei erbyn, mwyaf yr oedd ei athrawiaeth yntau yn llwyddo; ac felly yr aeth yn ddiareb, "Un Luther yn erbyn yr holl fyd."

[1] Southwell, in his Book of Martyrs, has it 40 years, and Trusler also; but since he died, 1385, and the Council of Constance was held 1415, it cannot be above 30 years. And the judicious Rapin says, "His ashes were thrown into the brook which runs through the town of Lutterworth, the brook conveyed the ashes to the Severn, and the Severn to the sea."

Phylip Melancthon a Ioan Calvin hefyd a fuont yn offerynau llesol yn llaw Rhagluniaeth i daenu athrawiaeth y Diwygiad yng ngwledydd yr Ellmyn, Ffrainc, Lloegr, a'r Pwyl.

Pabaidd greulonder oedd yn sychedu am waed y saint. Ond er merthyru miloedd, ni ddigalonodd y diwyd bregethwyr; yr oedd Eglwys Dduw yn cynnyddu mewn erlidigaeth.

Yn y fl. 1260 y dychymmygwyd carcharau creulon mewn amryw wledydd, yn enwedig yn Rhufain, Yspaen, a Phortugal, a elwid Llysoedd y Chwiliad[1] neu'r Ymholiad. Pan daenodd athrawiaeth y Diwygiad, ac y llewyrchodd goleuni yr Efengyl hyd y gwledydd hyny, drwy bregethiad dilynwyr Luther ac ereill, hen elyn y saint a gyffrôdd Babyddiaeth i wneuthur galanasdra yn eu plith, drwy eu carcharu yn y llysoedd rhagddywededig. Gosodwyd swyddogion ffyrnig ynddynt, ac arteithwyr i boeni y carcharorion a ddygid yno am eu crefydd. Os unwaith y cyhuddid (trwy ddichell neu genfigen) fod dyn yn anghredu un o erthyglau y grefydd babaidd, neu yn dywedyd y gair lleiaf o ogan am y Pab neu ei swyddogion, fe a ddygid yn rhwym i'r llys yn ebrwydd, cymmerent ei eiddo, a throent ei wraig a'i blant (os meddai rai) i newynu, os na fedrent amddiffyn eu hunain ryw ffordd am fywioliaeth. Ac o ran dynwared cyfiawnder, fe gai y carcharor ei holi, ond mwy o ran ei watwor na dim ewyllys i'w ryddhau; fe gafai hefyd gynghor, yr hwn ni feiddiai lefaru hanner gair yn ei blaid, ond gwrando y prif-holwr, ac ateb fod y cyfan a ddywedai yn iawn; onid efe gafai ei farnu yn euog o drosedd yn erbyn y Pab a goruchel arglwyddi y chwil-lys, a'i gyhuddo megys heretic.

Os haerai carcharor ei fod yn ddieuog, ger bron eu brawdle anghyfiawn, ef a fwrid i'w boeni am ei wad, gan ei gyhuddo o gyndynrwydd. Ambell un ar ol dywedyd felly yr holiad cyntaf, a chael ei arteithio yn

[1] Courts of Inquisition.

chwerw-dost, meddyliai fod yn gyfrwys gan newid ei gwyn yr ail holiad, a dywedyd ei fod yn euog; hwythau a'i barnent yn ol ei gyfaddefiad ei hun. Dienyddu dyn ar unwaith a fyddai ormod o dynerwch ganddynt; a chynnifer ydyw'r amrywiol arteithiau y maent i'w harfer i gospi y truenus ddyoddefwyr, nad oes fodd i ddarlunio pa'r un sydd greulonaf.

Rhoddais hanes M. Dillon yn Chwil-lys Goa, o'r blaen, i amlygu doniau y prif-holwr, swydd yr hwn oedd barnu Cristianogion yn ol yr Efengyl, ac yntau yn anghydnabyddus â'r ymadrodd hynotaf trwy holl ddalenau y nefol newyddion hyny. Tri ugain math o arteithiau a ddyoddefodd un Lithgow o Isgoed Celyddon,[1] yn Chwil-lys Malaga, yn yr Yspaen, tan ddwylaw y cigyddion echryslon, y naill ofid yn dilyn y llall yn ddibaid dros bum awr o amser ar yr ermig boeni;[2] o'r diwedd, cafodd ei hoedl i ddyfod i Loegr, ond byth ni chafodd gynnefin ffrwyth ei aelodau.

Yn y fl. 1707, y cafodd Chwil-lys Arragon, yn yr Yspaen, ei agoryd gan M. de Legal, cadben byddin y Ffrancod, a gollyngwyd yn rhyddion bedwar cant o garcharorion; ym mhlith pa rai yr oedd tri ugain o lancesi, o bedair ar ddeg i ddeg mlwydd ar hugain oedran, glân ar olwg a boneddigaidd waedoliaeth, a gymmerwyd trwy drais oddi ar eu rhieni neu eu gwarcheidwadaeth, i fod yn buteiniaid i'r tri phrif swyddogion. Canys pwy a feiddiai wrthsefyll y fath sanctaidd awdurdod ag yr oeddynt hwy yn holi! Ioan IV, brenin Portugal, oedd wr tyner ei ymarweddiad, ac ar ryw odfa, fe annogodd swyddogion y Chwil-lys i edfryd eiddo y carcharorion a gymmerasent trwy drais, yn ol i'w cyfneseifiaid. Hyn oedd anewyllysgar iawn ganthynt wneuthur, er hyny ni feiddient wrthsefyll ei freninol awdurdod; ac ni chawsant le i ddial arno hyd oni chladdwyd ef, pan ddarllenasant lith ysgymmundod wrth ben ei fedd ef, am iddo ddangos

[1] Scotland.
[2] A rack.

tosturi i hereticiaid; ac ni weddïasant byth o ewyllys eu calonau am waredigaeth ei enaid o'r purdan.

Ni ddichon iaith gynnwys ymadrodd i ddadgan creulonder y llysoedd hyn; ni feiddia y truenus garcharor ddolefain salm neu emyn gwynfanus i ddadlwytho ei feddwl o'r blinder sydd ym mron â'i lethu; na phrin ollwng yr uchenaid riddfanus y mae gofid yn dueddol i anfon o fynwes orthrymedig.

Y mae ganddynt ddyddiau gosodedig a elwir Gweithredoedd y Ffydd,[1] i roddi i farwolaeth gynnifer o'r carcharorion a fyddo mor ddedwydd a chael eu rhyddhau o'u crafangau. Y sawl, trwy fygythion ac arteithiau, oeddynt foddlon i farw yng nghymmundeb Eglwys Rufain, a gaent y gymmwynas o gael eu llindagu yn gyntaf, ac yn ol hyny eu llosgi yn lludw. Ond y rhai a safai yn wrol yn eu proffes hyd y diwedd, a gaent eu cadwyno wrth byst pedair troedfedd o uchder, a chwedi i'r offeiriadau eu ceryddu am eu gwrthnysig barhâd yn hereticiaid, hwy a'u rhoddent i fyny i ddiafol, yr hwn (a ddywedent) fyddai wrth eu penelinoedd yn dysgwyl am eu heneidiau, i'w trosglwyddo i dân uffern. Yna cynneuent dân yn eu cylch, tra byddai yr hudoledig werinos yn crochlefain, "Deifiwch farfau y cŵn." Ni byddai y dyddiau hyn yn cael eu cynnal, ond ar ryw uchelwyliau, megys coroniad neu briodas un o'u breninoedd, canys fe'i cyfrifid yn ddiwrnod o orfoledd. Os diangai rhai o'r carcharorion o'u celloedd, cyn y diwrnod gosodedig i'w llosgi, hwy wnaent eu lluniau yn eu llawn gorffolaeth, ac wedi ysgrifenu eu henwau arnynt, hwy a'u llosgent, ond nid gyda chymmaint o foddlonrwydd a phe buasai gwir gnawd yno. Ac os byddai rhai, rhy weiniaid i gynnal eu cospedigaethau, yn meirw yn y carchar; hwy a gadwent eu hesgyrn yn ofalus, ac a'u dygent, bob corff mewn prenfol[2] neillduol, ar ba rai y byddai lluniau cythreuliaid a ffaglau eirias, ac a'u bwrient i'r tân gyda mawr orfoledd.

[1] Auto de Fé. [2] A box or chest.

Un o'r dyddiau hyny a sefydlwyd i fod yn Lisbon, ar ddydd Gwyl y Meirw, 1755. Ond fal y dywedodd y prophwyd Amos, "Eu huchelwyliau a droir yn alar;" felly, yn lle difyru eu hunain â chyflafan y carcharorion, yr oedd golwg chwith i'r ychydig nifer a adawyd yn fyw; daeth barn nef i ymweled â hwynt mewn daiargryn, ac mewn wyth mynyd yr oedd deng mil a deugain o'r trigolion megys Corah, Dathan, ac Abiram, wedi i'r ddaiar agor ei safn ddinystriol i'w llyncu.

Dychwelaf i Loegr i olygu sefylliad Rhyddid grefyddol yn nyddiau Luther; caf Harri VIII, ei chreulon frenin, yn falch o gael ei enwi gan y Pab yn Amddiffynwr y Ffydd. Ac i wneuthur ad-daliad iddo am ei anrhydeddus gymmwynas, mae yn erlid pob un a'r oedd yn chwennych gwasanaethu Duw mewn purdeb addoliad. Llawer o demlau eneidiau cyfiawn a wnaeth yn lludw; a'r merthyron yn anfon eu hysbrydoedd mewn ffaglau ger bron y Duw oedd yn barod i'w derbyn.

Ar doriad gwawr y Diwygiad, y mae ellyllon erlidigaeth yn diflanu. Y mae Cranmer yn rhoi clo ar ffynnon ddiddyspydd y Pab yn y fl. 1536; a chymmerodd y brenin feddiannau o holl diroedd y monachlogydd, a gorfu i rai miloedd o fyneich a lleianod ymadael â'r deyrnas. Felly Harri, megys o'i anfodd, a fu offeryn cyntaf y Diwygiad, Duw yn peri i ddaioni darddu o ddrygioni; canys ni wadodd y brenin uwchafiaeth y Pab, ond er mwyn cael ei ewyllys i ysgar ei frenines; ac ni yrodd y myneich o'r deyrnas ond er mwyn eu meddiannau. Felly yn anwybodus iddo y gosododd sylfaen y Diwygiad, a'i dduwiol fab, Iorwerth VI,[1] a yrodd ym mlaen yr adeiladaeth; a'r ardderchog Elisabeth, o anfarwol fri, aeth yn wresog yng nghyd ag

[1] The famous Cardan, being sent for from Italy to cure the bishop of St. Andrew's, visited King Edward VI. of England, on his return, and had a long conference with him in languages and science, and could not forbear to say, that he was the mirror of kings, and glory of the English nation, though but fifteen years of age.

ail adeiladu y muriau a ddrylliwyd drwy nerth ofergoeledd a chreulondeb Mair ei chwaer.

Pan osodwyd Elisabeth ar yr orseddfainc, hi a roddodd orchymmyn yn ddiattreg, i bawb oedd yng ngharchar am eu crefydd gael eu Rhyddid: ond ebr un oedd yn gwrando, "Fy ngrasusol frenines, y mae y pedwar Efengylwr mewn caethiwed; ac y mae y wlad yn hiraethu yn ddirfawr am eu gollyngdod." Y frenines atebodd, y mynai hi siarad â hwynt ei hunan, a gwybod eu meddyliau. Felly yn ganlynol, yn y fl. 1568, y cyfieithwyd yr Ysgrythyrau trwy lafur yr esgobion; hwn oedd ail gyfieithiad Gair Duw i'r Seisoneg. Y trydydd oedd Beiblau Geneva; y pedwerydd a'r diweddaf oedd yn nheyrnasiad Iago I, y pryd y llewyrchodd goleuni yr Efengyl ar drigolion Cymru, trwy ddiwydrwydd a diflin lafur Dr. Morgan, gwedi hyny Esgob Llan Elwy.

Er bod crefydd erbyn hyn wedi cael y llaw uchaf ar dywyllwch ac anwybodaeth pabaidd, eto nid ydoedd wedi ei bendithio â Rhyddid; canys yn y fl. 1559, y gwnaethpwyd gosodedigaeth a elwid yr Unffurfiad,[1] yn erchi, er mwyn caethiwo y Pabyddion, i bawb ddilyn y grefydd sefydledig. A chan fod amryw ymraniadau ym mhlith y diwygiedig, yr oedd y blaid a fyddai â mwyaf o rwysg yn y llywodraeth yn erlid y lleill; ac felly y buont yn uchaf ac yn isaf, gan mwyaf drwy ysbaid pedair teyrnasiad. Yn y cyfamser, sef yn y fl. 1673, y sefydlwyd Gweithred y Profiad, er difuddio pob un na unffurfiai â'r grefydd sefydledig o wasanaethu swyddau tan y llywodraeth: y neillduwyr o bob enwau a ddaliwyd yn y rhwyd hon yn gyssylltedig â'r Pabyddion.

Llwyddiannus dynged y wladwriaeth, neu yn hytrach nefol Ragluniaeth, a barodd i Iago II. anghytuno â'i benaethiaid; hyn a wnaeth yr adwy trwy ba un y daeth Gwilym III. i mewn i'r deyrnas â'n Rhyddid grefyddol yn ei law. Yn y fl. 1689, y coronwyd ef, ac

[1] Act of Uniformity.

yng nghorff yr un flwyddyn y caniatawyd gwir deddf Rhyddid,[1] cenad i bawb ddilyn y blaid a ddewisent. Hyn a fwriadwyd er cyffredin les y wladwriaeth, fal na chymhellid trwy drais yr un dyn i addoli yn erbyn tueddiadau ei gydwybod: a Rhyddid cyhoeddol i bawb chwilio allan wirioneddau a dirgeledigaethau yr Ysgrythyr Lân. Pe buasai Tindal a Wicliff yn ymddangos yn y dyddiau hyn, ni buasai marwolaeth un mor waradwyddus, na llwch y llall mor wasgaredig. Deddf heb orthrymu y meddwl, na chymhell cydwybod dyner oedd hon. Yr oedd gan hyny yn achos llawenydd mawr,—cysur i'r cystuddiedig,—rhyddid i'r caeth,—digonolrwydd yn ol newyn,—cynhesrwydd yn ol oerfel. Pa fendith eill un ddymuno yn y byd hwn nad ydyw yn rhan yng nghyfrodedd weuad bendith y bendithion! Byddai hyfryd genym, pe byddem yn ardaloedd eithaf y Gogledd, wedi chwe' mis o dywyllwch, hirnos o fferdod anoddefol, weled toriad y wawr, a'r wybren yn sirioli wrth ddynesiad y tanllyd gerbydydd: felly yr oedd rhan fawr o drigolion Prydain yn y dyddiau hyny, yn canfod haul iechydwriaeth wedi chwalu ymaith niwl anwybodaeth a chymylau gorthrymder, yn tesol dywynu arnynt. Dedwydd oeddynt tu hwnt i gyrhaedd darluniad. O y rhagoriaeth a weithiodd Rhagluniaeth nef rhwng dwy oes!

Yn yr oes ddiweddaf, un yn myned i'r Eglwys sefydledig, a'r llall i'r ty cyfarfod, heb waharddiad cyfreithiol i'w lluddias, y naill mwy na'r llall; felly yr oedd pob un yn gwasanaethu Duw yn egnïol yn ei feddwl ei hun. Ond yn nheyrnasiad Harri VIII. a'i ferch Mair, os na chydunai y diwygiedig yng ngwasanaeth yr offeren (a pha fodd y gallent uno, i feddwl am addoli Duw trwy ddull llwyr wrthwynebol yn eu crediniaeth hwynt i'w dderbyniad didwyll ef?) hwy a gaent o leiaf eu carcharu a'u ffrewyllu; a da os diangent rhag barn marwolaeth. Os ymgynnullent yng nghyd liw nos, megys yr amser cymhwysaf i addoli Duw yn

[1] Act of Toleration.

ddirgel rhag cael eu cyhuddo, nid oeddynt yr un awr yn ddiogel; yr oedd gwyliadwriaeth y fall i'w cynllwyn hwynt, ac angerdd creulondeb Pabyddiaeth yn barod i'w difa, cyn ennyn y tân anianol.

Yr oedd rhyfyg yr offeiriaid pabaidd gymmaint yn y dyddiau hyny, a'u bod yn dywedyd wrth y cyffredin bobl, y cafai pwy bynag a gludai friwwydd[1] i losgi hereticiaid, genad i bechu ddeugain niwrnod yn ddigosp.

Diolchwn i Dduw am ein goleuni, a gweddïwn ar deilyngu o hono o'i anfeidrol drugaredd daenu athrawiaeth y Diwygiad dros holl barthau y ddaiar. Gwelwn ein hunain yn ddedwydd, a bod Duw wedi ein galw yn flaenffrwyth ei braidd, trwy roddi ini ein Rhyddid i'w wasanaethu yn ol ein cynnysgaeddol ddealltwriaethau, yn un o'r gwledydd cynnaraf yng Nghred: a bydded dosturus genym ystyried cynnifer sydd eto o'n cydgreaduriaid yn ymbalfalu mewn tywyllwch; ac ereill yn gaethion, na feiddiant gan orthrymder gyffwrdd â'r delyn sydd yn grogedig ar y coed helyg.

Yn holl ardaloedd y Twrciaid, os dygwydd i Gristion ar farch gyfarfod un o'r offeiriaid Mahometanaidd,[2] rhaid iddo yn ebrwydd ddisgyn, a chyda phob gostyngeiddrwydd gyfarch gwell iddo. Mae y Cristianogion yn y parthau hyny, heb law y cyllidau cyffredin, yn gorfod talu treth o ddarn arian[3] y pen trwy eu holl deuluoedd; ac os byddant yn rhy dlodion i dalu y dreth, rhaid iddynt un ai gwerthu eu plant, ai myned mewn cadwynau o ddrws i ddrws i gardota y dreth, rhag dyoddef gwastadol garchariad. Egnïol y dylai pob Cristion ystyriol draethu y *Kyrie Eleêson*[4] yn ein heglwysig erfyniad,[5] "Ar deilyngu o Dduw ddwyn i'r ffordd wir bawb a'r y sydd ar gyfeiliorn; a maddeu i'n gelynion, erlynwyr, ac enllibwyr, a throi eu calonau."

Tosturus ydyw ystyried leied o'r byd sydd drigiannol

[1] Faggots.
[2] Turkish priests, called Imams.
[3] Ducat.
[4] ["Arglwydd, trugarhâ wrthym."]
[5] Litany.

gan Gristianogion. Echrydus oedd gan Gordon adrodd, yn ei ddaiarol ddosbartheg,[1] nad oedd y Cristianogion, a'u cymmeryd drwyddynt ddrwg a da, yn Roegiaid,[2] Rhufeiniaid,[3] a Phrotestaniaid, ond un rhan o chwech o drigolion y ddaiar. Efe ranodd yn ei feddwl y byd cyfanneddol yn ddeg ar hugain o ranau, a barnai fod trigolion pedwar ar bymtheg o'r rhanau hyny yn baganiaid ac eilunaddolwyr, fal hyn:—

19 o eilunaddolwyr paganaidd.
6 o Iuddewon a Mahometaniaid.
3 o Rufeiniaid a Phrotestaniaid.
2 o Gristianogion Eglwys y Groegiaid.

30

Ond Brerewood[4] a leihaodd rifedi y paganiaid yn ei ddosbarth, gan ranu trigolion y ddaiar yn bedwar ar bymtheg o ranau, fal hyn:—

10 o eilunaddolwyr.
3 o Iuddewon a Mahometaniaid.
2 o Brotestaniaid.
4 o Roegiaid a Phapistiaid.

19

"Wele hyn yn unig a gefais," ebr Selyf, "wneuthur o Dduw ddyn yn uniawn: ond hwy a chwiliasant allan lawer o ddychymmygion." Cynnifer ydyw yr amrywiol bleidiau sydd yn gwastadol ymryson yng nghylch dull addoliad, nad oes ddiwedd ar eu rhifo. Ni ddichon ond y lloerig gwallgofus, neu yr hwn na chynnysgaeddwyd â'r gronyn lleiaf o anianol wybodaeth, wadu y Duwdod: canys y mae y "nefoedd yn dadgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen yn mynegu gwaith ei ddwylaw Ef." Un ddeddf anian y sydd; ond y paganiaid a ddychymmygasant gynnifer o wrthddrychau addoliad a'r y sydd o ranau yn y crëedigaeth. Un gyfraith a draddodwyd i Foses; ond ymranodd yr Iuddewon yn ol dychwelyd o gaethiwed

[1] Geography.
[2] Christians of the Greek Church.
[3] Roman Catholics.
[4] See Brerewood's *Inquiries*.

Babilon, yn Phariseaid, Saduceaid, Caraitiaid, Essen-iaid, a Herodianiaid. Un Alcoran a ddyfalodd yr arch-dwyllwr Mahomet; ond yn ol ei farwolaeth ymddydolodd ei ganlynwyr, fal y mae rhai awduron yn tystio, i dair ar ddeg a thri ugain o wahanol ymbleidiau.[1]

Ac yn ddiweddaf, un Efengyl a roddwyd gan Ben-tywysog a Pherffeithydd ein ffydd, i fod yn llusern i'n traed ac yn llewyrch i'n llwybrau. Ond yn lle diolch i Dduw am ein rhagorfraint o ddilyn ein crefydd yn ddirwystr, yr ydym ni mal rhith Cristianogion yn ymorchestu mewn ymbleidiau; y mwyaf annysgedig yn rhyfygu egluro yr Ysgrythyr Lân yn ol ei dyb cnawdol ei hun.[2] Y mae yr Efengyl a'r Prophwydi megys colofnau tragwyddol o ysbysrwydd, i gyfarwyddo ymdeithwyr a dyeithriaid i'r porthladd dymunol; ond y dyeithriaid hyn a ymrafaeliant â'u gilydd yng nghylch deongliad un gair o'r cyfarwyddyd, fe allai, un lythyren yn yr iaith wreiddiol: ac felly ymddydolant, y naill yn rhagfarnu ffordd ymdaith y llall, gan farnu ei fod filltiroedd o'r iawn lwybr; a hwythau, mewn gwirionedd, o fewn cyrhaedd galwad i'w gilydd; ond bod caddug cam-ddeongliad, tarth hunandyb da, ymffrost a rhagfarn, yn rhwystro iddynt ganfod hyny. Yr wyf yn meddwl y geill fod yn rhyfedd gan amryw o'r prif ymddadlwyr yng nghylch y cyfarwyddyd, eto ymgyfarfod yn nhragywyddoldeb; os caniatëir i mi y tyb fod cydnabyddiaeth o'r hyn a aeth heibio ym mhlith y saint.

Y mae Prydain yn un o'r gwledydd hynotaf yn y byd, am fod ei thrigolion yn mwynhau crefyddol Ryddid yn y radd uchaf o ganiatâd. O gam arfer bendith y tardda melltith; ac o ollwng gormodd ffrwyn i Ryddid, hi esgora ar afradlondeb.

[1] Knowles's *Turkish History*.

[2] The unlearned here alluded to, are not altogether such as are not classically educated; as there are daily instances of a more penetrating insight into the mysteries of the Word of God, in many of the lower class of men, than in several who may boast of scholastic acquirements. *Matth.* xi. 25; 1 *Cor.* i. 27.

Voltaire,[1] mewn hortaidd enllib, a gyfenwodd Brydain yn "Ardd Fagwraeth Ymbleidiau." Canys nid rhyfeddod fawr, heb law eglwysi y grefydd sefydledig a synagogau Iuddewon, weled crefydd-dai Bedyddwyr, Crynwyr, Calfiniaid, Arminiaid, Morafiaid, Gwrthreithiaid,[2] a Phabyddion, oll yn yr un dref neu ddinas yn Lloegr: un yn dywedyd Paul, a'r llall Apolos; un yn ceisio nef drwy ffydd, y llall drwy weithredoedd, a'r trydydd heb yr un o'r ddau.

Nid wyf fi yn dywedyd hyn er goganu na diystyru yr un blaid o ba enw bynag; canys nid ydyw *enw* ond nod a ddiflana yng nghyffiniau tragywyddoldeb. Egwyddor yr enaid, un ai er gwobr ai er cosp, a lŷn wrthi. Blwyddyn hynod (fal y sylwais o'r blaen) oedd 1689, y pryd y cyhoeddwyd Rhyddid i'r duwiol gorthrymedig o bob plaid a chyfenw; ond fal y mae mwyaf galarus adrodd, rhy ffrwythlon y lluosogodd cyfeiliornus ymbleidiau yn yr oes ganlynol o ormodawl ganiatâd. Achleswyd seirff i ddeor eu hwyau, a gwiberod i esgor epiledd i wenwyno eneidiau esgeulus y rhai gweiniaid yn y ffydd.

Y rhai mwyaf rhyfygus a chyfeiliornus yn eu hegwyddorion, a'r a fedodd ffrwythau Rhyddid ym Mhrydain, yw y rhai a elwir Gwrthwynebwyr y Ddeddf;[2] a hyderus ydwyf, fod yn fwy angenrheidiol wrthsefyll eu hathrawiaeth, nag ydyw i fugail ladd ci cynddeiriog a ddêl yn ei gynddaredd i blith ei ddeadell ddefaid. O'r hyn bydd pob darllenydd ystyriol yn gydwybodol, a'u bod yn dysgwyl nef heb na ffydd na gweithredoedd, pan genfydd y geiriau canlynol o'u mympwy; ar ba rai y sylfaenant deml eu Diana—sef, "Y dyn a farno ei hun yn ymrwymol i weddïo, athrawiaethu yr Efengyl, a'r cyfryw, megys dyledswyddau, neu a flinir yn ei gydwybod pan esgeuluso hwynt; ei fod mewn caethiwed, heb ffydd; ac yn ceisio iechyd-

[1] In his Letters concerning the English Nation.
[2] Antinomians.

wriaeth trwy weithredoedd y ddeddf. Nad ydyw gweithredoedd da yn fuddiol i iechydwriaeth, na gweithredoedd drwg yn rhwystr. Nad oes achos am ofid na chnofa cydwybod yn ol pechu; bod edifeirwch yn ddiangenrheidiol; ac er bod Duw yn casäu pechod, ei fod hefyd yn ymhyfrydu yn ei faddeuant. Fod pob llestr etholedig, y mynyd cyntaf o'i fod, gan bured yng ngolwg Duw oddi wrth bechod ag y bydd mewn gogoniant. Nad oes achos bod gofid am bechod ar un a gredo; ac os bydd, ei fod allan o ffordd iechydwriaeth. Os ymdrecha dyn i fyw yn sanctaidd, gan ddywedyd, 'Rhaid imi wneuthur y fath a'r fath o weithredoedd da,' yna bu Crist farw yn ofer, mae Duw yn digio wrtho. Er i ddyn wrthryfela, bod euogrwydd a chywilydd ei bechod wedi eu gosod ar Grist. Nid ydyw dyn pan becho, yn pechu yn erbyn Duw; nid yw Duw yn ei gyfrif iddo, y mae yn ei gyfrif yn eiddo Crist; ac felly nid eill fod yn eiddo dyn. Nid oes ammod yng nghyfammod gras. Crist sydd yn perthyn i bechaduriaid megys pechaduriaid; ac os nad oes mewn dyn waeth na phechod, gwrthryfel, a gelyniaeth, mae yn perthyn iddo cystadl ag i un yn y byd. Pa ham y gweithiwn am fywyd tragywyddol, ac yntau yn eiddo i ni, cyn ini ddechreu un weithred? Os ymdrechwn i foddio Duw trwy weithredoedd da, yr ydym yn ei annog i ddigofaint cymmaint ag a fedrom."

Llyma farwol arfau y Gwrthreithiaid, â pha rai y mynent wyrdroi yr Ysgrythyrau, a dadwreiddio purdeb y grefydd a blanodd Crist a'i ebystyl sanctaidd, o'r tir. Er fy ngofid, tyst ydwyf o'u rhyfyg; clywais un yn haeru ei fod wedi ei ollwng oddi dan ddyledswyddau y ddeddf; mai un o'r plant rhyddion oedd efe; ac nad oedd achos iddo ofidio am bechod, gan ei fod wedi ei faddeu iddo, cyn iddo ei weithredu.

"Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid."[1] Mae

[1] 1 *Tim.* i. 15.

Paul yn dweyd ym mhellach yn yr un Epistol, "Bydd yn esampl i'r ffyddloniaid, mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn cariad, mewn ysbryd, mewn ffydd, mewn purdeb."[1] "Neu a wyt ti yn diystyru golud ei ddaioni Ef, a'i ddyoddefgarwch, a'i ymaros, heb wybod fod daioni Duw yn dy dywys di i edifeirwch? Eithr yn ol dy galedrwydd, a'th galon ddiedifeiriol, wyt yn trysori i ti dy hun ddigofaint erbyn dydd y digofaint, a dadguddiad cyfiawn farn Duw, yr hwn a dâl i bob un yn ol ei weithredoedd: sef i'r rhai trwy barhau yn gwneuthur da, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth; bywyd tragywyddol."[2]

Fe allai y barna darllenydd tueddol, fy mod yn dal yn rhy bell ar ochr y ddeddf; nac ydwyf yn wir; cydwybodol wyf na chyfiawnhëir un cnawd trwyddi. "Beth wrth hyny? a bechwn ni o herwydd nad ydym dan y ddeddf, eithr dan ras? Na ato Duw! Oni wyddoch chwi, mai i bwy bynag y rhoddwch eich hunain yn weision i ufuddhau iddo, pa un bynag ai i bechod i farwolaeth, ynte i ufudd-dod i gyfiawnder, eich bod yn weision i'r hwn yr ydych yn ufuddhau iddo."[3]

Pell ydwyf oddi wrth ryfygu gosod cyfiawnderau dyn ar orseddfainc yr Oen: haeddiant Crist yn unig ydyw coronau y saint mewn gogoniant. "Heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd."[4] Nid oes onid un ffydd iachusol; ffydd y gwir Gristion yw hon, nid y farwol yr hon ni ddwg ffrwyth. Rhoddaf yma ddarluniad o ffydd fywiol; a barned y darllenydd a oes gan y Gwrthreithiaid hawl i iechydwriaeth trwyddi, neu ynte y wag hyder a grybwyllodd St. Iago,[5] yr hon a ddiflana pan fyddo rhyhwyr llefain, "Arglwydd, Arglwydd."[6]

[1] 1 *Tim.* iv. 12.
[2] *Rhuf.* ii. 4, 5, 6, 7.
[3] *Rhuf.* vi. 15, 16.
[4] *Phil.* iii. 9.
[5] *Iago*, ii. 20.
[6] *Mat.* vii. 21.

"Ffydd yn wir," medd Paul, "yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled."[1] Trwy ffydd yr ydym yn credu y cyflawna Duw ei addewidion, ac y derbyn bechaduriaid tan nodded ei drugaredd, er mwyn eiriolaeth a chyfryngdod ein Hiachawdwr Iesu; yr hwn ymadawodd oddi wrth ddeheulaw ei Dad, gan fod prynedigaeth eneidiau colledig yn fwy dymunol ganddo na thywysogaeth Seraphiaid; ac a ddisgynodd i blith pechaduriaid, gan ymostwng i farwolaeth waradwyddus y groes, fal yr etifeddai y sawl a gredai ynddo fywyd tragywyddol.[2]

Mae y Gwrthreithiaid yr un feddwl hyd yn hyn; ond awn ym mlaen i chwilio sylfaen yr adeiladaeth. Os disgynodd yr had mewn tir da, y mae yn ddiammheu y dwg ffrwyth, yn ol y gyfran o dymmorol gawodydd a ddyhidla bendithion nef ar y maes; rhai ar drigeinfed, a rhai ar y ganfed.[3] Yn awr gofynaf, Ai o wirfodd ei ewyllys, yn dangos annherfynol gariad i bechaduriaid, y daeth Crist i'w gwared? neu ynte ai trwy gymhelliad? neu oedd ddyledus arno ein prynedigaeth? Nid oes yr un dyn, ag ynddo y wreichionen leiaf o lewyrch yr Ysbryd Glân, na chydsynia yn ebrwydd mai gwirfodd weithred rhad ras oedd y cwbl. Y mae cariad Crist uwch law gwybodaeth;[4] annogaeth tosturi ym mynwes trugaredd ei hun;[5] y pryd y gallasai adael dynol ryw i boenedigaeth tragywyddol yn ol eu haeddiant. Pa Gristion yn awr na ddywed wrth ei enaid, "Ymddibridda, a dyrcha ar esgyll ffydd, nesâ yn ostyngedig ger bron gorseddfainc yr Hwn a'th garodd cymmaint; ymhyfryda, ac er hyn wyla o garedigrwydd, gan nad oes genyt fodd i dalu iddo y filfed ran o'r diolchgarwch a haeddai?" Dywed efo yr holl grëedigaeth, "I'r Hwn

[1] *Heb.* xi. 1.
[2] *Ioan,* iii. 15.
[3] *Marc,* iv. 8.
[4] *Eph.* iii. 19.
[5] *Iago,* i. 18. "O'm hewyllys da fy hun y tosturiais wrthyt." *Esai,* lx. 10.

sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac i'r Oen, y byddo y fendith, a'r anrhydedd, a'r gogoniant, a'r gallu, yn oes oesoedd."[1]

Deallwn bellach mai cariad ydyw y ffrwyth, ddyledus i darddu oddi ar fywiol ffydd; a'r hwn sydd ganddo yn ei ysbryd gariad tuag at Dduw, ni ddichon fod heb gariad yn ei weithredoedd tuag at ei gydgreaduriaid. "Pwy a'n gwahana ni oddi wrth gariad Crist?"[2] medd Paul. "Os cerwch fi, cedwch fy ngorchymmynion,"[3] medd ein Harglwydd a'n Hiachawdwr. "Bydded cariad yn ddiragrith. Casëwch y drwg, a glynwch wrth y da."[4] "Rhodiwch yn addas i'r alwedigaeth y'ch galwyd iddi, gyda phob gostyngeiddrwydd ac addfwynder, yng nghyd â hirymaros, gan oddef eich gilydd mewn cariad."[5]

Gwelwn fod y gorchymmyn, cariad, yn gyfrodedd trwy yr Ysgrythyrau. Os carwn gymmydog fel ag y dylem, nid allwn droseddu yn ei erbyn o'n bodd; ond os llithrwn, bydd edifar genym, ymostyngwn iddo, ac erfyniwn ei gymmod. Mwy o lawer (pe bai modd) y dylai Cristion warchad ei dueddiadau rhag pechu yn erbyn yr Hollalluog, yr hwn sydd â'i lygaid yn fflam dân, yn chwilio y galon, ac yn profi yr arenau; gan wastadol weddïo am gymhorth i wrthsefyll profedigaethau, a chyfaddef ei anallu ei hun, gan roddi ei bwys a'i hyder ar yr Hwn a'i prynodd. Y mae y gwir Gristion yn gwasanaethu Duw â'i holl galon, a'i holl feddwl, a'i holl enaid, oll yn oll; nid oes iddo wir hyfrydwch, onid yng ngwasanaeth Duw. Ei wendid a'i ammherffeithrwydd sydd ddirfawr ofid iddo, nad allai ei wasanaethu â mwy o burdeb. Nid ydyw yn ei wasanaethu mewn hyder ei fod yn deilwng o wobr am ei wasanaeth, er ei fod yn sicr y caiff ei wobrwyo, ond o wresog gariad a phur ufudd-dod. Y mae yn

[1] *Dad.* v. 13.
[2] *Rhuf.* viii. 35.
[3] *Ioan*, xiv. 15.
[4] *Rhuf.* xii. 9.
[5] *Eph.* iv. 1, 2.

ofni Duw o ran ei allu, ond yn ei garu yn fwy o ran ei drugaredd. Ofn ydyw sylfaen ufudd-dod cythreuliaid, a phechaduriaid annychweledig; ond cariad ydyw sylfaen ufudd-dod y Cristion.

"Y neb sydd yn gofidio yn ol pechu, nid oes ganddo ffydd," medd y Gwrthreithiaid. Ond y prophwyd a dystia yn y gwrthwyneb, "Y rhai diangol a ddiangant, ac ar y mynyddoedd y byddant hwy i gyd fel colomenod y dyffryn yn griddfan, bob un am ei anwiredd."[1] "Agos yw yr Arglwydd at y rhai drylliedig o galon; ac Efe a geidw y rhai briwedig o ysbryd."[2] "Am hyny y gweddïa pob duwiol arnat Ti, O Dduw, yn yr amser y'th geffir."[3] "Ti yr hwn a wrandewi weddi, atat Ti y daw pob cnawd."[4]

Y mae yr Arglwydd ffyddlon a chywir yn bygwth chwydu allan o'i eneu y clauar Laodiceaid, y rhai nad ydynt na brwd nac oer;[5] ac a ryfygant ymhoni eu bod yn oludog, ac yn gyfoethogion, heb arnynt eisieu dim; ond er hyny yn druan, yn resynol, yn dlawd, yn ddall, ac yn noeth. Ffordd heddwch nid adwaenant; ac nid oes gyfiawnder yn eu llwybrau:[6] gwnaethant iddynt lwybrau ceimion; pwy bynag a rodio yno, nid adwaen heddwch. Dirmygus ganddynt air yr Arglwydd; nid oes ganddynt ewyllys iddo.[7]

Mae cydwybodau y cyfryw mewn trymgwsg; hunasant megys ŵyn, ond deffroant gyda ffyrnigrwydd llewod a seirff. Ymfoddlonant yn eu cyflyrau, gan ddywedyd fod cyfiawnder Crist yn gyfrifol iddynt hwy, a'u pechodau hwy yn ei eiddo ef; gan iddo ddwyn ei groes, nid oes achos iddynt hwy hyny; bu Grist yn elusengar, i arbed iddynt hwy ranu eu heiddo; bu yn ddiwair, rhag cyfrif iddynt hwy eu godineb; a chan fod yr Iesu yn llariaidd, nid yw eu

[1] *Esec.* vii. 16.
[2] *Salm* xxxiv. 18.
[3] *Salm* xxxii. 6.
[4] *Salm* lxv. 2.
[5] *Dad.* iii. 15.
[6] *Esai*, lix. 8.
[7] *Ier.* vi. 10.

digofaint hwy yn bechod. Dywedant fod yr hwn a rano elusenau i'r angenus, yn gweithio am fywyd tragywyddol: gwell ac esmwythach ganddynt hwy gael nef trwy ffydd yn unig. Ond y mae y dysgybl, yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu, yn dywedyd fal hyn: "Eithr yr hwn sydd ganddo dda'r byd hwn, ac a welo ei frawd mewn eisieu, ac a gauo ei dosturi oddi wrtho, pa fodd y mae cariad Duw yn aros ynddo ef?"

Yr ydwyf yn gweled fy hun braidd yn anghall, o ymofyn am ysgrythyrol brofiadau, i wrthddadlu y broffes na ddichon sefyll yn erbyn anianol reswm yn unig. Crist a osododd reolau yn yr Efengyl i'w ddilynwyr eu canlyn, gan ddywedyd, "Yr hwn nid yw yn cymmeryd ei groes, ac yn canlyn ar fy ol i, nid yw deilwng o honof fi."[1]

Gweled Cristianogion a'u bucheddau yn llwyr wrthwynebol i reolau yr Ysgrythyr Lân, a barodd i laweroedd dramgwyddo. Yr oedd Paul yn cwyno hyny, gan ddywedyd wrth y Rhufeiniaid, "Canys enw Duw o'ch plegid chwi, a geblir ym mhlith y Cenedloedd."[2] Pa fodd y geill yr anghred feddwl yn barchus o'r Efengyl, tra byddo ei phroffeswyr yn ei gwadu yn eu bucheddau? Anfad ymarweddiad proffeswyr crefydd bur a dihalog, a barodd i Herbert[3] ysgrifenu yn erbyn Duwdod Crist. Bolingbroke, drachefn, wrth ganfod anwireddus ymddygiad llywodraethwyr yr Eglwys yn nyddiau Cromwel, a lefodd allan, "Ai dyma Gristianogrwydd! yna byddwyf Bagan." Ac, ysywaeth, fe fu cynddrwg a'i air.

Yr hwn sydd ailenedig, ac *ysbryd* y gwirionedd yn cyfanneddu ynddo, oni ddwg efe *ffrwyth* yr ysbryd? Yr hwn sydd yn parhau yn ei bechod, heb ofid na chystudd cydwybod o'r achos, nid ellir ddywedyd iddo erioed gychwyn tua Sïon: ac er hyny fe feiddia rhai haeru y dichon y cyfryw feddiannu iachusol ffydd. Fel y mae cysgod i gorff anianol, felly mae

[1] *Mat.* x. 38.
[2] *Rhuf.* ii. 24.
[3] Lord Herbert of Cherbury, a deist, in the reign of Henry VIII.

gau hyder megys rhith ffydd yn arwain pechaduriaid hyd ffordd esmwyth ac eang, yn lle ymdrechu am y porth cyfyng.[1] Dewisant gerbyd rhyfyg a chlustogau dan eu penelinoedd,[2] prysurant ym mlaen tua'r nefoedd a grewyd ym meddyliau eu hunain. O drueiniaid! fal y dywedodd Bunyan am anwybodaeth, "Gwelais fod ffordd i uffern heibio i borth y nefoedd." A'r anghenfil pechod oedd yn pwyso yn ysgafn ar eu cydwybodau, gan wenu arnynt yn y byd hwn, a chyfarth cabledd yn erbyn nef, yn awr a ddychwel at ei berchenogion, a chydag ef dri o gyfeillion tragywyddol ac ofnadwy, sef Galar, Griddfan, a Gwae.

Ni bydd achos (fal yr wyf yn gobeithio) i neb anfoddloni o ran yr ymadrodd rhagflaenol; os digia un, dig wrth bechod a fydd, canys ni wrthwynebais i ond pechod rhyfygus. Ni byddwn i ddig wrth neb un a'm galwai yn Wrthreithiad; ond os byddwn yn tueddu at eu hegwyddorion, byddai achos imi fod yn ddig wrthyf fy hun: byddwn ddiolchgar am argyhoeddiad, ac ni byddwn esmwyth nes y gwnawn heddwch â Duw.

Os cyfeiliornais, gan ganlyn anianol ddychymmygion, yn lle ysgrythyrol wirionedd, cerydder fi yn ddwys; ond parhäed brawdol gariad; gwneler imi gydnabod fy nghamsyniadau; canys chwennychwn fyned o gyntedd y Cenedloedd i deml doethineb Gair Duw.

[1] *Mat.* vii. 13.
[2] *Esec.* xiii. 18.

## Y CHWECHFED RAN.

### YN CYNNWYS RHYDDID MEDDWL A CHYDWYBOD.

**HEB Ryddid meddwl nid yw bendithion y bywyd hwn ond blinderau i ddynion—Rhodd Duw ydyw darostyngiad anwydau—Boddlonrwydd ac amynedd, ffrwythau Rhyddid y meddwl—Truenus yw breninoedd hebddi—A dedwydd y cardotyn a'i caffo—Amynedd Iob—Dianwadalwch Polycarp, esgob Smyrna—Rhyddid meddwl Socrates, athro Cenedlig—A boddlonrwydd Epictetus y caethwas—Trueni caethiwed y synwyrau, sef gwallgofrwydd.**

Y MAE Rhyddid wladwriaethol yn noddi dyn oddi wrth drais a gwrthwynebiad gelynion a therfysgwyr; a Rhyddid grefyddol yn rhoddi iddo y fraint o addoli yn gyhoedd, yn ol ei ddymuniad, heb rwystr nac attaliad: ond heb Ryddid ym meddwl yr hwn a'i mwynhao, nid ydyw y naill ond gorthrymder, na'r llall ond cymhelliad. Er bod cyfraith ei wlad yn ei amddiffyn yn ddidrais ddiorthrwm, os bydd efe yn orthrymedig yn ei feddwl, nid oes iddo un mynyd o esmwythder; mae yn gweled ei hun yn fwy truenus nag ereill, ac yn sathredig gan bawb. A thrachefn, er ei fod mewn Rhyddid i arfer y ddull o grefydd a ddymunai, eto mae ei gydwybod wedi ei golosgi â haiarn poeth;[1] nid oes ganddo ddyddanwch yng nghyfraith Dduw; mae yn cyfrif ei hun mewn carchar trá byddo mewn Eglwys, neu ryw le neillduol yn gwrando cynnygion yr Efengyl. Ei anwydau a arglwyddiaethant arno; mae adfyd neu hawddfyd yn ei orchfygu: i ddywedyd y cwbl ar fyr, mae yn gaeth oddifewnol, er mwynhau pob Rhyddid allanol.

Ofn yr Arglwydd yw dechreuad doethineb;[2] felly rhad Duw yw Rhyddid cydwybod: yr hwn sydd gydnabyddus o werthfawrogrwydd y fendith hon, ac

[1] *Tim.* iv. 2.
[2] *Salm* cxi. 10.

yn ei mwynhau, nis gall galluoedd anghred ei orthrymu: mae hi allan o olwg dynol, ond bod rhyw faint o arwydd yng ngwynebpryd ac ymarweddiadau ei pherchenog. Gwynfydedig yw y fynwes lle y mae yn cartrefu, gorsedd boddlonrwydd ydyw: mae yn sefyll megys craig yn erbyn tònau, curant a lluchiant. y naill yn niffyg y llall, mae yn anorchfygol. Ond yr ewyllys sydd yn ddarostyngedig i'w anwydau, mae megys ynys heb ragfuriau yng nghanol y cefnfor; chwythed y gwynt o'r Gogledd neu o'r Deheu, mae yr awel leiaf yn peri i lifeiriant o dònau ymchwyddo dros ei glanau. Y dyn sydd yn marchogaeth yng ngherbyd afreolaeth, mae ei anwydau megys meirch ffromwyllt wedi cipio y ffrwyn o'i ddwylaw egwan; fe chwennychai y truan droi yn ei wrthol, ond dilyn y gallu trechaf a raid i rediad yr olwynion.

Ni ddichon dyn fod yn ddedwydd yng nghanol cyfoeth ac anrhydedd, os bydd ei gydwybod yn ei farnu; ac ni ddichon fod yn gwbl annedwydd mewn tlodi a chadwynau, os bydd ei gydwybod yn ei ryddhau. Rhyddid wladwriaethol heb Ryddid cydwybod, sydd waeth na cherddoriaeth heb bereidddra cydsain. Os adfyd yw y dolur, amynedd yw yr eli goreu, a boddlonrwydd y feddyginiaeth benaf mewn caethiwed. Nid yw boddlonrwydd yn peri i'w pherchenog ddymuno uwch swyddau neu raddau; ac os gostyngir, ni rwgnach. Disgyned y fendith hon i fynwes o ba radd bynag, ni chaniatâ i'w pherchenog gablu Rhagluniaeth; fal y celfydd eglura y bardd Seisnig:—

> "Whate'er the passion, knowledge, fame, or pelf,
> Not one will change his neighbour with himself;
> The learn'd is happy nature to explore,
> The fool is happy that he knows no more;
> The rich is happy in the plenty given,
> The poor contents him with the care of heaven;
> See the blind beggar dance; the cripple sing;
> The sot a hero, lunatic a king."
>
> POPE.

Y mae y dyn tlotaf yn y byd, os bydd yn mwynhau Rhyddid cydwybod esmwyth, fil o weithiau yn dded-

wyddach na'r cybydd crintachlyd, yr hwn, trwy orthrymu y tlodion, a gribddeiliodd ei filoedd ac a bentyrodd ei fyrddiynau.

Rhyddach ydyw y gweinidog, neu y beunyddiol lafurwr, a fyddo â Rhyddid meddwl yn melusu chwerwder gwasanaeth, na'r goresgynwr milwraidd a osododd amryw daleithiau yn anghyfannedd; er bod yn ei allu, ag amnaid ei deyrnwialen, wneuthur a dadwneuthur rhaglawiaid a swyddogion, a miloedd o'i ddeiliaid i ddysgwyl dyrchafiad neu ostyngiad, Rhyddid neu gaethiwed, bywyd neu farwolaeth, oddi wrth wên neu guwch ei wynebpryd: ond os ei anwydau a arglwyddiaethant arno, mae yn gaeth, ar ei orseddfainc.

> "Thy conquered world, vain Alexander, boast,
> Thyself the vanquished slave of wrath and lust:
> Each Passion snatched the sceptre from thy hand,
> And dragged thee chained, a slave at her command."

Iob oedd un o'r rhyfeddaf a fendithiwyd â'r rodd nefolaidd hon; er lladd ei feibion, er colli ei ferched, er cyflafan ei weision, er ei anrheithio o'i holl dda bydol, er cabledd ei wraig, er dichell Satan, fe ddywedodd, "A dderbyniwn ni gan yr Arglwydd yr hyn sydd dda, ac oni dderbyniwn yr hyn sydd ddrwg?"[1] Ond gofid a gafodd ychydig o wall ar ei amynedd, pan felltithiodd y dydd y ganwyd ef.[2]

Polycarp, esgob Smyrna, pan oedd i gael ei losgi am ei grefydd, y swyddog a gynnygiodd iddo ei Ryddid, os efe a gablai Grist; yntau, gan ddewis yn hytrach ddyoddef marwolaeth na cholli Rhyddid cydwybod, a atebodd, "Chwech a phedwar ugain mlynedd y gwasanaethais i Ef, ac a'i cefais yn Arglwydd da; felly, pa ham y gwadaf fi fy Arglwydd a'm Duw?"

Socrates, er mai athro Cenedlig, oedd feddiannol o'r fath gynneddf meddwl, fal y geill amryw Gristianogion ryfeddu: canys ychydig o oriau cyn amser

[1] *Iob*, ii. 10.
[2] *Iob*, iii. 3.

gosodedig ei farwolaeth,[1] ei ymddygiad oedd gymhwysach i ymddangos yn nhragywyddoldeb, na lluoedd o'r rhai a oleuwyd gan yr Efengyl.

Epictetus[2] hefyd, er mai caethwas a fu holl ddyddiau ei einioes, a berchenogodd gyfran odidog o'r Ryddid yma: yr ydoedd ei gyflwr gwasaidd yn etifeddiaeth o foddlondeb iddo, gan ddywedyd, "Ewyllys y nefoedd ydyw; ar law Rhagluniaeth mae gosod pob dyn yn yr alwedigaeth a welo ei galluoedd yn oraf, pa un bynag ai yn llywydd teyrnas, ai yn gaethwas dirmygedig. Cyffelyb ydyw y byd hwn i chwareudy,[3] dynion ydyw y chwareuyddion, a'u bucheddau ydyw y chwareuyddiaeth; un mewn dull brenin, a'r llall mewn dull cardotyn; ac yn ol y diweddglo,[4] nid oes rhagoriaeth rhyngthynt: nid yr uchaf ei alwedigaeth, ond y goreu ei ymddygiad, a gaiff ei ganmol fwyaf: os darfu i'r cardotyn chwareu ei ran yn well na'r brenin, oni chaiff efe fwy o oruchafiaeth? A chan nad ydyw y byd hwn ond porthladd, i ddysgwyl ynddo am ychydig, i aros cyfleusdra i fyned ym mlaen i'r cartref tragywyddol; pwy ond ynfydion a ymdrafferthent eu hunain am y lleoedd uchaf, dros fynydyn darfodedig o wachelyd cawod?"

Megys mai rhodd Duw ydyw Rhyddid y meddwl, synwyr, dealltwriaeth, eangder amgyffrediadau, a phob rhan nefolaidd arall, sydd yn dyrchafu dyn goruwch y grëedigaeth anifeiliaidd; felly y mae yn ei anwrthwynebol allu, gymmeryd taleut[5] y gwas anfuddiol oddi wrtho, a'i rhoddi i'r hwn sydd ganddo ddeg. "Yr Arglwydd sydd yn roddi, a'r Arglwydd sydd yn cymmeryd ymaith; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Pa'r un ai cerydd rhagluniaethol, ai anhwyl anianol, ydyw gwallgofrwydd, sydd wedi bod yn destyn o ymddadlu. Ar hyny, nid oes achos

[1] Poisoned in the seventieth year of his age, 401 years before Christ.
[2] Slave to Epaphroditus, Nero's freedman.
[3] Theatre.
[4] Epilogue.
[5] *Mat.* xxv. 28.

dal sylw yn awr; ond hyn a allaf ddywedyd, mai cyflwr gresynus ydyw caethiwed y synwyrau. Ni ddylai dyn eu camarfer tra byddont yn ei feddiant; gan fod hyny yn rhoddi dawn ac anrheg yr Hollalluog at wasanaeth ei elyn penaf. Hirymaros[1] yw un o briodoliaethau yr Arglwydd, pan y mae yn dyoddef i ddoethion y ddaiar "ymgynghori yn ei erbyn Ef, ac yn erbyn ei Grist."[2] Ond yr Hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd a chwardd; yr Arglwydd a watwor eu ffolineb hwynt;[3] cânt yfed o ffiol ei lid yn nydd mawr ei ddigter.[4]

Y dyn a fyddo yng ngharchar, â'i synwyrau ganddo, nid ydyw yn gwbl druenus; efe eill ymhyfrydu yn ei feddwl fod Duw yn canfod ei gaethiwed; ac er bod ei gorff mewn cadwynau heiyrn, geill ei ysbryd (fal un Ioan Bunyan yng ngharchar Bedfford) fod mewn Rhyddid i deithio â llawen bererindod tua Sïon. Ond yr hwn sydd â'i gorff a'i ysbryd yng ngharchar, llyma gadwen ddeublyg, rhy druenus genyf ddarlunio![5]

Egnïol y dylem weddïo ar yr Hwn y mae pob peth a'r y sydd eiddom yn ei law, ar iddo ganiatäu ini fwynhâd o'n dealltwriaethau; i arferyd yn ddiolchgar ac yn ostyngedig y moddion o ras, trwy ba un y mae ini gyrhaedd dedwyddwch bywyd tragywyddol yn y byd a ddaw, ac hyfrydwch esmwythder meddwl yn y byd hwn, ïe, er y byddai ein cyrff mewn gefynau heiyrn.

[1] *Rhuf.* ix. 22.
[2] *Salm* ii. 2.
[3] *Salm* ii. 4.
[4] *Dad.* vi. 17.

[5] Un fu yn glod i wŷr y glyn,
Sy'n erwin o'i synwyrau—
Wele yn rhwym wrth droed y bwrdd
Yn dadwrdd yn ei didau!

dal sylw yn awr; ond hyn a allaf ddywedyd, mai cyflwr gresynus ydyw caethiwed y synwyrau. Ni ddylai dyn eu camarfer tra byddont yn ei feddiant; gan fod hyny yn rhoddi dawn ac anrheg yr Hollalluog at wasanaeth ei elyn penaf. Hirymaros[1] yw un o briodoliaethau yr Arglwydd, pan y mae yn dyoddef i ddoethion y ddaiar "ymgynghori yn ei erbyn Ef, ac yn erbyn ei Grist."[2] Ond yr Hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd a chwardd; yr Arglwydd a watwor eu ffolineb hwynt;[3] cânt yfed o ffiol ei lid yn nydd mawr ei ddigter.[4]

Y dyn a fyddo yng ngharchar, â'i synwyrau ganddo, nid ydyw yn gwbl druenus; efe eill ymhyfrydu yn ei feddwl fod Duw yn canfod ei gaethiwed; ac er bod ei gorff mewn cadwynau heiyrn, geill ei ysbryd (fal un Ioan Bunyan yng ngharchar Bedfford) fod mewn Rhyddid i deithio â llawen bererindod tua Sïon. Ond yr hwn sydd â'i gorff a'i ysbryd yng ngharchar, llyma gadwen ddeublyg, rhy druenus genyf ddarlunio![5]

Egnïol y dylem weddïo ar yr Hwn y mae pob peth a'r y sydd eiddom yn ei law, ar iddo ganiatäu ini fwynhâd o'n dealltwriaethau; i arferyd yn ddiolchgar ac yn ostyngedig y moddion o ras, trwy ba un y mae ini gyrhaedd dedwyddwch bywyd tragywyddol yn y byd a ddaw, ac hyfrydwch esmwythder meddwl yn y byd hwn, ïe, er y byddai ein cyrff mewn gefynau heiyrn.

[1] *Rhuf.* ix. 22.
[2] *Salm* ii. 2.
[3] *Salm* ii. 4.
[4] *Dad.* vi. 17.

[5] Un fu yn glod i wŷr y glyn,
Sy'n erwin o'i synwyrau—
Wele yn rhwym wrth droed y bwrdd
Yn dadwrdd yn ei didau!

## Y SEITHFED RAN.

### YNG NGHYLCH RHYDDID YR EWYLLYS.

**Dyn yn rhydd ei ewyllys cyn y cwymp—Wedi hyny pechod yn arglwyddiaethu arno—Hyd oni adferir trwy rad—Ymddadlu yng nghylch etholedigaeth, yn beryglus—Yn achos o orfoledd i elynion yr Efengyl—Bod gair Duw yn ddigonol i iechydwriaeth, heb ymryson yng nghylch uchel byncian.**

Duw a greodd ddyn, ac a'i cynnysgaeddodd ag ewyllys rhydd, i sefyll neu syrthio;[1] gan osod o'i flaen

[1] "For Man will——————
——————transgress the sole command,
Sole pledge of his obedience: so will fall,
He and his faithless progeny. Whose fault?
Whose but his own? ingrate! he had of Me
All he could have: I made him just and right;
Sufficient to have stood, though free to fall.
Such I created all th' ethereal powers,
And Spirits, both them who stood, and them who failed:
Freely they stood who stood, and fell who fell.
Not free, what proof could they have given sincere
Of true allegiance, constant faith or love,
Where only what they needs must do, appeared;
Not, what they would? what praise could they receive?
What pleasure I from such obedience paid,
When will and reason (reason also is choice)
Useless and vain, of freedom both despoiled,
Made passive both, and served necessity,
Not Me? They therefore, as to right belonged,
So were created, nor can justly accuse
Their Maker, or their making, or their fate:
As if predestination over-ruled
Their will, disposed by absolute decree,
Or high fore-knowledge. They themselves decreed
Their own revolt, not I: if I foreknew,
Foreknowledge had no influence on their fault,
Which had no less proved certain, unforeknown.
So without least impulse, or shadow of fate,
Or aught by Me, immutably foreseen,
They trespass; authors to themselves in all,
Both what they judge, and what they choose, for so
I formed them free, and free they must remain,
Till they enthral themselves; I else must change
Their nature, and revoke their high decree
Unchangeable, eternal, which ordained
Their freedom; they themselves ordained their fall.

fywyd a marwolaeth, da a drwg: ond y dyn, trwy ollwng y ffrwyn i'w drachwantau, a gollodd ei

The first sort by their own suggestion fell,
Self-tempted, self-depraved; man falls, deceived
By th' other first: man therefore shall find grace;
The other none: in mercy and in justice both,
Through heaven and earth, so shall my glory excel;
But mercy, first and last, shall brightest shine."

MILTON.

["Andawa Dyn ar ei gelwyddau llathr,
A hawdd y tora yr un gorchymmyn mad,
Gwystl unig ei ostyngiad; syrth fal hyn,
Efe ac ei anhyderus hil: Bai pwy?
Bai pwy ond ef? Afradyn, genyf Fi
Y caffai oll a ddylai; gwnaethym ef
Yn iawn a chywir, mal y safai, er
Yn rhydd i syrth. Y fath y creais holl
Alluoedd ac Ysbrydion gwynaint, hwynt
A sefynt, hwythau hefyd a balleynt;
Yn rhydd eu saf a safent, ac eu syrth
A syrthient. Os nad rhydd, pa gywir brawf
A roddent o iawn ymdwng, neu o ffydd
A chariad gwadal, lle yr hyn oedd raid
Yn unig yn eu gwaith a welid, nid
Yr hyn a fynent? iddynt hwy pa glod?
Pa fodd i Mi o fath ymostynghâd,
A myn a phwyll (neud pwyll yw dewis) pan
Ofer a diles, eu rhyddid a ddiléid,
Pob un a wneid oddefawl, angen a
Weinyddynt, nid Myfi? Am hyny hwynt
O ddyl iawn, felly creid, nac o ddir
Y gallant feiaw eu Gwneuthurydd, na
Gwneuthuriad, nac eu ffawd, mal pe rhwysgäi
Rhagarfaeth ar eu myn, y trefnai trwy
Lwyr ddeddfiad neu ragwybod mawr; trefnëynt
Eu hunain eu gwrthgiliad, nid Myfi;
Er y rhagwyddwn, rhagwybodaeth na
Effeithiai ar eu bai, yr hwn o fod
Ys dir yn ddiragwybod. Felly heb
Y lleiaf ffraw neu rith o ffawd, neu ddim
Anghyfnewidiawl a ragwelwn y
Troseddant, idd eu hun yn lluniaw oll
A farnant ac a fynant; canys rhydd
Fal hyn y lluniais hwynt, a rhydd parhânt
Nes ymgaethiwant hwy; neu rhaid i Mi
Newidiaw ar eu nawd, a rhaid dilëu
Yr uchel ddeddf dragwyddawl, a urddhäi
Eu rhyddid, urddent hwy eu hun eu cwymp.
Y cyntaf ryw o hun-ymgymhellâd
Eu cwymp, trwy hunan hud, a hunan lwgr:
Trwy dwyll y cyntaf y cwympa Dyn: am hyn
Derbynia Dyn fy rhad, ond nid y llall:
Trugaredd a chyfiawnder trwy y Nef
Ac yn y Ddaiar felly ardderchânt
Fy mawr ogoniant, eto cynt ac ol
Trugaredd a dywyna mwyaf cain."

*Cyfieithiad* IDRISON.]

Ryddid a'i ragorfraint o ethol a dewis; ac a aeth yn gaethwas i bechod. Oddi yno y tarddodd y fath ddallineb yn ei ddealltwriaeth, gwrthnysigrwydd yn ei ewyllys, a'r fath aruthrol angerdd yn ei wyniau a'i chwantau, fal nad eill, o'i nerth ei hun, amgyffred neu ddewis y cyfryw bethau a fyddo wir fuddiol iddo; ond efe a hyrddir gan ei anwydau i ethol y pethau sydd yn llwyr wrthwynebol i'w ddedwyddwch: fal y dywedodd yr Apostol, "Ni eill y rhai sydd yn y cnawd ryngu bodd Duw."[1]

Mae holl ddynol ryw wrth anian yn gaethweision i bechod; "anghall ydynt, ac nid deallgar hwynt; y maent yn synwyrol i wneuthur drwg, eithr gwneuthur da ni fedrant."[2] Ond trwy gymhorth y Dyddanydd mae ini gaffael y llaw uchaf ar ein gorthrymwr, i groeshoelio ein trachwantau,[3] i fod yn rhyddion o feddiant pechod a Satan,[4] ond yn rhwym i wasanaethu y Duw byw;[5] yr hyn sydd wir fraint a Rhyddid oddi dan iau caethiwed: canys safodd Cyfryngwr rhyngom ni a tharanau mynydd Sina,[6] ac Eiriolwr rhyngom ni a melltithion mynydd Ebal.[7]

Mae ewyllys dyn, tra byddo yn ei gyflwr anianol, mewn cynghrair â phechod; ac yn cydlunio gwrthryfel yn erbyn hirymaros Duw: ond pan weithio Duw yn yr enaid, ewyllysio a gweithredu, o'i ewyllys da ei hun;[8] yna tardda ymrafael rhyngthynt, ac y dirprwya yr ewyllys lythyr ysgar rhyngtho a phechod; gan ei gasäu megys gelyn penaf ei ddedwyddwch. Mae golwg arno, ïe, meddwl am dano, yn flinder iddo; gynt yr oedd, fal Cain, â'i ddymuniad ar bechod, ond yn awr mae yn llefain efo Dafydd, "Da genyf wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw; a'th gyfraith sydd

[1] *Rhuf.* viii. 8. 1 *Thess.* ii. 15.
[2] *Ier.* iv. 22.
[3] *Rhuf.* vi. 6. *Gal.* v. 24.
[4] *Rhuf.* viii. 2.
[5] *Heb.* ix. 14. *Heb.* xii. 28.
[6] *Ecs.* xix. 16.
[7] *Deut.* xi. 29.
[8] *Phil.* ii. 13.

o fewn fy nghalon."[1] Ond er bod pechod mor annymunol gan ewyllys y credadyn, mor gas 'gantho a phyrth uffern; eto y mae yn gymmysgedig â'i weithredoedd goreu ef. Mae Paul yn dywedyd, "Canys nid wyf yn gwneuthur y peth da yr wyf yn ei ewyllysio; ond y drwg, yr hwn nid wyf yn ei ewyllysio, hyny yr wyf yn ei wneuthur. Canys mi a wn nad oes ynof fi (hyny yw, yn fy nghnawd i) ddim da yn trigo: o blegid yr ewyllysio sydd barod genyf; eithr cwblhau yr hyn sydd dda, nid wyf yn medru arno. Felly yr awr hon, nid myfi sydd mwy yn gwneuthur hyny, eithr y pechod yr hwn sydd yn trigo ynof fi. Yr wyf yn gweled deddf arall yn fy aelodau, yn gwrthryfela yn erbyn deddf fy meddwl, ac yn fy nghaethiwo i ddeddf pechod, yr hon sydd yn fy aelodau. Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared i oddi wrth gorff y farwolaeth hon? Yr wyf fi yn diolch i Dduw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Felly yr wyf fi fy hun â'r meddwl yn gwasanaethu cyfraith Dduw, ond â'r cnawd, cyfraith pechod."[2]

Eangu Rhyddid yr ewyllys tu hwnt i'w gosodedig derfynau, o'r naill blaid, a chynnal athrawiaeth etholedigaeth ddiammodol, o'r blaid arall, a barodd wresog ymddadlu rhwng dysgedigion, er blinder iddynt eu hunain, a thramgwydd i laweroedd o ddarllenyddion. Ymryson rhwng Cristianogion mewn pwysfawr byncciau crefydd sydd achos o orfoledd mawr i elynion yr Efengyl. Mae y Pabyddion yn balchïo fod cymmaint o wahaniaethau ym mhlith Protestaniaid, gan dystiolaethu fod Eglwys Rufain mewn perffaith undeb, a bod y grefydd Brotestanaidd megys anghenfil ofnadwy yn ymwahanu yn llaweroedd o benau erchyll. A bod un blaid yn gwadu duwdod Crist; un arall, dduwdod yr Ysbryd Glân; y drydedd, anfarwoldeb yr enaid; y bedwaredd, adgyfodiad y cnawd; a'r bummed, dragywyddoldeb poenau yr annuwiol; ac amryw gamsyn-

[1] *Salm* xl. 8.
[2] *Rhuf.* vii. 17, 18, 19, 23, 24, 25.

iadau cableddus, sydd ry wirioneddol, ysywaeth, yn ymddangos ym mhroffes rhai dan enw gweinidogion yr Efengyl. Oddi wrth yr achos yma o amrafael bleidiau yn ein plith, mae Pabyddion eto yn amlhau; mae eu hanesion eu hunain yn tystio ddarfod iddynt, er ys ugain mlynedd aeth heibio, ddymchwelyd ugain mil o Brotestaniaid at y grefydd Babaidd.

Mae dadleuon ac anghytundeb mewn crefyddol byncìau rhwng Cristianogion yn rhoddi achlysur i'r Deistiaid gablu Crist a'r Efengyl sanctaidd. Ymddadlu rhwng rhai dysgedig yng nghylch etholedigaeth a barodd i un Hobbs o Malmsbury ysgrifenu yn erbyn y grefydd Gristianogol; ac fal y mae yn ofnadwy ac yn resynus feddwl, dywedir fod y dydd heddyw dros hanner dysgedigion Lloegr yn ddysgyblion iddo; oddi eithr yr offeiriaid, elw pa rai ydyw bod yn y gwrthwyneb.

Fe allai y dysgwylia y darllenydd imi ysgrifenu yn helaethach ar Ryddid yr ewyllys, yr hyn nid oes genyf ewyllys rhydd i'w wneuthur; ac nid ydwyf yn cyfrif fy hun yn deilwng i roddi barn ar ddirgeledigaethau anchwiliadwy etholedigaeth. Mae awdur dysgedig a pharchedig yn awr â'r gorchwyl ar ei law; a phoed iddo lwyddiant, a chyrhaeddyd ysbrydol ddoethineb, i egluro y gwirionedd, a ddylai fod yn ddymuniad pob diduedd Gristion. Ond myfi, ieuanc ac annysgedig ydwyf, i feiddio cyffwrdd â myfyrdodau rhy uchel i'm dealltwriaeth: gallaf ddywedyd eisoes efo Iob, "Llefarais yr hyn nis deallais; pethau rhy ryfedd i mi, y rhai nis gwyddwn." Cymmaint oedd yr ymrafael rhwng dysgedigion yng nghylch ansawdd a phriodoliaethau y Drindod sanctaidd, yn nheyrnasiad Gwilym III, fal ag y gorfu i'r brenin gyhoeddi ei orchymmyn na byddai i neb o hyny allan ryfygu ysgrifenu ar y testyn goruchel hwnw, dan boen cospedigaeth; gweithred ganmoladwy oedd hyny yn y brenin; canys tra byddo dwy blaid llwyr gyferbyniol i'w gilydd, yn ymddadlu ar destynau dwywol dyrchafedig, mae yn rhaid bod un blaid, os na bydd y ddwy, yn cyffwrdd

â chanwyll llygad yr Hollalluog Dduw. Ymryson dysgawdwyr yng nghylch etholedigaeth hefyd, mae Dryden yn ei warthruddo yn y geiriau canlynol:—

"But here the doctors eagerly dispute,
Some hold predestination absolute;
Some clerks maintain that heaven at first foresees,
And in the virtue of foresight decrees.
If this be so, then prescience binds the will,
And mortals are not free to good or ill;
For what He first foresaw, He must ordain,
Or his eternal prescience may be vain.
As bad for us if prescience had not been;
For first or last, He's author of the sin;
And who says that? Let the blaspheming man
Say worse even of the devil, if he can.
For how can that Eternal Power be just,
To punish man, who sins because he must?
Or, how can He reward a virtuous deed,
Which is not done by us, but first decreed?
I cannot bolt this matter to the bran,
As Bradwardin and holy Austin can:
If prescience does determine actions so,
That we must do, because He did foreknow,
Or that foreknowing; yet our choice is free,
Not forced to sin by strict necessity:
This strict necessity, they simple call;
Another sort, there is conditional.
The first so binds the will, that things foreknown,
By spontaneity, not choice, are done.
Thus galley-slaves tug willing at their oar,
Content to work in prospect of the shore;
But would not work at all if not constrained before.
That other does not liberty restrain;
But man may either act, or may refrain:
Heaven made us agents free to good or ill,
And forced it not, though He foresaw the will.
Freedom was first bestowed on human race,
And the prescience only held the second place.
If He could make such agents wholly free,
I'll not dispute, the point's too high for me:
For Heaven's unfathomed power what man can sound,
Or put to his omnipotence a bound?
He made us to his image; all agree;
That image is the soul, and that must be,
Or not the Maker's image, or be free.
But whether it were better man had been
By nature bound to good, not free to sin,
I wave, for fear of splitting on a rock."

*Mene*, *Mene*, *Tecel*, *Upharsin*, a barodd i wynebpryd Belsassar ddelwi, i'w feddyliau gyffroi, ac i rwymau ei lwynau ddattod; canys geiriau oeddynt uwch law ei wybodaeth ef a holl ddoethion Babilon: felly y mae

amryw byncian yn yr Ysgrythyrau, goruwch dynol amgyffrediadau; ar ba rai y sylfaenir yr ymddadleuon. Ac nid ydyw hyny ryfeddod; canys nid eill dynion yn wastadol ddeall, na chwilio allan y cuddiedig bethau yn nirgeloedd anian: llai o lawer y gallant amgyffred cyfrinachol ddirgeledigaethau yr Hollalluog, yr Hwn a elwir Ffynnon doethineb, a cher bron yr Hwn nid ydyw yr holl ddoethineb dynol ond ffolineb. Gan hyny, ni ddylai dyn ysgrifenu ar destynau goruchel pwysfawr, ond gyda sanctaidd a pharchedig ofn; rhag iddo dramgwyddo wrth y graig rwystr, ac iddi ei falu ef yn chwilfriw. Darllenwn y rhanau hyny o'r Ysgrythyrau sydd uwch law ein dealltwriaeth, gyda gofal na phechom wrth eu camsynied; a rhyfeddwn ddoethineb y Goruchaf, "gyda'r Hwn y mae pethau dyfnion a chuddiedig; Efe a ŵyr beth sydd yn y tywyllwch, a chydag Ef y mae'r goleuni yn trigo."

Na ymrysoned ein gwladwyr uniaith yng nghylch sylwedd neu ddeongliad y rhanau hyny o air Duw sydd guddiedig oddi wrthym; canys mawr lafur a gymmerodd amryw dduwiol ddysgedigion i gymharu yr ieithoedd dwyreiniol, ym mha rai yr ysgrifenwyd yr Ysgrythyrau gyntaf gan Moses, y prophwydi, a'r efangylwyr; ond nid oeddynt hwy ddoethach mewn gwirionedd, yn y diwedd, nag oeddynt yn y dechreu. Amryw o honynt yn deongli geiriau yn ol archwaeth eu mympwy eu hunain; megys yr haera rhai, nad ydyw y gair *edifeirwch*, yn yr iaith Roeg, ddim yn arwyddocäu gofid a chystudd am bechod, ond yn hytrach cyfnewidiad,[1] sef credu; ond bydded o'r meddwl a fynont yn yr iaith Roeg, mae wedi dwfn-blanu arwyddocâd o flinder a mawr ofid am bechod yng nghalon pob ystyriol Gymro. Ond yn ddiddadl, cyfnewidiad mawr ym muchedd dyn ydyw gwir edifeirwch; mae gymmaint cyfnewidiad a rhoddi iddo iechydwriaeth yn

[1] Μετάνοια—cyssylltair rhwng *μετὰ, gwedi;* a *νόεω, yr wyf yn deall*—o'r gair *νόος, y meddwl:* felly *μετάνοια* yn y Groeg, sydd gyfatebol i *ail-feddwl,* neu *ail-ystyriaeth,* yn y Gymraeg.

lle colledigaeth: dyma yr adgyfodiad cyntaf, wedi ein meirw i bechod; a dedwydd yw y rhai a gânt ran ynddo; dyma yr ailanedigaeth, ac nid bedydd plant bychain, fal y clywais i wr parchedig yn tystiolaethu yn ei bregeth.

Diolchwn yn ostyngedig i'r Hwn a'n carodd, ac a roddodd ini trwy ei ysbrydoliaeth ddigonol gyfarwyddyd yn yr Ysgrythyrau, fal y gallwn trwy ei rad ef, etifeddu bywyd tragywyddol, heb ymryson yng nghylch pynciau sydd gan belled o'n cyrhaeddiad ag ydyw y nefoedd uwch law y ddaiar; am y cyfryw, ni ddylem ni ond dolefain gyda Phaul, "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau Ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt! Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd? neu pwy a fu gynghorwr iddo Ef? Neu pwy a roddes iddo Ef yn gyntaf, ac fe a delir iddo drachefn? Canys o hono Ef, a thrwyddo Ef, ac iddo Ef y mae pob peth: iddo Ef y byddo gogoniant yn dragywydd. Amen."[1]

[1] [*Rhuf.* xi. 33-36.]

# TRAETHAWD

## AR LYWODRAETH A DEFODAU Y BRYTANIAID.[1]

### AT HYBARCH GYMDEITHAS Y GWYNEDDIGION YN LLUNDAIN.

YN gymmaint ag i'r testyn a roddasoch ger bron ysgrifenyddion rhyddiaith Gwynedd, sef Llywodraeth a Defodau y Brytaniaid, sefyll y llynedd heb i un anturio ymgyffwrdd ag ef, meddyliais y byddai rhai o'm brodyr yn ddiolchgar imi am symmud y testyn hwn heibio, gan felly roddi achlysur i chwithau dynu y llen a dwyn i'r golwg destyn arall a fyddai fwy dirnadwy iddynt; myfi, yr annheilyngaf o honynt, a feiddiais grynoi rhywfaint o wasgaredig feddyliau, a chyda phetrusder eu hoffrwm ger eich bron ar allor gostyngeiddrwydd. Cydwybodol wyf fod mynych lithriadau yn fy narostwng i'r angenrheidrwydd o fod gan fynyched tan gerydd eich fflangellau, yr hyn, fel yr wyf yn gobeithio, y gwnewch faddeu, gan mai gwaith brys un anwybodus mewn deddfau ac elfenau llywodraeth ydynt.

*Nocturnæ lucubrationes* ydynt, tywyll ac ammherffaith sylwiadau a ysgrifenwyd wrth ganwyllau hanner goleu. Myfi a droseddais y terfynau a osodasoch yn y testyn, trwy fyned heibio i Gadwaladr, a dechreu gyda'i hynaif, Adda fab Ion o Eden: a disgynais i lawr y genedlaeth o lin i lin hyd at Lywelyn ab Gruffydd, y terfyn arall a roddasoch, yr hwn sydd deilwng enw i derfynu traethiadau amgenach ysgrifenyddion fil o weithiau, nag ydyw eich ufudd wasanaethydd,

MERVINIENSIS.

*Chwefror* 9, 1792.

[1] [Ysgrifenwyd y Traethawd hwn yn lled fuan ar ol y Traethawd ar *Ryddid*. Pe cawsai yr Awdur gyfleusdra i'w ddiwygio ym mhen blynyddoedd ar ol ei gyfansoddi, digon tebyg y buasai yn cyfnewid rhai pethau ynddo, yn gystal o ran iaith ag o ran syniadau, megys y gwnaeth yn y Traethawd hwnw; ond nid ymddengys iddo erioed ei weled ar ol ei anfon i Gymdeithas y Gwyneddigion, yn y flwyddyn 1792. Cedwir y gynysgrif o hono ym mhlith y "Llawysgrifau Chwanegol" (rh. 15,059) yn y Gywreinfa Brydeinig yn Llundain.]

# TRAETHAWD

## AR LYWODRAETH A DEFODAU Y BRYTANIAID.

### RHAN I.

**Y BYD yn grëedig trwy ddeddf cyssondeb—Deddf anian yn dwyn Adda i wybodaeth fod Duw—Ond trwy ddadguddiad yn cael gwybod ei ewyllys—Y deddfau traddodiadol o hyny i'r Diluw—Eu hadnewyddu â Noah a'i feibion—Cymmysgiad yr ieithoedd—Cenedlaeth yn cyfanneddu Prydain.**

WEDI i'r Bod anfeidrol o allu a doethineb greu gweledigion ac anweledigion, a'r holl grëedigaeth yn rhod berffaith, a gosodedig mewn trefn yn ol deddf cyssondeb; ac anadl einioes y Creawdydd wedi ennyn bywhâd ym mhob gïeuyn a gwythen o Adda; megys un yn deffro o drymgwsg, a chwbl anghof o'r hyn aeth heibio, dygodd ei olygon waith rhyfeddu i'w fyfyrdod, wrth ganfod y ffurfafen ddysgleir-las, a siriol dywyniad yr heulwen. A chyn iddo hanner ymddigoni ei olwg, wele y naill ryfeddod yn goddiwes y llall, a phyrth ei glyw yn dreiddiedig gan beraidd ganiadau cantorion y llwynydd; arogldarth y ddaiar newydd grëedig a'i dolydd blodeuog yn dra boddgar i'w drydedd synwyr; ei aelodau mewn nerth ac ystwythder, a gallu i fyned ac ymattal, rhedeg a gwrthlamu wrth ei fodd; ei synwyrau oll mewn cyflym weithrediad; ymollyngodd llinynau ei ymadrodd, a'i lais ei hun a barodd i'w enaid ddychlamu mewn dyeithr gyffroad. Wedi i'r cythryfwl hyn yn ei feddwl dawelu ychydig, deddf anian a barodd iddo gydnabod a chredu fod yn rhaid fod Duwdôd annhraethol ei fawrhydi i wneuthur y rhyfeddodau hyn oll: onid perthynasau â phriodolaethau y Duwdod hwnw oeddynt gwbl ddyeithrol iddo; y modd i'w adnabod a'i addoli nis gwyddai, nes i Dduw wneuthur ei hun yn adnabyddus iddo trwy

ddadguddiad; a gosod o'i flaen deddfau i wahaniaethu rhwng da a drwg.

Awduron Iuddewig a ddywedant i Dduw roddi iddo chwech o orchymmynion; o ba rai (medd Maimonides) yr oedd pump yn gwahardd, ac un yn gorchymmyn cyflawniad: sef, (1) Gwaharddiad eilunaddoliaeth; (2) a chabledd; (3) a llofruddiaeth; (4) ac anghyfreithlon gydiad; (5) a lledrad; (6) gorchymmyn sefydlu deddfwyr a swyddogion. Y deddfau hyn a fuont reol buchedd i deulu Seth, a elwir yn yr Ysgrythyr yn feibion Duw: ond y radd bechadurus, nid oedd na deddf na rheol yn eu plith, onid pawb yn gweithredu yn ol cyfarwyddiadau a chwantau ei galon ei hun. Hyn a ddygodd ddialedd nef arnynt, a dinystriwyd trwy y diluw fwy rhifedi o drigolion fil o weithiau, nag y mae y byd yn bresennol yn cynnwys.[1] Dywedir ychwanegu un at y gorchymmynion hyn i Noah, sef gwaharddiad bwyta yr einioes (y gwaed) gyda'r creadur. Diammheu fod deddfau coffadwriaethol neu draddodiadol heb fod yn ysgrifenedig cyn Moesen; canys crybwyllir fod Abram yn cadw deddfau yr Arglwydd.[2] Heb ddeddf ni buasai bechod. Y deddfau traddodiadol wedi y diluw, a elwir gan awduron Iuddewig, *Mitzoth bene Noach*, hyny yw, Deddfau meibion Noah. A chwedi amlhau eilwaith o ddynol ryw, rhyfygasant drachefn gythruddo digllonedd nef, trwy fwriadu adeiladu tŵr, i greu iddynt enw mawr tra safai byd. Ond i'w siomi yn y ffol arfaethiad hwnw, ac yn fwriadol i'w gwasgaru hyd wyneb yr holl ddaiar, yr Arglwydd a gymmysgodd eu hymadrodd, yr hon oedd yr iaith gyffredin iddynt oll, er y crëedigaeth hyd yr awr hòno; ond pa un oedd yr iaith gyntaf a lefarodd Adda yn Eden, a Noah a'i deulu yn yr arch, ac i ba nifer o geinciau y rhanwyd yr iaith hòno, nid ydyw awduron yn cyduno.

Dyma y nod bellaf, debygwn, y gellir treiddio yr

[1] Vide Stackhouse's *Body of Divinity*.
[2] *Gen*. xxvi. 6.

iaith Gymraeg; ond pa mor gynted wedi hyny y daeth y Cymry i Brydain, nid ydyw awduron drachefn yn cyduno; a blin ydyw darllen eu hymrafael feddyliau ar hyny. Rhai[1] mor enllibaidd watworus o hynafiaeth ein cenedl, fel mai prin yr addefant eu bod yn tarddu o Adda; y parch mwyaf a roddant iddynt, ydyw eu cydraddio â'r Hottentotiaid, cyfanneddwyr parth Penryn Da Obaith.[2] Eu breuddwydion a wna eu dinasoedd caerog yn dywarch a gwŷdd yn gogylchu dyrys-lwynydd; a hwyntau yn noethion, a'u gwragedd yn gyffredin rhyngthynt; a'u bod yn byw ar helwriaeth yn unig, gan fwyta anifeiliaid yn ammrwd. Ac un aeth gan belled a dweyd nad oeddynt nac yn hau nac yn llafurio; ac er hyny yn yr un traethawd mae yn dweyd eu bod yn cyfanneddu mewn bythod wedi eu toi â gwellt rhyg. "Tafod gelyn ar ddannedd, ni chydsain ar wirionedd." Yn erbyn y gwaradwyddwyr hyn ysgrifenodd amryw ddysgedigion tramor, heb law ein gwladwyr ein hunain, gan ddal bod prif drigolion yr ynys hon yn genedl ryfelgar, a'u breninoedd yn athrawon cystadl ag arwyr. Rhai o'r ysgrifenyddion hyny sydd yn tybio i'r Brytaniaid ddyfod i'r ynys hon cyn marwolaeth Sem, mab Noah. Ond pa bryd, nac o ba le y daethant, ai o Roeg, Troia, Phenicia, neu Galia, na phwy oeddynt, nid oes achos imi ymholi yn awr. Myfi debygwn, wedi cymmysgiad yr ieithoedd, ddarfod i'r holl genedloedd ymneillduo a chrwydro, dan geisio preswylfëydd; y ran hòno hefyd o wasgaredigion Babel a'r a lynasant wrth eu gilydd trwy ddeall yr iaith Gymraeg, fal ereill, a grwydrasant o'r naill fro i'r llall, hyd oni sefydlasant o'r diwedd yn yr ynys hon. A oedd yma drigolion cyn hyny, ni sylwaf yn awr. Mae yn debygol fod pob llwyth neu genedl tan arweiniad rhyw lywydd; yr arweinyddion hyn

[1] Hector Boethius, Polyd. Virgil, Camden, Hickes, &c.
"De Britannis ante J. Cæsarem non certè habemus.'
CLARKE.

[2] Cape of Good Hope [Penryn Gobaith Da].

oeddynt hynafiaid eu teuluoedd, parchedig gan ereill o herwydd eu hoedran a'u gwybodaeth, oni ddygwyddai i'r ieuangaf ragori ar ei frodyr mewn grym a challineb. Dywedir mai un o'r ieuangaf o feibion ei dad oedd Nimrod, ond iddo ragori arnynt oll mewn gwasgwychder a llwyddiant yn dyfetha bwystfiledd gwylltion; ac iddo yn y diwedd (wedi dychymmygu amryw eirf niweidiol i'r helwriaeth, a nifer mawr o ddynion ieuainc anturiol wedi ymgasglu ato) droi ei arfau yn erbyn ei gymmydogion a'i frodyr, meibion Sem, ac felly eangodd ei lywodraeth trwy greulonder.

Yr oedd awydd y naill radd o ddynol ryw er y dechreuad yn chwennych ymddyrchafu goruwch y llall, ac yn gwneyd eu hunain yn ofnadwy i ereill trwy ladd a dyfetha, ac ymysgwyddo trwy drais, ac yn y diwedd, dringent o radd i radd i fod yn dywysogion. Mae yr enw *tywysog* yn arwyddocäu un yn *tywys* neu yn *arwain* cenedl. Y rhai hyn, wedi eu sefydlu mewn breniniaethau, a feddyliasant yn angenrheidiol lunio cyfreithiau i gospi ac i gadw eu deiliaid mewn ofn, ac i sicrhau eu hunain yn y llywodraeth. Felly ym Mhrydain, gosodasant swyddogion tanynt i ranu y wlad rhwng y deiliaid, pa rai oeddynt i arloesi yr anialwch, ac i lafurio y tir, gan dalu rhyw gyfran o deyrnged i'r brenin, yr hwn oedd yn arddelw bod yn berchenog tir Prydyn[1] oll. Y swyddogion hyn a elwid *Tir-ranwyr*,[2] ac iddynt ym mhen ysbaid o amser waethygu, a gwyrdroi cyfiawnder, trwy dreisio y deiliaid, ac oddi wrth hyny mae *tyranni* y Lladingwyr, a *τύραννοι* y Groegiaid (ac yn Seisneg *tyrants*) yn arwyddocäu *treiswyr*.

Er bod genym hanes (os gellir ei goelio) am ugain brenin ar genedl y Cymry cyn dyfodiad Brutus, ac un ar hugain wedi ef, cyn Dyfnwal Moelmud; eto nid oes grybwylliad fod dim deddfau ysgrifenedig cyn Dyfn-

[1] Vide *Mona Antiqua* [2nd Edit. p. 28].

[2] [*Prydain* (nid *Prydyn*=yr Alban) a olygir.]

wal, yr hwn, medd Ponticus Virunnius,[1] oedd ddewr a doeth, a'r harddaf yr olwg ym mhlith y Brytaniaid. Mae Bale, esgob Ossori, wedi ysgrifenu fal hyn am dano ef:—"*Dunwallo Molmutius, Clotenis Cornubiensum ducis filius, sapientiâ pulchritudine proavos omnes longè exuperans; devictis Loegriæ, Cambriæ, et Albaniæ tyrannis, solus apud Britanos tertius et vicessimus rex imperabat, &c.—Protulitque tandem sermone suo vulgari Britanico pro his perpetuo servandis—*

*Statuta Municipalia—Lib. I.*
*Leges Judiciarias—Lib. I.*

*Has post mortem patris, Belinus rex confirmavit, jussitque Molmutinas vocari. Easdem etiam Gildas Cambrius, in Latinum sermonem transtulit, et Alphredus Magnus in Saxonicum. Fatum obivit postquam* 40 *annis magnificè regnavit, ad templum Concordiæ, quod condiderat Trenovanti sepultus ante Servatorem natum* 430." Hyny yw: "Dyfnwal Moelmud, mab Cloten, Iarll Cernyw, a ragorodd ar ei holl deidiau mewn doethineb a thegwch; efe orchfygodd ormesdeyrnedd Lloegr, Cymru, a'r Alban, ac a reolodd ei hun 23 mlwyddyn; a rhoddodd allan yng nghyffredin iaith y Brytaniaid, er ein bythol ddaioni—

Ddeddfau Rhyddid Dinasyddion—I. Llyfr.
Cyfreithiau Barnedigaethau—I. Llyfr.

Y rhai hyn wedi marwolaeth ei dad, Beli Frenin a'u cadarnhaodd, ac archodd eu galw "Cyfreithiau Moelmud;" yr un rhai a gyfieithodd Gildas i'r Lladin, ac Alffred Fawr i'r Seisneg; a chwedi iddo deyrnasu yn ardderchog, bu farw o angeu disyfyd, a chladdwyd ef yn Nheml Cydundeb, yr hon a adeiladasai ef yn Nhroia Newydd, cyn geni ein Iachawdwr 430."

[1] [Ponticus Virunnius was a native of Trevisa, in Italy. He is principally known as the author of an Epitome of the first six Books of Geoffrey of Monmouth's British History, which he published in the year 1490.]

Ym mhlith ereill o ddefodau Dyfnwal, fe a benododd amryw ddinasoedd a themlau yn noddfäu i achlesu ffoaduriaid; y ffyrdd hefyd a oeddynt yn arwain i'r manau hyny oeddynt noddfa rhag trais y dialydd gwaed. Yr aradr oedd yn noddfa i'r hwsmon; hyny oedd gyfraith ym mhlith y Seison hefyd, pan grogid y tad am fradwriaeth, "*The father to the bough, the son to the plough.*" Dyfnwal a fesurodd hyd a lled yr ynys, fel y gwelir yn y xixfed bennod o'r ail Llyfr yng Nghyfraith Hywel Dda, y geiriau hyn:—"Cyn dwyn coron Llundain a'i theyrnwialen gan y Seison, Dyfnwal Moelmud a oedd frenin ar yr ynys hon; a'r gwr hwnw oedd awdurdodus a doeth, ac ef a wnaeth gyfreithiau da yn yr ynys hon yn gyntaf, a'r rhai hyny a barhasant hyd yn oes Hywel Dda, fab Cadell. Ac yna Hywel a wnaeth gyfreithiau newydd, ac a symmudodd rai o gyfreithiau Dyfnwal; ac ni symmudodd Hywel fesurau tiroedd yr ynys hon, namyn fal y gadewis Dyfnwal hwynt, canys goreu mesurwr a fu oedd efe. Efe fesurodd yr ynys hon o Benryn Blathaon[1] yng Ngogledd Prydyn, hyd ym Mhenryn Penwaed[2] yng Nghernyw, sef yw hyny, 900 milltir, a hyny yw hyd yr ynys; a'i lled, o Grugyll ym Mon[3] hyd yn Soram yng nglan Môr Udd, 500 milltir."[4]

Dyfnwal hefyd a ranodd y deyrnas yn gantrefydd, yn gymmydau, maenolydd, trefydd, gafaelau, rhandiroedd, tyddynod, ac erwau, fal y gwelir yn y ddangoseg isod.

Mae yn anhawdd deall pa ryw fodd y gallai efe gael 900 * * * * * * * * * * * * * *[5] ei lled, gan fod ei filltiroedd ef, gan agosed ag y gellir cyfrif, gymmaint $3\frac{5}{8}$ o'r milltiroedd presennol, fal y gellir deall wrth ei hydfesur, tudalen 117.[6]

[1] Caithness Point in Scotland.
[2] Land's End [Penwith] in Cornwall.
[3] [On the West coast of Anglesey.]
[4] [See *Welsh Laws*, i. 184.]
[5] [Worn away in the original.]
[6] ["By this computation the Welsh mile contained three miles, six furlongs, twenty-seven poles, and a yard and a half of present measure."—*Aneurin Owen*, *Welsh Laws*, i. 185. *note*.]

| | 2 | 12½ | 4 | 4 | 4 | 4 | 4 |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Cantref. | Cwmmwd. | Maenol. | Tref. | Gafael. | Rhandir. | Tyddynod. | Erwau. |
| 1 | 2 | 25 | 100 | 400 | 1600 | 6400 | 25600 |
| | 1 | 125 | 50 | 200 | 800 | 3200 | 12800 |
| | | 1 | 4 | 16 | 64 | 256 | 1024 |
| | | | 1 | 4 | 16 | 64 | 256 |
| | | | | 1 | 4 | 16 | 64 |
| | | | | | 1 | 4 | 16 |
| | | | | | | 1 | 4 |
| | | | | | | | 1 |

Hydfesur Dyfnwal oedd fel y canlyn:—[1]

| | | 3 | 3 | 3 | 3 | 3 | 3 |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Milltir. | Grwn tir. | Naid. | Cam. | Troedfedd. | Palf. | Modfedd. | Hyd Heidden. |
| 1 | 1000 | 3000 | 9000 | 27000 | 81000 | 243000 | 729000 |
| | 1 | 3 | 9 | 27 | 81 | 243 | 729 |
| | | 1 | 3 | 9 | 27 | 81 | 243 |
| | | | 1 | 3 | 9 | 27 | 81 |
| | | | | 1 | 3 | 9 | 27 |
| | | | | | 1 | 3 | 9 |
| | | | | | | 1 | 3 |
| | | | | | | | 1 |

Wrth hyn yr ymddengys yn ol rheol rhifyddiaeth fod un filltir Gymreig cymmaint a 3⅜ Seisnig, sef y milltiroedd presennol.

Dyfnwal oedd y cyntaf a wisgodd goron aur, gan benodi—"Un goron arbenig a gynnelir yn yr ynys hon, ac yn Llundain cadw y goron; a thair prif dalaeth a gynnelir tani; un yng Nghymru benbaladr, arall yn Nin Edin yn y Gogledd, a'r drydedd yng Nghernyw." Wrth y goron arbenig y meddylir awdurdod y mechdeyrn, sef brenin Prydyn oll, megys yr oedd Dyfnwal, Lludd, Caswallon, Cynfelyn, &c.; a thywysogion y taleithiau, o ba rai yr oedd yn yr ynys hon, pan ddaeth Cæsar yma gyntaf, ddau ar bymtheg,[2] a phob un yn rheolydd anymddibynol yn ei dalaeth ei hun, yn cadw llysoedd barn a swyddogion, ond ei fod yn gorfod (megys cyfaddefiad) talu mechdeyrn-ddyled i'r unben, sef brenin Prydyn oll, ac ar achos pwysfawr, hwy unent eu lluoedd dan luman yr unben, er mwyn cyffredin ddiogelwch, megys yr ymgynnullasant

[1] Vide Mr. John Jones's *Letter to Mr. Tate.* I have seen it also in a MS. of Mr. Wm. Morris, of Cefn y Braich, both contemporaries with Mr. R. Vaughan, of Hengwrt; also Wotton's *Leges Wallicæ.*

[2] "Each cantoned realm a sovereign ruled distinct."—Vide Rolt's *Cambria.*

at Gaswallon yn erbyn Cæsar; yr hyn gallineb o uno eu byddinoedd yn erbyn y gelyn, byddent yn rhy ammharod i'w wneuthur, fal y sylwodd Lucan am danynt:—"*qui singuli pugnabant universi vincuntur:*" "wrth ymladd yn wahanol, gorchfygwyd yn hollol."

Ond i ddychwelyd: rhai a ddywawd gael o Ddyfnwal ei ladd yn y deml a adeiladasai ef ei hun yn Llundain, yr hyn mae Bale yn yr ymadrodd rhagflaenol yn crybwyll yn dywyll; canys mae *fatum* yn arwyddocäu weithiau angeu.[1] Ac ar ei ol, ei fab Beli a chwanegodd at gyfreithiau ei dad; a chan fod dadl yng nghylch terfynau y ffyrdd a fesurasai ei dad, efe a fynodd eu palmantu â cheryg, hyd a lled y deyrnas, a'r amrywiol groesffyrdd a oeddynt yn arwain o'r naill ddinas i'r llall. Gwrgant Farfdrwch a ddilynodd Beli yn llywodraeth Brydain, a brenines ei fab ef, Cuhelyn, a elwid Marsia, a chwanegodd lawer at gyfreithiau Dyfnwal, ac a'u galwodd Cyfreithiau Marsia. Af ym mlaen yn y bennod nesaf i brofi mai cyfraith yr hen Frytaniaid ydyw gwreiddyn a sylfaen y gyfraith a arferir ym Mhrydain y dydd heddyw.

---

## RHAN II.

MAE Leland, Higden, Sherington, a Bale,[2] ac amryw ereill, yn tystio ddarfod i Gildas gyfieithu deddfau Dyfnwal a Marsia i'r Lladin; ac i Ethelbert, Ina, Alffred,[3] ac Iorwerth y Cyffeswr, deddf-deyrnedd y

[1] Anianol; dro arall, angeu trwy ddwylaw gwaedlyd.

[2] Vide Leland, *Comment de Script.*; Sherington, *de Angl. Gent.*; Bale, *Cent.* 2, cap. 24.

[3] Alfred, the great English or rather Saxon lawgiver, called his body of laws *Marchitii lage*; and according to Higden, *Mercelenaga*, which is as much as to say *the Laws of Martia.* His principal translators were *John d' Erigena*, alias *Scotus*, and *Asserius Menevensis*, both natives of Menevia, and

Seison, fynu eu cyfieithu drachefn i'r Seisneg. Mae Speed yr hanesydd, allan o waith Gwilym Malmsbry, Gwilym Thorn, ac ereill, yn traethu am Ethelbert, pedwerydd frenin y Seison yn ol Hengist, yn y geiriau hyn:—"*Y brenin ardderchog hwn, gan ofalu am lesâd ei ddilynwyr, a fynodd gyfieithu cyfreithiau ei wlad i'w mamiaith eu hunain.*"

Felly, mamiaith Ethelbert a'i ddilynwyr oedd y Seisneg, a chyfreithiau y wlad oeddynt un ai yn Gymraeg, neu yn Lladin, wedi eu cyfieithu; ond os dywawd gwrthddadlydd y gallai cyfreithiau Dyfnwal a'i ddilynwyr gael eu cwbl ddiddymu gan y Rhufeiniaid, mae yn hawdd egluro na chawsant. Yn gyntaf, unig fwriad y Rhufeiniaid oedd goresgyn gwledydd, a'u dwyn dan deyrnged, ac nid newid eu cyfreithiau.

Mae Buddug,[1] Caradog ab Brân,[2] a Gwallawg ab Llenawg,[3] yn eu hymadroddion wrth eu milwyr cyn ymladd â'r Rhufeiniaid, yn eu hannog i ymwroli, ac amddiffyn eu gwragedd, eu plant, a'u gwlad, a'u rhyddid, ond nid ydynt yn son un gair bod arnynt berygl gael newid eu cyfreithiau. Mae yn yr Ysgrythyr dystiolaeth hynod nad oedd y Rhufeiniaid dueddol i newid cyfreithiau gwlad wedi ei goresgyn; canys gwelir fod yr archoffeiriaid Iuddewig yn cynnal eu swyddau ac yn aberthu yn ol deddf Moesen megys cynt; a phan y mae yr Iuddewon yn cyhuddo yr Iesu ger bron y barnwr Rhufeinaidd, nid yw Peilat yn son un gair am gyfraith Rhufain; ond y mae yr Iuddewon yn dyweyd, "Y mae genym ni gyfraith, ac wrth hòno y mae Efe yn haeddu marwolaeth." Felly, gan nad ydyw Cæsar, Tacitus, na Lucan, yn crybwyll

brought up in that learned college. The said John for learning's sake, travelled to Athens, and continued there many years studying the Eastern languages, and secret mysteries of philosophy; returning through France, he there translated the works of Dionysius Areopagita from the Greek into the Latin. Being returned into Wales, he, together with the said Asser, were sent for by King Alfred, who then founded the University of Oxford, and they were the first professors of learning in that University. Vide Powel's *Hist.*

[1] Boadicea.

[2] Caractacus, prince of the Silures, &c. [See note, p. 35.]

[3] Galgacus, prince of the Caledonii.

am wyrdroi deddfau Dyfnwal, diammheu iddynt sefyll hyd ddyfodiad y Seison.

Mae Bede[1] yn crybwyll yr un peth â Speed, ddarfod i Ethelbert gyfieithu cyfreithiau y wlad i'r Seisneg. Mae Iorwerth y Cyffeswr yn cyfaddef mai yr un un oedd ei gyfraith ef â chyfraith y Brenin Arthur.[2] Ac ym mhellach na ddarfu i Wilym Oresgynwr newid deddfau y Seison, mae y dysgedig Selden yn dyst: ac un arall, oedd offeiriad teulu[3] i Wilym ei hun, sydd yn dywedyd yn niwedd llyfr cyfraith fal hyn:— "Llyma y cyfreithiau y mae Gwilym Frenin yn eu caniatäu i'w ddeiliaid, ac a ydynt yr un gyfreithiau â rhai Iorwerth y Cyffeswr." Ac mewn rhyw ymrafael rhwng Gwilym a'i arglwyddi, fe ystwythodd i gymmeryd ei lw, ger bron Lanffranc yr archesgob —"y cadwai efe hen gyfreithiau y deyrnas, pa rai a sefydlwyd gan ei freiniol hynafiaid," ac yn enwedig y rhai hyny o eiddo Iorwerth y Cyffeswr."[4]

Nid oedd y Ddeddf Fawr (*Magna Charta*) onid cadarnhâd o hen gyfreithiau y deyrnas. A chan na ddaeth cyfnewidiad mawr yn y byd yn y cyfreithiau wedi hyny, onid yn unig chwanegu atynt a'u diwygio, amlwg ydyw mai cyfreithiau yr hen Frytaniaid er cyn geni Crist rai cantoedd o flynyddoedd, sydd arferedig mewn rhan, drwy holl deyrnas Prydain y dyddiau presennol.

[1] Bed. *Eccles. Hist.* lib. 2. cap. 5.
[2] In legib. Edvardi Confess. 35.
[3] Ingulphus Croylandensis, vide Taylor's *Hist. Gavelkind*, p. 59.
[4] Ex legib. Guli. I.: "ut omnes habeant et teneant legem regis Edvardi, in omnibus rebus." "Fel y gallent oll gaffael ac arfer cyfraith Iorwerth Frenin ym mhob rhyw achosion."

## RHAN III.

**Awdurdod y Derwyddon mewn barn a phynciau pwysfawr y llywodraeth ym Mhrydain.**

Barnu yn ol y gyfraith oedd yn gyfan-gwbl yn llaw y Derwyddon, ac awdurdod y brenin a'i swyddogion yn unig oedd rhoddi eu dedfryd hwynt mewn grym a gweithrediad. Gorchwyl y Derwyddon oedd barnu drwg weithredwr i farwolaeth, a swydd y brenin oedd gorchymmyn ei swyddogion i'w ddienyddu. Prif orsedd y Derwyddon oedd ym Mon; ymgynnullent oll yng nghyd unwaith yn y flwyddyn, i roddi i fyny gyfrif o'r achosion a roddwyd yn eu gofal, i'w prif olygwr, a elwid yr Archdderwydd;[1] ac o byddai dadl heb ei sefydlu gan un o honynt, yno y penderfynid yn gwbl.[2] Yr oedd eu hawdurdod ar y lleygion gan gymmaint a bod yn achos dychrynadwy iawn gan dywysog syrthio dan eu digofaint. Eu hesgymmundod oedd ofnadwy gan y cyffredin bobl feddwl am dano; canys nid oedd y cyfryw un esgymmunedig deilwng o swydd yn y byd; gwaherddid pawb rhag rhoddi iddo luniaeth, nac un gymmwynas arall; ac nid oedd iddo un achles tan y gyfraith, gan nad oedd gosp i bwy bynag a'i lladdai; a chan eu bod yn credu anfarwoldeb yr enaid, mwy truenus fyth oedd cyflwr y fath, gan nad oeddynt yn addaw iddo faddeuant yn y byd oedd i ddyfod.

Dywedir eu bod yn gyfarwydd yn yr holl gelfyddydau, a bod eu dysgyblion ugain mlynedd yn eu dysgu ar dafodleferydd, o herwydd na byddent yn rhoddi eu hathrawiaeth mewn ysgrifen; oddi wrth hyny y

[1] "Qui summam inter eos habuit auctoritatem."—*Cæsar de Bel. Gallico.*

[2] "Ubi omnes undique qui controversias habuere convenerunt, eorumque judiciis decretisque paruerunt."—*Ibid.*

tarddodd y gair *Cywydd*, sef *cof-wydd*, *cof-waith*, medd y Parchedig Mr. Rolant.[1] Llwynogod llawn o gallineb oeddynt, ac yn ymhyfrydu o gadw y wlad mewn anwybodaeth a ffolineb. Ymhona rhai mai athrawiaeth a chrefydd y cynddiluwiaid oedd ganddynt, a bod yr athrawiaeth a'r gwybodaeth a dderbyniodd Adda oddi wrth ei Greawdydd, wedi disgyn o lin i lin i feibion Noah, ac iddo, gyda ychydig o gyfeiliornad, gael ei gadw yn draddodiadol yn llwythau y Derwyddon, ac oddi wrthynt hwy, i rai o'r prif-feirdd dderbyn yr addysg o drysori yn y cof, pa faint bynag o ddoethineb a dysg a gyrhaeddent heb ei ysgrifenu, megys y ddichell benaf i gadw y wlad mewn anwybodaeth, a thrachefn i'r gyfrinachol orchest gael ei haddysgu o athraw i ddysgybl hyd y dydd heddyw.[2]

[1] [Rowlands, *Mona Antiqua*, 2nd Edit. p. 61.]

[2] Ond bu agos i'r hen gelfyddyd barchedig hon fyned ar ddifancoll yn ddiweddar, ar farwolaeth Lewis Hopcin; y pryd, trwy ryfeddol ragluniaeth, yr achubodd Iolo Morganwg y wreichionen oedd ar ddiffodd. A rhag iddi fyned i'r cyfryw adwy gaeth o hyn allan, yr ydys yn bwriadu derbyn dysgyblion i'r gyfrin, ac archiad iddynt gyfarfod yr archdderwydd yng Nghaerludd, dan rybudd un dydd a blwyddyn. Rhyfedd na buasai Taliesin, neu Fyrddin, neu ryw frudiwr arall, yn prophwydo yr adferiad hwn o'r hen Dderwyddoniaeth!

## RHAN IV.

DEDDFAU y Brytaniaid o Les ab Coel hyd farwolaeth Cadwaladr.

WEDI Dyfnwal Moelmud a Marsia, nid oes hanes ychwanegiad na diwygiad yn y cyfreithiau y rhawg o amser. Pa un a wnaeth Blegywryd, y 24ydd frenin yn ol Dyfnwal, ragoriaeth ynthynt, nis gwn; y mae hanes am dano, ei fod yn gyfarwydd hynod yn y celfyddydau.

Gwedi i'r Brenin Lles ab Coel dderbyn y grefydd Gristianogol, fe wnaeth eglwysydd yn noddfäu yn lle temlau eulunod;[1] pa fanau a barhasant i achlesu fföedigion hyd ddiwedd llywodraeth y Cymry. Darfu i'r doethaf o freninoedd Israel droseddu deddf noddfa, pan archodd ladd ei gefnderw ei hun yn ymaflyd yng nghyrn yr allor. Amcanodd y tywysog enwog Gruffydd ab Cynan fradychu yr Arglwydd Gruffydd ab Rhys a'i frawd Hywel i ddwylaw y Seison, er eu bod wedi cymmeryd noddfa yn Eglwys Aberdaron: yr hyn weithred anghyfiawn o eiddo y tywysog, a wrthwynebodd yr offeiriaid â'u holl allu, gan gynnorthwyo y tywysogion i ddiengyd am yr einioes o hyd nos. Yr oedd noddfa yn achlesu rhag gelyn a fyddai â theimlad am gyfraith y wlad yn dda; ond rhag dibriswyr Duw a dynion a'u holl gyfreithiau, nid oedd achles mewn noddfa mwy na man arall, oddi eithr bod yno gryfach muriau a chloiau. Ffoawdd pobl Meirion mewn noddfäu rhag Hywel a Chynan, meibion Owain Gwynedd; ond wedi i'r tywysogion addaw iddynt eu hoedlau, dychwelasant bawb i'w dref. Mae traddodiad i Iorwerth Drwyndwn ffoi rhag ei frawd Dafydd ab

[1] Gwel yn y blaen am Noddfa.

Owain Gwynedd, a chymmeryd noddfa ym Mhennant Melangell, ym mha le y bu efe farw. Trigolion y fan hyny a ddangosant ei feddrod hyd heddyw, a'i lun yn arfog ac yn ei lawn gorffolaeth, ar faen ei fedd, ei drwyn yn ddrylliedig, a'i gi yn gorwedd ar ei draed.

Y nesaf a chwanegodd at gyfreithiau ei wlad yn ol Lles ab Coel oedd y Brenin Arthur, yr hwn a wnaeth ddeddf i'w farchogion; tyngwyd hwynt i ymuno i wrthsefyll eu gelynion, i amddiffyn y treisiedig gweddwon ac amddifaid, ac na wrthodent ymladd â phwy bynag a'u cynnygiai. Y Brenin Iorwerth y Trydydd a anfonodd am Dudur Fychan ab Grono ger ei fron, ac a'i bygythiodd yn chwerw, o herwydd iddo gymmeryd enw marchog heb ei freninol genad ef. Tudur yn ddiarswyd atebodd y brenin, fod gantho ef, trwy osodedigaeth ac arwr-ddeddf y Brenin Arthur, awdurdod i arddelw enw marchog heb genad neb, gan fod gantho dair o freintiau cyfaddasol, sef (1) ei fod yn bendefig o waedolaeth; (2) fod gantho ddigonol etifeddiaeth; ac (yn 3) ei fod yn ddewr ac yn anturiol, "yr hyn" (eb efe) "os ydyw eich mawrhydi yn ammheu, dyma fy maneg yn wystl (gan ei thaflu i lawr), mi anturiaf y maes yn ebrwydd, penodwch fy ngelyn." Ar hyny y brenin, gan ryfeddu ei eofnder, a ganiataodd iddo ef fod yn farchog.

Wedi marwolaeth Arthur, nid oes nemawr o son am ddefod na chyfraith, onid cyfraith y cleddyf, y rhawg o amser. Wedi bod gwŷr Arfon gyhyd o amser yn rhyfela yn erbyn Seison Gogledd-dir Lloegr gyda Rhun ab Maelgwn Gwynedd, hyd onid oedd eu gwragedd wedi rhoi heibio bob gobaith am danynt; ac yn ol enghraifft gwragedd Sparta, pan fu eu gwŷr un mlynedd ar ddeg yn rhyfela yn erbyn y Messeniaid, a ddechreuasant gydorwedd â'u gweision. Rhun, yn ol dychwelyd, a ganiataodd i'w filwyr freintiau rhagorach nag ereill o Wynedd, a elwid Breiniau Gwŷr Arfon: pa rai, yng nghyd ag ereill ddeddfau a luniasai ef, oeddynt i'w gweled yn ddiweddar mewn hen lyfr ys-

grifen, dan enw Cyfreithiau Rhun ab Maelgwn, yn llyfrgell Hengwrt.[1]

Gwedi hyny gwladychodd Cadfan Frenin, gorwyr Rhun ab Maelgwn; ac yn ei ol yntau Cadwallon ei fab, yr hwn oedd ryfelwr enwog, a'r fflangell chwerwaf i'r Seison yn nesaf i Arthur a'r a lywodraethodd Brydain erioed. Mae Llywarch Hen, yn ei farwnad, yn dyst ei fod yn erlid y Seison o fangre bwygilydd, heb orphwys:—"Lluest Cadwallon ar Wy," &c.; "Lluest Cadwallon ar Ddyfrdwy," &c.; "Lluest Cadwallon ar Gonwy," &c.[2] Yr oedd y Seison yn credu ei fod o ryw anian ffyrnicach na dyn daiarol; canys gwelais mewn geirlyfr Seisnig grybwyll am dref ym Mrynaich, sef Gogledd-dir Lloegr, a elwid *Dilston, i. e., Devil's Town*, h. y., Tref y Cythraul, y dref hòno (medd yr hanesydd) sydd hynod am fuddugoliaeth a gafodd y Seison yn erbyn Cadwallon, brenin y Brytaniaid, yr hwn am ei greulonder a enwid yn *gythraul*. "Nid gair, gair alltud ar Gymro." Ac "nid treftâd anrhydedd Arglwydd;" canys ni ddisgynodd anian a llwyddiant Cadwallon i Gadwaladr ei fab, yr hwn oedd wedi sugno Seisnes; canys ei fam oedd chwaer i Penda, brenin y Mars. Ond dywawd rhai i Gadwaladr ddechreu ar y Seison o ddifrif, gan eu gorchfygu mewn tair brwydr, a lladd dau o'u breninoedd; pe buasai yn canlyn ar ei ddyrnod, ac yn gorphen y gwaith a ddechreuodd ei dad, sef deol y Seison yn llwyr o'r ynys. "Ond yr hyn ni fyno Duw ni lwydd;" canys dirfawr bla a ymwelodd â gweddillion y rhyfel, a chiliodd Cadwaladr a'i arglwyddi llên a lleyg i Lydaw, ac oddi yno, medd yr hanes, i Rufain, ym mha le y cyfnewidiodd ei goron freninol am gwcwll monach, gan ddilyn y ddiareb—"Bid lyfn dy baderau, bid rydlyd dy arfau;" ym mha grefyddol broffes y bu efe farw yn y fl. 688.

[1] Vide *Archæologia Britannica*, p. 258.
[2] Ymladdodd â'r Seison bedair prif gad ar ddeg, a 60 cyfarfod.

## RHAN V.

LLYWODRAETH y Tywysogion—Gosodedigaeth Rhodri Mawr—Cyfraith Hywel Dda, &c.

YN ysbaid yr wyth mlynedd o ymadawiad Cadwaladr o'r ynys hyd ddychweliad Ifor ab Alan, ac Idwal Iwrch, y cafodd y Seison eu llawn rwysg i oresgyn holl Loegr. Y Brytaniaid, rhwng cleddyf, haint, a newyn, a yrwyd i'r creigiau a'r mynyddoedd i ymborthi ar wraidd a llysiau y ddaiar. Wedi i Ifor ddychwelyd â milwyr gydag ef o Lydaw, trwy wrol ymdrin â'r Seison, ynnillodd yn ol amryw barthau o'r ynys. Gwedi ei farw, Rhodri Molwynog, Cynan Tindaethwy, a Merfyn Frych, a lywodraethasant Gymru ol yn ol. A mab i'r Merfyn hwn, o Essyllt, unig ferch ac etifeddes Cynan Tindaethwy, oedd Rhodri Mawr; a mawr yw ei glod gan amryw hanesyddion, glew oedd mewn rhyfel, a doeth mewn heddwch. Er mwyn parotach cyfraniad cyfiawnder a barn i'w ddeiliaid, fe a ranodd ei dywysogaeth yn dair rhan, gan osod tri llys cyfiawnder ynthynt; y rhai hyn a lywodraethodd ei hun tra fu byw, a chwedi ei farw gadawodd hwynt i'w dri meib hynaf; sef Llys Aberffraw a Thywysogaeth Gwynedd i Anarawd, ei fab hynaf; Llys Dinefwr a Thywysogaeth Deheubarth i Gadell, ei ail mab; Llys Mathrafal a Thywysogaeth Pywys i Merfyn, ei fab ieuangaf; gan eu galw yn dri thywysog taleithiog. Ac o barch i'r cyntafanedig, sef Anarawd, gorchymmynodd ei alw yn Frenin Cymru oll, ac a archodd i Gadell a Merfyn dalu iddo deyrnged, sef melged o Ddeheubarth, a pheillged o Bywys; ac iddo yntau, sef Anarawd, dalu teyrnged i frenin Llundain, fal yr oedd cyfraith Dyfnwal Moelmud yn erchi. Bwriad Rhodri oedd cryfhau y Dywysogaeth wrth ei rhanu yn y modd hyn rhwng ei feibion, gan erchi

iddynt hwy a'u hetifeddion fod yn un a chytûn â'u gilydd, a phryd bynag y cafai un o honynt ei orthrymu gan y gelynion, bod i'r ddau ereill ei gynnorthwyo (*totis viribus*) â'u holl luoedd. Ac os dau o'r tywysogion hyny a ymrafaelient â'u gilydd, archodd i'r trydydd farnu rhyngthynt a'u cymmodi. Gorchymmynodd hefyd gadarnhau cestyll ac amddiffynfëydd, ac adgyweirio temlau a chrefydd-dai; ac ym mhob oes fod i hanes Brydain a'i breninoedd a'u rhyfeloedd gael ei gadw yn ofalus gan yr arwyddfeirdd yn y monachlogydd a'r crefydd-dai; ac ychwanegu ato o bryd i bryd, fal y byddai yr amseroedd yn gofyn, er copinod ac ysbysrwydd i'r oesau a ddelai, ac i goffäu anrhydedd, urddas, a gwrolder cenedl y Brytaniaid.

Ond er cystadl allai amcan Rhodri yn hyn fod, methodd y dyben, ac y mae yn dangos yn eglur "nad dewin onid Duw;" canys y tywysogion, yn lle cynnorthwyo eu gilydd, a unent â'u gelynion yn erbyn eu brodyr, hyd tra parhaodd byddinoedd ar eu helw. Rhanu etifeddiaeth y tad rhwng y meibion, neu y brawd rhwng y brodyr, allai fod yn arfer ganmoladwy mewn gwledydd anghyfannedd, er mwyn lluosogi a chyfoethogi y trigolion, megys yn eang annosbarth-dir America; onid yng Nghymru hyny a fu lwyr ddinystr y genedl. Canys wrth ranu ac ail ranu, a hyny fyth ac hefyd, fe ai helaeth dreftadaeth arglwydd ardderchog, mewn dwy oes neu dair, agos yn ddiddym. Diammheu fod yr arfer hon o ranu, mewn grym er dyfodiad cyntaf y Brytaniaid i'r ynys; dywedir ddarfod i Brutus ranu ei deyrnas rhwng ei dri meib; ac fal y dywedwyd eisys, Rhodri a ranodd Gymru rhwng ei dri meib yntau. Megys eglur brawf o wanychiad llywodraeth tywysog, wrth ranu ei etifeddiaeth rhwng ei feibion, rhoddaf yma oleufynag o hyny yn Nhywysogaeth Pywys, yr hon oedd gyfa gan ddisgynydd Merfyn, sef Bleddyn ab Cynfyn, fel y tystia y bardd:—

"Bleddyn ab Cynfyn, bob cwys,
Ei hun bioedd hen Bywys."

Meredydd ab Bleddyn a ranodd Bywys rhwng ei ddau feib, sef Madog a Gruffydd; rhan y cyntaf a elwid yn ol ei enw, *Pywys Fadog*. Madog drachefn a ranodd ei ran rhwng ei dri meib, Gruffydd Maelor, Owain ab Madog, ac Owain Brogyntyn, yr hwn, er ei fod o ordderch, a gafodd ran o etifeddiaeth ei dad, yr hyn fyddai yn arfer wastadol ym mhlith y Cymry, yn enwedig os byddai y cyfryw hil orddeirch yn enwog ryfelwyr, ac yn medru ymysgwyddo eu ffordd; nid oedd eu hanghyfreithlon enedigaeth yn rhwystr iddynt i ddringo i anrhydedd ac awdurdod. Ordderch oedd Athelystan, un o'r breninoedd ardderchocaf fu ar y Seison; felly hefyd Ruffydd, tad Llywelyn, tywysog diweddaf y Cymry. Ond i ddychwelyd at ranu Pywys: Gruffydd a gafodd y ddwy Faelor, Ial, Nant Heudwy, Cynllaith, Glyndyfrdwy, a Mochnant is Rhaiadr; Owain ab Madog a gafodd Mechain is Coed; ac Owain Brogyntyn a gafodd Edeyrnion a Dinmael.[1] Gruffydd Maelor oedd dad i Fadog, ac yntau dad i Ruffydd, arglwydd Dinas Brân, i'r hwn yr oedd pedwar o feibion: yr hynaf, Madog, a gafodd Ial, Maelor Seisneg, a Chastell Dinas Brân; Llywelyn, yr ail mab, a gafodd arglwyddiaethau y Waen a Nant Heudwy; y ddau yma, er cymmaint o wasanaeth a wnaethai eu tad i frenin Lloegr yn erbyn ei dywysog ei hun, a ddifeddiannwyd cyn eu dyfod i oedran, gan Mortimer a Warren, swyddogion y brenin. Gruffydd, y trydydd mab, a gafodd Lyndyfrdwy; a goresgynydd iddo ef oedd Owain Glyndyfrdwy,[2] a wrthryfelodd yn nyddiau Henri IV. Y pedwerydd fab a gafodd Maelor Gymraeg a Mochnant is Rhaiadr. Llyna Bywys Fadog wedi ei rhanu yn dipynau. Edrychwn pa fodd y trefnwyd y rhan arall, a syrthiodd i Ruffydd, brawd Madog, ac ar ei ol ef i'w fab Owain Cyfeiliog, ar ei ol yntau i'w fab Gwenwynwyn, ac oddi wrtho ef y

[1] Beside these three sons, Madoc had a son named Elis, two base-born twins, Cynfric and Einion Efell; and a daughter named Marred, who was wife to Iorwerth Drwyndwn, and mother of *Leolinus Magnus*.

[2] [A elwir yn fwy cyffredin *Owain Glyndwr*.]

galwyd hi *Pywys Wenwynwyn.* Un mab oedd i Wenwynwyn, a elwid Gruffydd; ac iddo ef y bu chwech o feibion, a rhanwyd ei dywysogaeth i gynnifer o ranau rhyngthynt. Owain, yr hynaf, a gafodd Arwystl, Cyfeiliog, Llanerch Hudol, a thraian Caer Einion; Llywelyn, yr ail, a gafodd Mochnant uwch Rhaiadr, a Mechain uwch Coed; Ioan, y trydydd, a gafodd draian Caer Einion; Gwilym, y pedwerydd, a gafodd Fawddwy; Gruffydd, y pummed, Ddeuddwr, Ystrad Marchell, a Theirtref; a Dafydd, y chweched, a gafodd draian Caer Einion. Unig ferch Owain, yr hynaf o'r brodyr hyn, oedd Hawys Gadarn, a briododd John Charlton, y Sais, hynaif yr arglwyddi o'r Castell Coch ym Mhywys. Gwelir wrth hyn i gynnifer ranau y dosbarthwyd Pywys mewn ychydig oesau, ac mor wrthwynebol i ddysgwyliad Rhodri Mawr y daeth rhaniad ei dywysogaeth oddi amgylch.

Y rhaniad hwn rhwng etifeddion a eilw y Seison *gavelkind.* Mae llawer o awduron wedi poeni yn ofer i geisio tystio fod arwyddocâd y gair yn wreiddiol o'r Seisneg *give-all-kin:* ond erbyn ystyried fod y gyfraith hon yn arferol ym mhlith y Brytaniaid byth er pan breswyliasant ac y rhanasant yr ynys ar y cyntaf; diammheu i Hengist ei chael yn arferedig yng Nghent, pan roddwyd y parth hwnw iddo gan Wrtheyrn, ym mha fan y mae yn arferedig hyd y dydd hwn, oddi gerth rhai arglwyddiaethau yno a roddasant gwyn at y Senedd yn nheyrnasiad Harri VIII. i gael ei ddiddymu. Y mae yn arferedig eto yn Ergin[1] o fewn swydd Henffordd, iarll pa fan oedd Gwrtheyrn cyn iddo drawsfeddiannu y goron. Y mae Leland yn crybwyll am un Merewaldus oedd dywysog ar yr ardal hòno, ac iddo adeiladu monachlog yn Llanllieni,[2] h. y., lleian *(virgo vestalis sanctimonialis).* Mae crybwyll hefyd am un Pibonwy, oedd daid Eidiol,

[1] Urchenfield.
[2] Leominster.

Iarll Caer Loew, a Dyfrig Archesgob, yr hwn oedd frenin Ergin.

Yr oedd deddf gyffelyb iddi yn Ucheldir Celyddon, a elwid *socage law*, lle na chyrhaeddodd goresgyniad y Seison erioed. Yr oedd cyfraith hefyd yn yr Iwerddon a elwid *Brehon law;* rhan o honi a ddiddymwyd gan Harri II. a'i fab Ioan, ac a gwbl ddilewyd yn y fl. 1604; yr hon gyfraith oedd yn rhanu holl etifeddiaeth y tad rhwng ei feibion, &c., cystadl i'r ordderch a'r mab o briod. A chan fod yr Ysgwydiaid, Gwyddelod, a Brytaniaid, o'r un cyff-genedl, a'r un ddull gyfreithiau yn arferedig yn eu plith, meddyliwn fod *gafael cenedl* yn gryfach a hŷn arwyddocâd o'r ddefod na *give-all-kin.*

Y rhaniad, yn ol y gyfraith, oedd ar law yr ieuangaf o'r meibion, a'r hynaf bioedd dewis, os tir oll fyddai i'w ranu; ond os byddai tai a thiroedd, y nesaf i'r ieuangaf oedd i ranu, a'r ieuangaf i ddewis y syddyn arbenig, ac ar ei ol ef yr hynaf oedd i ddewis, ac felly o hynaf i hynaf.

Mab i Gadell, tywysog Deheubarth, ac ŵyr i Rodri Mawr, oedd Hywel Dda, yr hwn, gan weled cyfreithiau ei wlad yn cael eu camfarnu a'u gwyro gan anghyfiawnder, a ddyfynodd ato i'r Ty Gwyn ar Daf, chwe' gwr doethaf o bob cantref trwy ei lywodraeth, pedwar lleyg a dau ysgolhaig neu offeiriaid; ac wedi iddynt ymprydio a gweddïo pythewnos gyda mis Garawys, ar i Dduw roddi rhad ar ddarpar y brenin i wellâu defodau Cymru; dewisodd y brenin y deuddeg doethaf o'r gwŷr lleygion, ac un ysgolhaig doethaf, yr hwn elwid yr Athraw Blegwryd;[1] a hwy gydsyniasant yr hen gyfreithiau, rhai, meddent, a adawsant i sefyll, ereill a ddiwygiasant, a rhai a ddeolasant yn gwbl, gan osod rhai amgen yn eu lle. Yna rhoddes Hywel a'r doethion hyny eu melltith ar y neb a gamarferai y cyfreithiau hyny, ac ar y dyn a gymmerai swydd barnwr arno, ac ar yr arglwydd a'i rhoddai, os na wypai dair

[1] Archiagon Llandaf.

colofn cyfraith, a gwerth gwyllt a dof, a phob peth a berthyno arnaddynt.

Wedi hyny aeth Hywel Dda, a phedwar o'i esgobion, a 13 o'i ddysgedigion penaf, â'r llyfr cyfraith i Rufain i gael ei sicrhau gan y Pab, yr hyn pan gawsant, hwy a ddychwelasant adref yn orfoleddus, a gorchymmynwyd ysgrifenu dau lyfr arall o'r un peth, un i bob talaeth, fal y byddai i bawb o ddeiliaid y brenin gael eu harferyd pan fyddai achos yn gofyn. Llyfr y gyfraith oedd yn dair rhan: y gyntaf, yng nghylch y brenin, ei lys, a'i swyddogion llys; nid amgen na'r pedwar ar hugain hyn:—

1. *Penteulu*, o'r gwaed breninol y dylai fod, ac un o'r tri anhebgor brenin ydoedd, &c.

2. *Offeiriad teulu*, oedd i ganlyn y brenin pa le bynag yr elai, gan ei fod yn un o'r tri anhebgor, ac i fendigaw bwyd, a chanu offeren, &c.

3. *Dystain*, neu oruchwyliwr.

4. *Penhebogydd*, sef ceidwad y gweilch, a phrif swyddog y ddull hòno o helwriaeth; os â'i walch yn unig y medrai ef ddal un ai aderyn y bwn, crëyr, neu aran, yna oedd i'r brenin ddal pen ei farch a'i warthol megys gwas, &c.

5. *Brawdwr*, neu farnwr llys, y trydydd o'r tri anhebgor brenin; nid iawn iddo gymmeryd ei swydd cyn 25 ml. oed.

6. *Pengwastrawd*, neu geidwad y meirch, &c.

7. *Gwas ystafell*, i wneuthur gwely y brenin.

8. *Bardd teulu:* efe oedd i eistedd nesaf i'r penteulu ar y tair gwyl arbenig; o'r anrhaith a ddygai y teulu yn ngorwlad, neu o derfynau gwlad y gelynion, ych oedd iddo; a phan ranent yr ysbail, rhaid oedd iddo yntau ganu *Unbenaeth Prydain* iddynt; ac yn nydd cad ac ymladd, ac wrth ddwyn anrhaith, os canai, y llwdn goreu iddo.

9. *Gostegwr*, i wasanaethu a gostegu tra byddai yr offeiriad yn darllen offeren, ac i gasglu trethi, a gofalu yn lle swyddog absennol, hyd oni ddelai arall.

10. *Pencynydd*, neu heliwr â milgwn a chellgwn, &c.

11. *Meddydd*, neu ddarllawydd medd.
12. *Meddyg teulu:* efe oedd yn wastadol i fod gyda'r brenin, pa un bynag ai yn y fyddin ai yn y llys.
13. *Trulliad*, i ollwng medd, gwarchadw y feddgell â chloiau.
14. *Drysawr*, neu geidwad drws ystafell y brenin.
15. *Cog*, neu arlwywr bwyd.
16. *Canwyllydd*, i ennyn canwyllau yn y llys, ac i ddal canwyll tra yr ymborthai y brenin, &c.
17. *Dystain*, neu oruchwyliwr y frenines.
18. *Offeiriad* y frenines: efe bioedd ei dillad ym mha rai y penydiai yn y Garawys.
19. *Pengwastrawd*, neu geidwad meirch y frenines: efe bioedd draian yr ebolion tan 2 flwydd oed, a ddygid yn anrhaith.
20. *Gwas ystafell* y frenines.
21. *Llawforwyn* y frenines.
22. *Drysawr*, neu geidwad drws ystafell y frenines.
23. *Cog*, i arlwyo bwyd y frenines.
24. *Canwyllydd* y frenines.

Ereill swyddogion perthynol i'r llys:—

1. *Gwastrawd afwyn*, is-oruchwyliwr y meirch, i weini a dal gwarthol y brenin pan elai ar farch, a phedolwr meirch y brenin, wedi i'r gof wneuthur y pedolau a'r hoelion.
2. *Troediawg*, i ddal troed y brenin, a gwylied rhag gwall iddo mewn cyfeddach.
3. *Maer y biswail*, golygwr aredig a hau, bugeiliaid, ac ysgrubliaid, a pharotoi cyfreidiau y llys.
4. *Rhingyll*, i wysio neu rybuddio, ac i wylied rhag llosgi o neb y llys tra fyddai y brenin yn bwyta; hyd ei waewffon dair llath, a'i hawl darw neu anifail o'r anrhaith.
5. *Porthawr;* a dyrnaid oedd ei hawl o bob anrheg a ddygid i'r llys, sef o aeron, wyau, a phenweig, ac ysgyren o bob llwyth tanwydd, a'r eidion diweddaf ddêl trwy y porth o'r anrhaith.
6. *Gwyliedydd*, i gysgu y dydd, a gwylio rhag gelyn-

ion y nos; ac os cwsg o fewn oriau ei wyliadwriaeth, taled gamlwrw i'r brenin, oni faedder ef.

7. *Cynnutai*, i arlwyo tanwydd.

8. *Pobyddes:* deallir wrth yr ymadroddion mai ar gradell y pobwyd y cwbl.

9. *Gof llys:* 4 ceiniog iddo wrth roddi heiyrn ar bob carcharor, nac un gof i fod heb ei genad yn yr un cwmmwd.

10. *Pencerdd*, i ganu i'r brenin, a'i le ar naill law i'r ynad llys.

11. *Golchwraig.*

Holl angenrheidiau y brenin, ei lys, a'i swyddogion, dyledus oedd i'r wlad eu diwallu; y brenin oedd yn arddelw yr awdurdod o fod yn berchenog tir Prydain oll, a bod ei holl ddeiliaid yn rhwym i dalu iddo ardrethi, gwasanaeth, ac ufudd-dod. Ei ddeiliaid oedd o amryw raddau, megys ieirll, arglwyddi, a barwniaid, ac uchelwyr, y rhai hyn a elwid yn ddeiliaid rhyddion, yn berchenogion eu tiroedd eu hunain mewn rhan, nid oedd i'r tywysog eu difeddiannu, os talent y cylchau cyfreithiol, obediw, gobr, ac amobr, &c. Y caethion o ddeiliaid y brenin, weithiau a elwir yn y gyfraith, yn feibion eillion, neu alltudion, taiogion, bileiniaid; y rhai hyn, a'u heiddo, a'u hoedlau, a phob peth a feddynt, oeddynt eiddo y brenin, i'w symmud, eu gorchymmyn, a'u gwerthu, fel y mynai.

Yr oedd gan y brenin faerdy ym mhob cantref; a phan ewyllysiai fyned o'r naill i'r llall, rhaid oedd i wŷr y faerdref wneuthur odyn ac ysgubor i'r brenin, a'i ddiwallu pan fo achos; dyrnu, a chrasu, medi, llyfnu, lladd gwair, a cheisio gwellt a chynnud; ei ddiwallu â defaid, ŵyn, mynod, ymenyn, llaeth, a chaws, &c.; a phan fyddai y brenin ar ei daith, ei hawl o bob maenol rydd oedd cerwyn o fedd, naw dyrnfedd o hyd; ac oni cheffir o fedd, dwy o fragod; ac oni cheffir o fragod, pedair o gwrw: a mesur gosodedig o flawd gwenith, ceirch, ac ebran, ac enllyn, &c.; ac os na thelid hwynt, telid o bob maenol ddeg swllt am fara, pum swllt am y ddiod, a phum swllt am yr enllyn i'r brenin.

Cymmaint oedd y bunt y dyddiau hyny a deg ar hugain heddyw; y taliad yma a elwid *arian gwestfa.* Y meibion eillion, neu y caethion, oedd i gynnal a phorthi cynyddion, hebogyddion, a chŵn y brenin, yn eu harferol gylchau dair gwaith yn y flwyddyn; ond nid oedd i faenol rydd, maer, na changhellwr, dalu na chylch na dofraeth, onid cylch mawr y teulu bob gauaf. Pan fyddai marw esgob, y brenin bioedd ei holl dda (onid a berthynai i'r eglwys); canys "diffaith brenin" y gelwid da heb berchenog iddynt. Pob pencenedl oedd i dalu punt yn y flwyddyn i'r arglwydd frenin. Dyledus ar bawb oedd gweithio ei gestyll ef, onid gwŷr y faerdref. Rhwym oedd pawb, yn uchelwyr a chaethion, i ganlyn y brenin i ryfel, ar ei draul ei hun. Os byddai alltud marw ar y ffordd wrth ymdaith, talid 2 swllt i'r arglwydd tir ei farw dywarchen; a'i dda oll, namyn hyny, oedd i'r brenin. Os y môr a fwriai long i dir y brenin, esgob, abad, neu ryw benaeth arall, efe bioedd hanner ei llwyth. "Tair celfyddyd ni ddysg taiog ei fab heb genad ei arglwydd; sef, offeiriad, bardd, a gof." Nid cyfreithlon oedd i alltud briodi heb genad ei arglwydd; ac os gwnai, yr oedd yn rhydd i'r arglwydd ddial arno; ac os Cymräes a briodai, a chael plant, eiddo y brenin oeddynt. Rhaid oedd i'r brenin wr a bwyell o bob bileindref i wneuthur lluesttai yn y fyddin. Y brenin bioedd ddwy dref ym mhob maenol trwy y dalaeth. Nid oedd rydd i feibion eillion neu gaethion y brenin y pysgod a ddalient, na'u mêl eu hunain, eiddo y brenin oedd; a'i ddiwalla â phynfeirch yn eu lueddau. Ond dal sylw yn fanwl ar y cyfreithiau, gwelir fod y brenin yn gorthrymu ei ddeiliaid ym mhob pwnc bron o'r gyfraith; os byddai dadl rhyngtho ac arglwydd neu uchelwr yng nghylch terfynau eu tiroedd, swyddogion y brenin oedd i farnu, lle nid oedd gwiw dysgwyl cyfiawnder i'r orsedd ddadleu.

Ail lyfr cyfraith Hywel Dda oedd yn cynnwys cyfreithiau gwlad o bob rhyw, megys ysgar, meichnïaeth, briwo anifeiliaid, briduw, anudon, ammod,

nawdd eglwys, a'i breiniau, dadleu, tiroedd, eu terfynu a'u rhanu, dadanhuddiad dadl, ach ac edryd, obediw, pencenedlaeth; y bunt dwng a'r gwynos, arian rhan rhwng teulu y brenin; am fyddin y brenin; galanas neu lofruddiaeth; sarhâd; lledrad; ac amryw bynciau rhy aml i'w cyfrif. Y *Llyfr Prawf* hefyd a ysgrifenodd Iorwerth ab Madog allan o lyfrau Morgeneu Ynad, a Chyfnerth ei fab, ac o lyfrau Gwair fab Rhufawn, a Goronwy fab Moreiddig, oll ddysgedigion yn y gyfraith. Y llyfr hwn sydd yn cynnwys tair colofn cyfraith, gwerth gwyllt a dof, yr hyn oedd angenrheidiol i bob barnwr wybod. Yn ol y gyfraith hòno llyma werth gwenyn: hen haid, 24 ceiniog; cynhaid, 16*c.;* tarwhaid, 12*c.;* haid y gynhaid, 12*c.;* haid y darwhaid, 8*c.;* haid gwedi Awst, sef asgellhaid, 4*c.* "Bonedd gwenyn o baradwys pan yw, ac o achos pechod dyn y daethant oddi yno; ac y dodes Duw rad arnynt; ac wrth hyny ni ellir canu offeren heb eu cwyr.[1]

Amryw bethau a gynnwysir yng nghyfraith Hywel, y geill un ryfeddu fod barnwr mor segur a bwrw ei amser i'w sefydlu; ac yr wyf yn credu na chymharir hwynt mewn un wlad oddi eithr ym mhlith yr Indiaid (*Gentoos*).

Ac er hyny, mewn amryw bethau ereill maent yn dangos cyflawnder o synwyr a diduedd farn a chyfiawnder; ond ystyried yr amser y cyfansoddwyd hwynt nid ellir llai na rhyfeddu; yr oes dywyllaf o ran dysg a gwybodaeth a fu er ganedigaeth Crist. Yr oedd y Brenin Alffred yn cospi ei arglwyddi o herwydd na roddent eu meibion mewn ysgolion, ac ni chaniatäi i un fod yn swyddog tano oddi eithr ei fod mewn dysg, ac er hyny nid oedd yng nghylch y 9fed ganfed, ac o hyny i'r ddegfed o oed Crist, onid ychydig foneddigion a fedrai ysgrifenu eu henwau; llyna yr amser y dechreuwyd rhoddi llun y groes o gwyr coch yn lle enw wrth ysgrifeniadau; o herwydd na fedrai amryw freninoedd na'u pendefigion air ar lyfr. Mae awdur yn

[1] Vide Llyfr Prawf.

tystio fod y Seison yn annysgedig iawn yn nyddiau Gwilym Oresgynwr (*Angli illiterati et agrestes temp. Normannorum*). Llyna yr achos, o herwydd fod lleygion mor anaml yn ddysgedig, yr oedd arfer y Cymry i alw *offeiriaid* yn *ysholheigion*. Ond i ddychwelyd: yr oedd y gyfraith hon yn fwy addas i'r amser y gwnaethpwyd o lawer, nag ydyw i'r dyddiau presennol. Y pryd hyny nid oedd gyfraid gosodedig i'r angenus trwy swyddog plwyfol (fel yn awr); am hyny y gyfraith oedd—"rheidus a gerddo dair tref a 3 thy ym mhob tref, heb gael na rhad nac ymwared, ni chospir er ei ddal â lledrad ymborth gantho." Yr oedd cyffelyb gyfraith i hon gynt yng Nghelyddon is Coed, a elwid *berdinsae*, yn gwarafun cospi dyn (namyn ei fflangellu) yr hwn ni ddygai fwy ymborth nag a allai roddi yn ei sach.

Yr oedd deddf Moesen yn caniatäu i ddyn fwyta mewn gwinllan ei wala heb gosp, onid iddo ymattal rhag llogellu. Yr oedd cyfraith Hywel hefyd yn gofalu yn gall yn erbyn yr awydd oedd yn rheoli y pryd hyny yng nghalonau pobl o ddifa eu gilydd er mwyn eu hetifeddiaeth, gan osod—"O dygwydd bod ymryson, pwy ddylai warchadw etifedd nes dêl i oedran gwr, ai cenedl ei dad ai cenedl ei fam, cyfraith a ddywawd, mai cenedl ei fam, rhag i neb o genedl ei dad wneuthur brad am dano, o herwydd ei dir." Y gyfraith hefyd oedd yn gofalu am ddiogelwch bywyd y deiliaid; canys rhydd oedd i ddyn attafaela eiddo a da byw dyn arall herwydd dyled, onid nid oedd rydd iddo fyned â'i farch, yr hwn oedd i'w ddwyn ymaith a'i achub, o do'i y gelynion i'r fro. Ac o herwydd cadw treftadaeth yn y teulu, nid oedd rydd gwystlo tir onid i un o'r un genedl. Ac o herwydd y gallai dyn, yn ei ddigofaint, wneyd ei lythyr cymmyn, a gadael ei eiddo oddi wrth yr iawn etifedd (fel y maent yn fynych yn awr), nid oedd y gyfraith yn caniatäu y cyfryw ewyllys, oddi eithr fod yr eiddo wedi ei adael i arglwydd y tir neu i'r eglwys. Pan fyddai dau yn gofyn hawl i dir a daiar, ac erchi barn cyfraith rhyngthynt,

rhaid oedd i'r hawlwr wysio cynghawsedd yn ol gosodiad y ddeddf; a phan ddelai yr amser gosodedig, deuai y brenin i'r tir oedd mewn dadl, a chydag ef ddau henuriad o'i gynghor, a'i ynad llys; a'i ringyll a erchai i ynad y cwmmwd lle byddai y tir ynddo, a'r offeiriad plwyfol, a deuddeg o uchelwyr, ddyfod i'r farn; ac ar gefn y maes (wedi edrych y tir) y gosodent eu gorsedd ddadleu â'u cefnau at y gwynt a'r haul; a'u dull yn eistedd gosodais yma, o herwydd ei fod yn anaml i'w weled, oddi eithr mewn un argraffiad o Hanes y Tywysogion, gan y Dysgawdwr Powel o Riwabon.[1]

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Uchelwyr. | Henuriad. | Y Brenin. | Henuriad. | Uchelwyr. |
| | Offeiriad. | Yngnad Llys. | Yngnad Cwmmwd. | |
| | Amddiffynwr, alias Defendant. | | Yr Achwynwr, alias Plaintiff. | |
| Rhingyll. | | | | Rhingyll. |
| | Dadleuwr Cynghawsedd. | | Dadleuwr Cynghawsedd. | |
| | Ymladdwr. | Tystion, sef Amminiogau a Gwybyddiaid. | Ymladdwr. | |

Yna wedi i'r hawlwr draethu ei gwyn, ac ateb o'r amddiffynydd, holi y tystion, a chyflawn ddadlu o bob plaid, trwy rybudd y rhingyll, yr ai yr ynad llys, ynad cwmmwd, a'r offeiriad, o'r neilldu i ystyried yr achos; a phan gydunent, deuent yn ol i'r orsedd ddadleu, ac a draethent eu barn; yna, wedi i'r brenin ymgynghori â'r henuriaid a'r uchelwyr, efe a roddai ddyben ar y

[1] [Gwelir argraffien bur dda o'r unrhyw yn yr *Eurgrawn Cymraeg*: Caerfyrddin, 1770.]

ddadl, canys gair oedd ei air ef ar bawb, oddi eithr fod yr achos mor dywyll, nad allai iawn a gwirionedd ymddangos; ac os felly y byddai, yna y ddau ymladdwr oedd i derfynu yr ymryson trwy ornest, a'r gynnulleidfa yn gweddïo ar yr Hwn oedd yn gwybod dirgelwch pob dyfnderoedd, am egluro iddynt farn a chyfiawnder trwy beri i'r ymladdwr oedd ar blaid uniondeb ennill y frwydr; a chymmaint oedd ofergoel y bobl y dyddiau hyny fel y credent na adawai Duw i un o honynt ennill ar gam: diniweidiach, a thebycach i gael gwrandawiad i'w gweddi, a fuasai bwrw coelbren.

Y tystion oeddynt naill ai gwybyddiaid, sef rhai trigiannol yn yr un cwmmwd â'r tir mewn dadl, neu yn byw ar y tir; ai amminiogau, sef rhai yn byw ar gyffiniau y cwmmwd neu y tir mewn cyfraith: a gwell cred oedd i dystiolaeth amminiogau na gwybyddiaid.

Medd cyfraith, naw tafodiog a gredir i'w tystiolaeth:—

1. *Arglwydd*, rhwng ei ddau was, os na bydd gyfranog yn y ddadl.
2. *Abad*, rhwng ei ddau fynach.
3. *Tad*, rhwng ei ddau fab.
4. *Ynad*, ar ei ddedfryd ei hun.
5. *Mach*, ar ei feichnïaeth.
6. *Rhoddwr*, ar ei rodd; sef os dau a anghytunent am y rhodd, barned y rhoddwr.
7. *Merch*, ar ei morwyndod.
8. *Bugail* trefgordd, ar ei fugeiliaeth; sef gwarchadw anifeiliaid amryw y bydd, ac o lleddir anifail gan anifail dyn arall, gair y bugail sydd gredadwy.
9. *Lleidr*, ar ei grog, ar ei gyd-ladron.

A hyn o ddynion, medd cyfraith, na chredir i'w tystiolaeth:—

1. *Caeth.*
2. *Mud.*
3. *Byddar.*
4. *Ynfyd cynnwynol* neu *ruthrawg.*
5. *Dyn llai na* 14 *oed.*
6. *Hael byrllofiawg*, a dreulio ei holl dda.

7. *A dyngo anudon cyhoeddawg.*
8. *A doro ei briodas yn gyhoeddawg.*
9. *Bradwr.*
10. *Dyn a laddo ei dad.*
11. *A lycro iawn fath*, neu a wnel gam fath, h.y., arian.
12. *A ysbeilio eglwys.*
13. *A gam farno gan ei wybod.*
14. *A gydio â gwr neu anifail.*
15. *A ddyco gam dystiolaeth.*
16. *Lleidr cyfaddef.*
17. *Esgymmun geir ei enw.*

Nid oes genyf amser i ymhelaethu yn rhagor ar y cyfreithiau hyn, canys gwaith di-ddyben ydyw; yr hwn a ddymuno ychwaneg o'u hanes, darllened waith Dr. Wotton: y gyfraith hely a geiff yng *Ngeirlyfr* Mr. Richards; ac Ystatut Gruffydd ab Cynan yng *Ngramadeg* Dr. I. D. Rhys.

"Pwy bynag a fyno wybod beth yw cyfraith a'i rhanau, ac adnabod defnydd hawl, a pha wedd yr ateber i hawl, a hyny ar ddeall a grym tair testyn o'r brawdlyfr, nid amgen tair rhan awdurdod cyfraith; ac ar dri defnydd hawl, ac ar dri rhyw ateb sydd yn y gyfraith, a'r llyfr yr hwn a elwir 'Gwyddor Cyfraith Hywel Dda': pwy bynag a fyno ddysgu cyfraith rhaid fydd iddo wybod beth yw cyfraith; canys cyfraith sydd osodedigaeth gyfiawn, gwneuthuredig o gyfundeb y brenin a'i deyrnas, a deall y doethion i ddosbarth cynhenau amryson rhwng hawlwr ac amddiffynwr, trwy gyfarfod pedwar peth,—arglwydd, cyffredin, ynad cadeiriawg, a dwyblaid gyndrychawl; ac yn nesaf y gellir i wirionedd."[1]

Hywel Dda, o ran ei ardderchogrwydd a'i addfwynder, a gerid gan bawb; efe a ddewiswyd yn frenin ar holl Gymru o gylch y fl. 940; a bu farw ym mhen wyth mlynedd, er dirfawr ofid i bawb a garai heddwch.

[1] Vide Wotton, p. 389.

A Bleddyn ab Cynfyn (yr hwn, medd yr hanesion Cymreig, a ddechreuodd lywodraethu yn y fl. 1060, ond hanesion Seisnig a ddywawd mai yn y fl. 1063 y cafodd feddiant o'r Dywysogaeth) a newidiodd ac a chwanegodd at gyfreithiau Hywel Dda; efe a newidiodd ddeddfau mesur a rhanu tiroedd, ac a ysgafnhaodd gospedigaeth lladron; canys milain iawn oedd cyfraith Hywel yn erbyn lledrad;[1] canys eneidfaddeu a chospi y corff trwy farwolaeth oedd yr hwn y caed anifail byw yn lledrad gydag ef, neu groen anifail, neu eiddo marw o werth pedair ceiniog.

Wedi hyn yr oedd dau lyfr cyfraith, sef Llyfr Hywel a Llyfr Bleddyn; ac iawn oedd i'r hawlwr ddewis ei gyfraith o'r ddwy; ac os y barnwr a roddai ddedfryd o un gyfraith, wedi i'r hawlwr erchi y llall, yna rhydd i'r hawlwr roddi gwystl yn erbyn y barnwr.

---

## RHAN VI.

WEDI marwolaeth Hywel Dda, ni bu nemawr heddwch hir o amser. Nid iawn etifedd y goron, ond y trechaf ar ei gorn, a fedrai gasglu byddin i'r maes, ac ennill brwydr, a feddiannai y Dywysogaeth, hyd oni ddelai un arall trech nag yntau. Anaml, medd yr hanes, y bu dan gywir etifedd yn meddiannu Deheubarth a Gwynedd ar unwaith, o amser Hywel Dda ar y Deheu, ac Idwal Foel ar Wynedd, hyd oni ddaeth Gruffydd ab Cynan a Rhys ab Tewdwr Mawr i gydreoli.

[1] Thieves were all transformed to honest men in the reign of William the Conqueror, who made a law to cut off their right hand, which was more terrifying than a hundred gibbets.

Merch i frenin o'r Iwerddon oedd mam Gruffydd, ac yno y dygwyd ef i fyny yn llys ei daid; a phan ddaeth i dywysogaeth Gwynedd, a chanfod y fath annhrefn ym mhlith cerddorion, efe a roddes orchymmyn a gwahoddiad, dan rybudd un dydd a blwyddyn, i'r holl gerddorion trwy y tair talaeth ddyfod yng nghyd i'w lys yn Aberffraw, ar y diwrnod gosodedig, i wneuthur braint a threfn ar wŷr wrth gerdd; nid amgen, rhag myned o neb yn gerddor o'r dydd hwnw allan, ond a elai drwy genad ei arglwydd, a thrwy rodd cenatâd ei athraw, ac i'r athraw hwnw fod yn gerddor difai erbyn dydd cyfreithiawl gosodedig; a thrwy genad yr eisteddfod hefyd, a hòno unwaith bob tair blynedd. Yr oedd Gruffydd wedi cyrchu prif gerddorion yr Iwerddon i'r cyfarfod yma i roddi barn, ac iawn drefnu rheolau cerddoriaeth.

Ac yno sefydlwyd nad oedd genad i fardd ddilyn celfyddyd yn y byd arall, nac ymyraeth â gorchwylion bydol uwch gwerth chweugaint arian. Eu cadwraeth oedd yn tarddu o syberwyd y tywysogion a'r pendefigion, a chlera y byddent ar bob un o'r tair gwyl arbenig, sef Pasc, Sulgwyn, a'r Nadolig, pawb yn ei dalaeth ei hun, ac unwaith yn y tair blynedd trwy y tair talaeth. Mis cyn pob gwyl y cyrchai pob dysgybl at ei athraw, i gael cyfarwyddyd pa ffordd i fyned i glera, rhag i chwaneg nag un fyned at wr o ddeg punt yn y flwyddyn, neu ddau at wr o ugain, ac felly ym mlaen am rai uwch eu moddion. Nid oedd i glerwr fyned i dy uchelwr, na phencerdd i dy gwreng; sefydlwyd i'r clerwr geiniog oddi wrth bob aradr, a chenad trwy y dalaeth; a'r lle ni chafai arian, rhydd oedd iddo attafaelu. A rhag y byddai i'r beirdd ddysgwyl gormod am eu cywyddau, neu y derbynwyr roddi llai na'u haeddiant, sefydlwyd eu gwerth yn y ddeddf, sef, rhodd dysgybl dysgyblaidd am gywydd, 3 swllt a 4 ceiniog; rhodd dysgybl pencerddaidd am gywydd, 6 swllt a 9 ceiniog; rhodd pawb yn ol ei radd, ac i bencerdd mwy na dysgybl. Wrth hyn y gwelwn haelioni yr oes hòno tuag at gynnal i fyny farddoniaeth a cherddoriaeth,

yn ol barn Sion Lygad y Geiniog a'i deulu Iuddewig, cyfarwydd yng ngwerth y pethau sydd yn prynu uffern ac yn gwerthu y nefoedd; fe a dalai 3*s.* 4*c.* y dysgybl dysgyblaidd yn yr oes yma 5 punt union; ac fe a dalai 6*s.* 9*c.* y dysgybl pencerddaidd 11*p.* 2*s.* 6*c.*; nid oedd ryfedd eu bod yn canu mor gyfochrog! ac yn ymwneyd i fyned yn bencerddiaid, i gael mwy o syberwyd fyth! Sefydlwyd iddynt hefyd wobrau ym mhob neithior a gwledd; a holl ferched y cerddorion oedd i roddi gwobrau i bencerdd y wlad; a phob merch a fynai wra, talu cyfarwys i'r pencerdd. Nid oedd un i fod yn athraw, oni byddai bencerdd, i osod a barnu yn iawn y pethau a ddysger gan ereill. Pedair gradd o feirdd oedd; nid amgen, dysgybl cerdd ysbâs; dysgybl dysgyblaidd; dysgybl pencerddaidd; a phencerdd: tair blynedd o amser i ddysgu pob gradd, ac oni ddysgai yn hyny, ei ddiraddio: rhaid i'r radd gyntaf wybod 5 mesur englyn, a'i ysgrifenu yn gywir; yr ail radd wybod 12 mesur; y drydedd wybod 21 o'r mesurau; a phencerdd ddylai wybod y cwbl, ar bob gorchest yn gyfarwydd, a gwybod amrywiol rywiogaethau adar a physgod, anifeiliaid ac ymlusgiaid, rhinweddau llysiau, dail, a choedydd. A dylai y cerddorion ddwyn ymadroddion hawddgar, heddychlon, caredig; ac os gwnaent grwydro, meddwi, neu oganu merch neu wraig, pawb yn swyddog arnynt, dygir eu harian clera, talent ddirwy, neu eu rhoddi yng ngharchar, fel y bo yr achos a'r gyfraith yn gyfatebol yn penodi. Angenrheidiol oedd i arwyddfardd wybod achau breninoedd, tywysogion, a phendefigion, ac ysgrifenu yn gelfyddgar hanes eu godidog weithredoedd, a gwybod cyfarwyddyd oddi wrth dri phrif fardd Ynys Prydain; nid amgen, Taliesin, a'r ddau Fyrddin. Dadgeiniad hefyd a ddylai ddarllen Cymraeg yn berffaith, ysgrifenu yn gyfiawn, barnu yr holl gynghaneddion, a gosod yn iawn bob hen gerdd a gaffo yn feius gan arall.

Nid oedd ganiataol i ddysgybl ddangos ei gyfansoddiad lle bo pencerdd, heb yn gyntaf ofyn ei genad, na rhoddi ei waith un amser yn gyhoeddus, heb i'w athraw

yn gyntaf roddi ei farn a oedd gymhwys i'w ddangos ai nad oedd.

Y sawl a ddymunai wybod ychwaneg o ddeddf cerddoriaeth a'i pherthynasau, darllened waith Dr. I. D. Rhys. Mae Sion Rhydderch, yn ei *Ramadeg* yn dweyd (tudal. 178) i Fleddyn ab Cynfyn gadarnhau gosodedigaethau Gruffydd ab Cynan. Yr oedd hyny yn yn lled ryfedd, ac yntau wedi cael ei ladd chwe' blynedd o leiaf cyn i Ruffydd ddechreu llywodraethu.[1]

Yn nyddiau Gruffydd ab Cynan y lladdwyd Rhobert, ceidwad Castell Rhuddlan, yr hwn tros 15 mlynedd a fu elyn gwaedlyd i'r Cymry. Pan laddwyd, taflwyd ei ben i'r môr, claddwyd ei gorff yn eglwys gadeiriol S. Walburg yng Nghaerlleon, ac ym mhen ennyd cyfodwyd ef, a chludwyd ei esgyrn i Normandi, a chladdwyd hwynt yno ym Monachlog Uticen [?], a maen mynor uwch ei fedd; a chan fod yr argraff sydd arno yn crybwyll ei wyrthiau yn gorthrymu y Cymry, myfi a osodais ran o hono yma.

"Hoc in mausoleo Rodberto de Rodolento
Conditur * * * * * * * *
Fortis illustris iste fuit juvenis.
Dapsilis et pugnax agilis formosusque [?] audax
Miles in orbe fuit * * * * * * *
Construxit castrum tenuitque diu Rodolentum
Firmiter indigenis oppositum rabidis
Barbaricas contra gentes exercuit arma
Multum Guallorum sanguinem effudit
Mille periclo probo sponte ferens animo
Montem Snaudunum fluviumque citum Coluenum
Pluribus armatis transiliit * * * * *
* * * * Blideno rege fugato.
Prædam cum paucis cepit in insidiis
Duxit captivum locisque ligavit Hoellum.
Attamen incaute Wallenses ausus adire
Occidit æstivi principis Julii
Prodidit Oenius, rex est gavisus Hoellus
Facta vindicta monte sub Hormahæva
Ense caput secuit Griffid et in mare jecit,
Somæ quidem reliquam possidet hunc loculum."
* * * * * * * &c.

"Yn y feddrod hon y claddwyd Rhobert o Ruddlan, ieuang-ddyn cadarn, ardderchog, haelionus, rhyfelgar,

[1] Dr. Powel, *Hist. of Wales.*

bywiog, a mirain, a milwr hyf yn y byd ydoedd. Adeiladodd Gastell Rhuddlan, ac a'i daliodd hir o amser, yn ddiysgog wrthwynebol i'r nawswyllt frodorion. Arferodd arfogaeth yn erbyn y dyeithrol genedloedd. Ffrydiau o waed Cymry a dywalltodd. A rhinweddol fwriad ymddygodd yn fodlon fil o beryglon. Cyflym yr arweiniai ei fyddinoedd tros fynyddoedd Eryri ac afon Colwen. Bleddyn Frenin yn ffoi. Ag ychydig wŷr cymmerai ysbail, a daliodd Hywel mewn cynllwyn, gan ei ddwyn yn rhwym garcharor. Ond gan fyned yn anwyliadwrus at Gymry, efe syrthiodd yn nechreu Gorphenaf. Owain a'i bradychodd. Hywel Frenin oedd lawen. Y dial a wnaed is Hormahefa fynydd. Torodd Gruffydd ei ben â chleddyf, ac a'i taflod i'r môr. Ond y rhelyw o'i gorff a gafodd le yn y gell hon."

Gellir sylwi fod y cyfreithiau presennol, pa rai y mae y Cymry yn ddarostyngedig iddynt yn awr, oll yn rhagori ar y deddfau gynt, ond deddf barddoniaeth yn unig. Mae mwy achos adgyweirio y breintiau a'r defodau hyny yn awr nag oedd yn amser Gruffydd ab Cynan. Yr oedd y gyfraith gynt yn cymhell pob bardd i fod yn foddlon i'w radd; ac yn cospi y rhai gwaradwyddus gwatwarus a enllibient ereill drwy unrhyw ddychangerdd. Ond yn awr y mae ardderchog radd y pencerdd yn giprys, rhai na adwaenant iawn osodiad y 24 llythyrenau yn arddelw hawl ynddi. Mae *hunan* yn creu gormod brys ynddynt i esgyn o radd i radd hyd yr ysgol ddysgyblaidd.

Nis gwn i am un lle mwy cymhwys yn y Traethawd hwn i sylwi ychydig ar lywodraeth eglwysig y Brytaniaid, nag yma, ac yn y bennod ganlynol: wedi hyny, caf olrhain Rhyddid y wlad a'r eglwys yng nghyd i'w cwbl gwymp a'u diwreiddiad.

## RHAN VII.

### Llywodraeth Eglwysig y Brytaniaid, &c.

SONIAIS eisys, tudalen 123, fel y darfu i Les ab Coel (wedi derbyn y grefydd Gristianogol, a dilëu athrawiaeth y Derwyddon) osod a phenodi eglwysydd yn noddfäu yn lle temlau eilunod.[1] Mae yr hanes fod ym Mhrydain ar y cyntaf dri Archesgob, ac wyth ar hugain o Esgobion tanynt; ac fel yr oedd y Seison anghred yn cryfhau, a'u llywodraeth yn eangu yn yr ynys, yr oedd nifer a gallu yr esgobion yn raddol yn lleihau. Yr oeddynt hwy yng nghyd â duwiolion ereill yn gorfod ffoi o un i un i Gymru, eu cyffredin noddfa. Gorfu i archesgob Llundain ddiengyd am ei einioes (medd Usher) yn y fl. 597. Erbyn hyn, gwelodd gweinidogion yr Efengyl yn angenrheidiol fod yn gynnulledig/gymmanfäu mewn crefydd-dai bwriadol, fal y gallent uno eu myfyrdodau a'u hesboniadau ar air Duw gyda gwell barn, ac uno eu gweddïau yn fwy gwresog am fendith ar arfau eu tywysogion i wrthsefyll gorthrymder y gelynion oedd yn chwanegu yn feunyddiol. Monachlog Bangor is Coed oedd (fel y mae yn debygol) y benaf; canys dywawd Bede[2] fod yno saith o gelloedd, a thri chant o fyneich ym mhob cell; a phan na dderbyniai Dunawd yr abad, yng nghyd ag esgobion Cymru, Awstin Fonach yn archesgob arnynt, yr hwn a ddanfonasai Grigor Bab i bregethu yr Efengyl i'r Seison, yr Awstin drahaus-falch a gyffrôdd ddau o freninoedd y Seison i ddial y sarhâd ar grefyddwyr

[1] Yng Nghyfraith Hywel, yr oedd pob perchen tir noddfa i adnewyddu ei fraint gan bob brenin wrth ddechreu teyrnasu. A chenad oedd i'r ffoadur rodio yng nghylch y fynwent heb greiriau arno; ac os gwnai efe werth ceiniog o anghyfraith dan ei greiriau, nid oedd iddo nawdd mwyach yno. Nid oedd onid arth o ddyn yn dibrisio crefydd, a fwriadai ddal dyn dan y creiriau bendigedig!

[2] Bede's *Eccles. Hist.* [lib. ii. cap. ii.]

Bangor, a lladdwyd o honynt yng nghylch deuddeg cant. Aeth y gyflafan mor ddwys at galonau tywysogion Cymru, fel yr unasant eu byddinoedd, a chyfarfuont y Seison ar lan yr afon Dyfrdwy, yn dychwelyd yn llawen wedi rhoddi y fath ergyd marwol ar grefydd a chrefyddolion y Brytaniaid; ac wedi gwaedlyd frwydr gorfu i'r Seison ffoi, a gadael deg mil o'u gwŷr yn feirw ar y maes. Hyn a fu yn y fl. 603.

Ychydig cyn hyn yr aethai Deiniol, mab Dunawd, abad Bangor is Coed, i Arfon, ac a osododd i fyny ysgol yno i ddysgu cynnulleidfa o bendefigion Cymru, mewn lle a elwir yn awr Bangor Fawr yng Ngwynedd (fe allai er mwyn ei chyffelybu i'r Fangor arall). Ac ym mhen ychydig wedi hyny, darfu i Faelgwn Gwynedd sylfaenu esgobaeth Bangor, a phenodi Deiniol yn esgob cyntaf yno; a Dyfrig, archesgob Caer Lleon ar Wysg, a'i hurddodd. Maelgwn a wnaeth hyn megys gweithred ganmoladwy i erchi nawdd nef ar ei fuchedd annuwiol, am yr hon y mae Gildas a Thaliesin yn yn ei geryddu yn llym.

"Na bo rhad na gwedd
Ar Faelgwn Gwynedd;
Drwy na ddaw dialedd
Ar Run ei etifedd,
Boed fyr ei fuchedd,
Boed diffaeth ei diredd," &c.

TALIESIN.

Yng nghylch yr un amser y sylfaenwyd esgobaeth Llanelwy, gan Centigern.[1] A Dewi, archesgob Caerlleon ar Wysg, a symmudodd oddi yno i'r fan a elwid oddi wrtho ef Ty Ddewi; ac efe a'i ddilynwyr yn yr esgobaeth hòno oeddynt benaethiaid ar eglwys y Cymry, gan urddo esgobion ereill ac offeiriaid, ac hefyd hwyntau oedd i ddewis ac urddo esgob Ty Ddewi; ond dealler fod cenad y tywysog yn angenrheidiol i sicrhau y cyssegriad.

Wedi y gyflafan ragddywededig ym Mangor, y

[1] [Yn Gymraeg, *Cyndeyrn*.]

rhai hyny a ddiangasant â'u heinioes, a ffoisant, rhai i Ynys Enlli, rhai i'r Iwerddon, ereill arosasant yng Nghymru, gan wasgaru hyd y wlad, a thrwy gynnorthwy tywysogion a phendefigion, yr adeiladasant grefydd-gelloedd i gyfanneddu ynddynt: rhai boneddigion a'u cymmerasant i'w tai yn offeiriaid teuluaidd, ereill a roddasant diroedd i adeiladu celloedd arnynt: ac ym mhob tebygoliaeth, dyma ddechreuad ein heglwysydd presennol. Y monachod oeddynt yn myned oddi amgylch gan ddeisyf syberwyd boneddigion tuag at adeiladu iddynt eglwysydd a chrefydd-dai; megys y darllenwn ddarfod i Sant Beuno anrhegu Cadfan Frenin â theyrnwialen aur cyn gofyn iddo am gymhorth i adeiladu Monachlog Clynnog Fawr yn Arfon. Cyn y gwasgariad yma ar yr offeiriaid, pan oeddynt yn niferoedd yn yr un adail, yr oedd penaeth arnynt, megys esgob, henuriad, neu abad; y rhai hyn a ddewiswyd o blith y rhai duwiolaf yn eu bucheddau, a dyfnaf mewn dysgeidiaeth, i brofi doniau eu cydlafurwyr, y rhai oeddynt yn myned hyd y wlad i bregethu y gair, ac yn dychwelyd ar bob achos angenrheidiol i'r gyffredin gartref at eu brodyr a'u llywiawdwyr. Nid oedd degymau y pryd hyny, ond y wlad o'u gwirfodd yn cyfranu yn ol eu moddion, a rhai yn ol eu marwolaeth yn gadael tiroedd, ereill arian, tuag at gynnaliaeth crefyddwyr rhyw benodol fonachlog, neu leiandy. Yr esgob neu y penaeth oedd yn gofalu derbyn y syberwyd yma, ac yn rhanu ym mhlith y crefyddolion fel y gwelai yn addas. Yr oedd nifer yr eglwysydd yn amlach o lawer ar y cyntaf nag ydynt yn awr. Yng nghylch yr un amser y rhanwyd Lloegr yn blwyfydd, drwy orchymmyn Ynyr[1] Bab, yr oedd eu nifer yno ar y cyntaf yn 45 o filoedd; ond gwedi hyn lleihawyd hwynt i 8 mil a 7 cant, sef yng nghylch 5 plwyf yn un. Nid gorchymmyn y Pab a barodd ranu Cymru yn blwyfydd; canys nid oedd gantho awdurdod ar eglwysi y Cymry y pryd hyny;

[1] *Honorius.* Vide *Mona Antiqua* [p. 152].

onid gwasgariad myneich Bangor oedd yr achos (fel y soniais o'r blaen). Plwyfydd Cymru hefyd a roddwyd yng nghylch tri yn un, gan agosed ag y gellir bwrw amcan; canys syberwyd y trigolion tuag at yr offeiriaid a leihaodd fel yr oedd eu crefydd yn oeri, a rhy fychan oedd degwm un o'r plwyfydd bychain hyny i gynnal y gweinidog. Lleihawyd nifer yr offeiriadaeth ...ol[1] yn dangos. Wedi helaethu y plwyfydd, a sefydlu degymau o bob rhyw, yr offeiriaid a ymgyfoethogasant, a phrynasant glasdiroedd i adeiladu tai annedd, gan eu bod o'r blaen yn cyfanneddu yn eu celloedd, sef ein heglwysydd ni yn awr. A phan syrthiodd Cymru i Babyddiaeth, yng nghylch y nawfed ganfed o oed Crist, coelgrefydd a barodd i gyfoeth wlawio am ben yr offeiriaid. Purdan a phenyd oeddynt gymylau yn bwrw cafodydd aur i'w codau: ac yn lle eu prif addfwynder, aethont yn feilchion, i arglwyddiaethu ar y wlad; canys gwelir yng Nghyfraith Hywel eu mawr awdurdod. "Tair gorsedd freiniawg sydd: gorsedd brenin, gorsedd esgob, a gorsedd abad." "Saith ragor eglwys rhag llys i fod yn benaf; o'r rhai hyny, hebrynged gwr o lys iawn i'r gwr o'r eglwys, hyd ei eglwys, sef (1) degwm; (2) offrwm daered, neu dros y marw; (3) priodas; (4) cymmun y marw; (5) ysbail allor; (6) trais goleu ar wr eglwysig; (7) sarhâd graddwr eglwys."

Ymgadwodd eglwysi Cymru yn amddibynol,[2] gan wrthod ymostwng i lywodraeth archesgob Caergaint, hyd y fl. 1155, y pryd y bu farw Griffri, esgob Mynyw; ac arfer yr offeiriaid o'r blaen fyddai dewis eu hesgob eu hunain; ond yn awr yr oedd gallu brenin Lloegr[3] wedi goresgyn Deheubarth, ac y darfu iddo, heb yn waethaf i'r offeiriaid, osod un Barnard, Sais, yn esgob yno; a daliodd y fraint o benodi yr esgobion byth er hyny yng nghoron Lloegr, gan ddwyn y Deheudir tan

[1] [Rhyw goll yma. Llinell, hwyrach, wedi ei gadael allan.]
[2] [Felly yn y gynysgrifen; ond amlwg yw mai *annibynol* neu *anymddibynol*, neu hwyrach, *anddibynol*, a olygir.]
[3] Henry I.

fraint archesgob Caergaint; ac fel y dywedodd Syr Henri Spelman, "*Britannicæ Ecclesiæ radius ultimus*," &c. "Y llewyrch diweddaf o ryddid yr eglwys Frytanaidd a ddiffoddwyd, wedi tywynu 400 o flynyddoedd cyn dyfodiad Awstin Fonach, a sefyll 600 wedi iddo fyned at ei dadau." Ond eglwys Gwynedd a safodd wedi hyn ar lithrig lethr rhyddid; canys gwrthododd Dafydd ab Owain Gwynedd Wilym Bach[1] yn esgob Llanelwy, wedi marw Sieffre o Fynyw:[2] a hyny, medd rhai, a gynddeiriogodd Gwilym i ysgrifenu yn erbyn Sieffre, gan ddiddymu ei hanes ef o freninoedd y Brytaniaid: buasai gyfiawnach iddo ysgrifenu yn erbyn y tywysog a'i gommeddodd o'r esgobaeth, na dial ei lid ar yr esgob oedd yn ei fedd. Llanelwy, a'r holl ardal o Ruddlan i Gaerlleon, oedd y pryd hyny yn orsedd gwastadol ryfel a distryw; a llyna yr achos na bu yno un esgob lawer o flynyddoedd wedi marw Sieffre Mynyw, yr hwn a eilw y Lladingwyr *Galfridus Monumethensis;* canys ofer oedd i dywysog Gwynedd osod yno esgob ar ddannedd Iarll Caer ac arglwydd Rhuthyn; ofer hefyd i frenin Lloegr, canys daethai y Cymry ar ruthr o Eryri ryw dro neu gilydd, a'i losgi ef a'i dy uwch ei ben.

Y tlodion ym mhlith yr hen Gymry a gynnelid trwy roddion a syberwyd y radd gyfoethocaf, fel y dywawd Gildas, "*Largitatem et dapsilitatem cunctis virtutibus anteponunt.*" "Cyfrifent haelioni ac elusengarwch goruwch pob rhinweddau ereill;" ac er eu bod yn dlodion, ni byddai neb mewn eisieu, os byddai gan rai o honynt fodd i gyfranu. Eu defod oedd cyfarfod yn fwriadol

[1] William of Newborough, alias Gulielmus Parvus.

[2] [The author has here fallen into the common error of supposing Geoffrey, bishop of St. Asaph, and Geoffrey of Monmouth, to be one and the same person. Geoffrey, Geffrey, or Godfrey ab Arthur was consecrated bishop of St. Asaph, Feb. 24, 1152, and appointed to the abbacy of Abingdon in 1165, which he held *in commendam* with his bishopric until July 11, 1175, when, in a general council at London, he was complained of by his clergy for constantly absenting himself from his diocese, and he was compelled to resign his bishopric: whereas Galffrai or Gruffydd ab Arthur, the real Geoffrey of Monmouth, was elected bishop of Llandaff, in 1152, and died in the same year. See Williams's *Eminent Welshmen*, s.v. "Geoffrey of Monmouth."]

i gyssylltu eu syberwyd tuag at gynnal eu cyfneseifiaid a'u cymmydogion tlodion; yr hyn gyfarfod a alwent *Cymhortha;* a gwaharddwyd hyny o ryddid iddynt yng nghyfreithiau creulon Iorwerth I,[1] a thrachefn gan Harri IV, dan boen carchariad tra byddent byw.

Bellach dychwelaf i'r lle y gadewais lywodraeth gwladol y Brytaniaid, sef yn nheyrnasiad Gruffydd ab Cynan, yr hwn a fu farw o gylch y flwyddyn 1137.

---

## RHAN VIII.

Gruffydd ab Cynan oedd y diweddaf o dywysogion Cymru a gafodd ei anrhydeddu ag enw *brenin.* Owain Gwynedd, ei fab, a ymfoddlonodd i gymmeryd ei alw yn *dywysog.* Dafydd, mab Owain, o herwydd ei fod yn briod ag Emma, chwaer Harri II, brenin Lloegr, a ymollyngodd yn fwy na'i deidiau i ufuddhau cyfreithiau Lloegr. Ac yn ei ddyddiau ef yr oedd yr Arglwydd Rhys, yr hwn a wnaeth y wledd fawr yng Nghastell Aberteifi, yn rheoli Deheubarth; ond nid oedd fawr fwy na swyddog ufudd i frenin Lloegr. Llywelyn ab Iorwerth, yr hwn am ei odidawg weithredoedd a gyfenwyd *Leolinus Magnus*, a ddifeddiannodd ei ewythr Dafydd o dywysogaeth Gwynedd; a chan weled fod cyfreithiau a defodau ei lywodraeth ar ddibyn distryw, a'i arglwyddi a'i ddeiliaid, gan mwyaf, yn cymmeryd eu tiroedd gan frenin Lloegr, neu Benaethiaid y Cyffiniau, efe a alwodd yng nghyd ei arglwyddi, ac yn y Senedd hòno dygodd ar gof iddynt nad cyfreithlon, trwy osodiad Rhodri Mawr a Hywel Dda, oedd iddynt ddal tiroedd gan neb namyn eu

[1] "Quod nullæ collectæ vel *Cymhortha* fieri permittantur in Nordwalia." Vide Statut. Walliæ Ed. I. 12 an. reg.; et Les Ordinances de Galles Hen. IV.

tywysog, a'i fod ef yn deilwng o'u hufudd-dod hwynt a holl Gymru, gan ei fod yn iawn etifedd ac isgynydd Anarawd, mab hynaf Rhodri Mawr. Yna hwynt-hwy oll a dyngasant ufudd-dod iddo, ac efe a ddyrchafodd freintiau ei ddeiliaid yn uwch nag y buont er ys hir ysbaid o amser.

Yr oedd yn ofid calon gan freninoedd Lloegr feddwl fod cwr mynyddig o'r ynys yn sefyll mor ddewr, nid yn unig yn erbyn holl alluoedd Lloegr, ond hefyd amryw gynnorthwyon tramor. Daroganau Myrddin a Thaliesin, ac amryw ereill, a barodd i'r Cymry ymegnïo am eu rhyddid yn fynychach; canys anhawdd iawn oedd ganddynt gredu na ennillent yr holl deyrnas yn ol ryw bryd neu gilydd; mae hyny yn amlwg yn yr ateb a roddodd hen bendefig o Gymro[1] i Harri II, pan oedd wedi cynnull yng nghyd fyddinoedd Lloegr, Normandi, Anjou, Gwasgwyn, Gwyen, Fflanders, a Llydaw, yn erbyn Owain Gwynedd; a gofyn a wnaeth i'r hen bendefig, a oedd ef yn tybied y gallai ei ddyrnaid Brytaniaid wrthsefyll ei luosog fyddinoedd ef? Atebodd yntau i'r brenin: "Y genedl hon, O frenin, a ddichon yn awr megys cynt, ac yn fynych, gael ei gorchfygu, ac mewn rhan fawr ei difrodi gan eich lluoedd chwi ac ereill; ond ei llwyr ddinystrio o'r gwraidd ni wneir byth; oddi eithr bod digofaint Duw wedi uno â chreulonder dynion. Ac yr wyf fi yn credu am y cwr hwn o'r ddaiar, pa beth bynag a ddygwydd i fanau ereill o'r byd, mai ger bron y goruchel Farnwr yn y dydd diweddaf, na cheir yn yr ynys hon i ateb trostynt eu hunain onid Brytaniaid, a hyny nid mewn iaith arall, onid eu hiaith eu hunain yn unig."

Felly Harri, wedi dyfod â'i holl fyddin i Wynedd, a lluestu ar Ferwyn, a orfu eilwaith ddychwelyd, heb wneuthur dim a dâl son am dano; ac wedi myned yn ol, o wir gynddaredd am ei aflwyddiant, a archodd dynu llygaid dau fab Owain Gwynedd, a dau fab yr

[1] Vide Dr. J. Davies, *Gram. Prefat.* [Edit. alt. Oxon. 1809, p. 10.]

Arglwydd Rhys, a oeddynt wystlon gantho. Hyn a barodd iddo, pan ddymunodd Immanuel, ymherawdr Caer Cwstenyn, iddo anfon hanes ei deyrnas iddo ef, efe a rodd hwn yn un ateb; sef, "Y mae mewn cwr o'r ynys hon[1] genedl a elwir (*Wallenses*) Cymry, o'r fath ddewr ac anturiol anian, fel na rusant yn noethion ymladd â gwŷr arfog; a'r pethau mwyaf dewisol ganddynt ydyw colli eu gwaed er mwyn eu gwlad, a'u hoedlau er mwyn eu rhyddid."[2]

Un peth sydd wir ddiogel, sef, na safasent byth cyhyd o amser yn erbyn eu gelynion, oni bai fod eu gwlad fynyddig megys pe buasai anian wedi ei llunio yn fwriadol i amddiffyn ffoaduriaid treisiedig, i ba rai yr oedd pob bryn yn ddiogelwch, pob anialwch, cors, ac afon, megys llawforwynion Rhagluniaeth yn sefyll rhyngthynt a dialedd y gelyn; pob craig yn cynnyg ei hun yn gastell iddynt, yn enwedig Eryri; llyna eu hamddiffynfa mewn eithaf caledi, fal y dywawd Rhobin Ddu:—[3]

"Wyddfa, noddfa neuaddfawr—
* * * * *
Clo Gwynedd rhag trymwedd trin,
A'r gaer oreu i'r gwerin."

Pan oedd Harri III. a'i fyddin yng Nghymru, yn niwedd mis Medi, 1245, gwr boneddig o'i wersyll a anfonodd lythyr at gyfaill i Loegr, yn dechreu fal hyn: "Mae y brenin yn gwersyllu yng Nghannoc, yn adgyweirio y castell cryf hwnw, a ninnau yn ein pebyll ger llaw, yn gwylio, ymprydio, gweddïo, ac yn rhynu o annwyd; yr ydym yn gwylio rhag ofn i'r Cymry ddyfod am ein penau yn y nos a'n lladd; yr ŷm ni yn ymprydio, o herwydd nad oes genym fwyd, gan fod y deisen ddimai yn costio pum ceiniog; yr ydym yn gweddïo ar i Dduw ein hanfon ni adref ar fyrder; ac

[1] "In quadam insulâ," &c.
[2] [See supra, p. 45.]
[3] [Rhobin Ddu o Fon, who flourished in the 15th century.]

yn ddiweddaf, yr ydym ni yn rhynu o annwyd, o ddiffyg ein gauaf-wisgoedd," &c.

Ond i ddychwelyd. Gwedi marw Llywelyn ab Iorwerth, cyflwr y Cymry oedd yn myned waethwaeth, fel yr oedd Rhagluniaeth yn trefnu i hyny fod, a'u llywodraeth yn prysuro tua'i ddinystr. Cymhwys imi roddi yma ychydig o hanes y Penaethiaid Gorwlad, neu Arglwyddi y Terfynau, y rhai oeddynt ddrain pigog yn ystlysau llywodraeth y Cymry. Yn nheyrnasiad Gwilym Goch,[1] yn y fl. 1091, trwy amrafael Rhys ab Tewdwr Mawr, tywysog Deheubarth, ac Iestyn, arglwydd Morganwg, y cafodd un Robert Ffitshamon, a deuddeg o farchogion Normanaidd, le i feddiannu arglwyddiaethau yn y Deheudir o rym y cleddyf. A'r brenin yn hoffi hyny, gan weled eu bod yn arbed y draul iddo ef godi byddinoedd, a roddes iddynt gymmaint o dir a'r a fedrent ennill o nerth arfau, oddi ar y Cymry. Ac felly wrth fod brenin Lloegr yn "Heilyn hael o bwrs y wlad," y meddiannodd Iarll Caerlleon holl diroedd Rhufoniog a Thegeingl; ac Iarll Amwythig, wlad Dyfed, Aberteifi, a Phywys; Barnard Newmarch, Frecheiniog; a Mortimer, Elfael; ac ereill mewn amryw fanau.

Yr arglwyddi hyn oeddynt yn cynnal eu byddinoedd ac yn adeiladu cestyll ar eu traul eu hunain, â chanddynt bob un lys barn yn ei dy ei hun, a chrogbren ar ei buarth; ac nid oedd cyfraith yr un o honynt ym mhellach na therfynau ei arglwyddiaeth; ac felly, os drwg weithredwr a wnelai alanas mewn un parth, nid oedd raid iddo onid diangyd i'r arglwyddiaeth arall, dyna fe mewn noddfa, yn cael gwneuthur yn fawr o hono, yn fwriadol, o herwydd fod llu o'r fath greaduriaid dibris yn werthfawr yn y dydd hwnw, i'w hanfon i anrheithio gwlad gwir etifeddion diniwaid. Yr oedd creulon gasineb rhwng yr Arglwyddi Terfynau hyn a'r Cymry, o hyd tan deyrnasiad Harri VIII, yr hwn, fel y gweddai iddo, a gymmerodd feddiannau o'r arglwydd-

[1] William II, surnamed Rufus.

iaethau, gan eu cyssylltu at swyddau a phlwyfydd, a'u dwyn tan yr un gyfraith â pharthau ereill o'r deyrnas.

Un o'r llysoedd hyn a gynnelid yn y Waen, ger llaw Rhiwabon, ac a oedd gynt ym meddiannau y treisiwr Mortimer, a farnodd un Sion Eos, telynor enwog, i farwolaeth; D. ab Edmwnt yn ei farwnad a oedd cwyno:—

"Y swydd na roisit dan sel
I'th Eos gyfraith Hywel—
Eu barn ym mhorth nef ni bydd,
Wŷr y Waen, ar y 'wenydd!"

Yr oedd barn y llysoedd hyn mor anghyfiawn yn erbyn y Cymry, fel, os delid Sais â lledrad gantho, ac i Gymro fyned ag ef ger bron y llys, y lleidr a ollyngid, a'r Cymro a garcharid, am ofyn iawn gyfraith. Pe buasai y Seison yn ymddwyn yn dynerach, a gadael i'r Cymry gael cyfiawnder yn y llysoedd, ni buasai gymmaint o golli gwaed ac ymryfela rhwng y ddwy genedl. Anghyfiawnder swyddogion a barnwyr breninoedd Lloegr oedd yn peri i'r Cymry geisio pob achlysur i ddial arnynt. Mae hanes rhyfeddol am bedwar cefnderw a ymgyfarfuasant ar unwaith mewn ty cyfaill, ac a aethant i draethu y naill i'r llall y gweithredoedd ardderchog a wnaethent.

Y cyntaf, sef, Dafydd ab Siancyn ab Dafydd Crach, o Nanconwy, a ddywedodd, "Dyma y ddager, â'r hon y lleddais i yr Ustus Coch ar y fainc yn Ninbych."

A'r ail, sef, Dafydd ab Ifan ab Eingan, o Edeyrnion, yr hwn fu yn cadw Castell Harlech, yn amser Iorwerth IV, a ddywedodd, "Dyma y cleddyf, â'r hwn y lleddais i y siryf yn Llandrillo."

Y trydydd, sef, Rheinallt ab Gruffydd ab Bleddyn, o'r Tŵr yn y Wyddgrug, yr hwn ymddïalodd ar wŷr Caer, tros Llywelyn Glyn Cothi, a ddywedodd, "Dyma y cleddyf, â'r hwn y lleddais i faer Caer, pan ddaeth ef â gwŷr arfog i losgi fy nhy."

Ac yno gofynwyd i'r pedwerydd, yr hwn oedd wr heddychlon, a'i enw oedd Gruffydd Fychan ab Ifan

ab Eingan, pa beth a wnaethai efe. Yntau atebodd, "Dyma y cleddyf, yr hwn pe tynaswn ef mewn ammharch, myfi a wnaethwn gymmaint a'r goreu o honoch."

Dafydd ab Llywelyn, nai fab chwaer i Harri III, frenin Lloegr, a fu dywysog wedi ei dad Llywelyn ab Iorwerth; a chwedi Dafydd, ei nai, Llywelyn ab Gruffydd, a gymmerodd arno y llywodraeth yn y fl. 1246. Yr oedd gorthrymder y Seison yn y dyddiau hyny yn annyoddefol; os Cymro a wnai y drwg lleiaf yn y terfynau, fe a gafai ei grogi yn ddifarn ar y pren nesaf i'r man lle delid; ond os Cymry a ddalient leidr o Sais, hwynt-hwy a gafent eu curo a'u carcharu, a'r lleidr ei ollwng yn ddigosp. Gwr boneddig o Gymro a'i wraig oedd yn myned tua Rhuddlan, a chyfarfuont â seiri meini Seisnig oedd yn adeiladu yn y dref, pa rai a fynent dreisio y wraig; a chan fod y gwr yn amddiffyn ei hun a hithau, y wraig a laddasant; daliwyd y llofruddion, a dygwyd hwynt ger bron barnwr i Gaer; onid hwynt-hwy a ryddhawyd, a'r gwr·boneddig a fwriwyd i'r carchar. Os na chymmerai Cymro swllt gan Sais ym marchnad Rhuddlan, am werth dau o'i eiddo, fe'i cymmerid ger bron swyddog, efe a gafai ei fwrw i garchar, a'r Sais gafai ei eiddo am ddim.

Yn y fl. 1255, daeth arglwyddi Cymry at Lywelyn, eu tywysog, ac a gwynasant wrtho, â dagrau ar eu gruddiau, gan ddweyd fod eu tiroedd yn cael eu cymmeryd oddi arnynt trwy drais, ac nad oedd gyfiawnder i'w gael; am hyny, rhoisant ddiofryd ger bron Duw, fod yn fwy dewisol ganthynt farw yn y maes wrth amddiffyn eu breintiau, na byw yn gaethion dan wialen estroniaid. Y tywysog, gan hyny, yn tosturio ac yn gresynu ei gyflwr ei hun a hwyntau, a fwriadodd yn un â hwynt wrthod eu cam gan y Seison, gan ddewis marw er rhyddid yn hytrach na byw mewn caethiwed a gwaradwydd. Ar hyny, ymgasglasant yng nghyd yn un galon, ac a ddangosasant i'w gelynion eu bod o hiliogaeth y dewrion oedd yn ddirmygus ganddynt ymostwng i'r anorchfygol Rufeiniaid: curasant y Seison

mewn amryw frwydrau, ac a wasgarasant longau y Gwyddelod ar y môr, oedd yn dyfod i gynnorthwyo y Seison.

Ac ym mhen ysbaid o amser, sef yn y fl. 1277, y sefydlwyd heddwch trwy gyfryngdod archesgob Caer Gaint. Ammodau yr heddwch oeddynt yn penodi fod i bob gweithred anghyfreithlon a wnelid o fewn llywodraeth y tywysog, i gael eu barnu yn llysoedd y tywysog, yn ol defod y Brytaniaid, a chyfraith Hywel Dda; a bod i'r galanasau a weithredid yn y gorwledydd, sef o fewn terfynau Arglwyddi y Cyffiniau, i gael eu barnu yn ol eu cyfreithiau hwynt.

Ond ym mhen ennyd, dechreuodd y Seison drachefn ar eu creulonder, ac nid oedd gyfraith i gael onid yn llysoedd Arglwyddi y Terfynau. Cospwyd amryw Gymry diniwaid, tan esgus fod eu tadau mewn arfau yn erbyn y brenin 40 mlynedd o'r blaen. Cyfraith Hywel oedd yn penodi na ddylid cospi mab am anghyfraith y tad.

Ni feiddiai Dafydd, brawd y Tywysog Llywelyn, dori ei goedydd ei hun yn Llyweni, ond barnwr Caerlleon a'u torodd; ac a'u cludodd i Ruddlan, heb dalu am danynt un ddimai. Felly y gwnaed ag amryw foneddigion ereill hefyd. Cwyn o'r anghyfiawnderau hyn, yng nghyd â llaweroedd ereill, a yrwyd mewn ysgrifen Ladin at y Brenin Iorwerth, ac yntau addawodd wneuthur uniondeb, a chadw ammodau yr heddwch, fel y tyngasai un o'i arglwyddi trosto:[1] ond yr anudonwr, yn lle cyflawnu ei addewid, a adawodd i'w swyddogion eu hammharchu waethwaeth. Felly, yn y fl. 1281, y Tywysog Llywelyn, yn gweled caledi a gorthrymder ei ddeiliaid yn chwanegu beunydd, nid allodd ddyoddef eu clywed yn griddfan tan bwys caethiwed; efe unodd â'i frawd Dafydd, ac a dorasant allan i gyhoedd wrthryfel; gan uno, naill ai i wrthod cam eu cenedl, neu farw yn y maes, gan roddi yr ebwch diweddaf i einioes rhyddid eu gwlad. Gwedi

[1] Lord Rob. Tiptost.

ail ddechreu y rhyfel, daeth Ioan, archesgob Caer Gaint, i Gymru, ac a anfonodd lythyr at Lywelyn i ddyfod i heddwch y brenin, gan ddannod iddo mai ei wŷr ef oedd yn wastadol yn dechreu yr amryfusedd, trwy ladd a llosgi y cwbl oll o'u blaenau. I ba un yr anfonodd y tywysog ateb; ac o herwydd fod y llythyr yn dangos parodrwydd y tywysog a'r Cymry i ymostwng i'r brenin, ar ammodau cyfiawn, o un tu, a'u bwriad diysgog i sefyll y maes, a cholli eu hoedlau, os na chaent uniondeb, o'r tu arall, meddyliais na fyddai yn anghymhwys osod copi o'r llythyr, yr hwn, gan agosed ag y medrwn ei gyfieithu, oedd fal y canlyn:—

"At y Parchedicaf Dad yng Nghrist, yr Arglwydd Ioan, trwy Rad Duw, Archesgob Caergaint, ac Archoffeiriad holl Loegr, ei ostyngedig a'i ddyhewydus fab Llywelyn, Tywysog Cymru ac Arglwydd Eryri, yn anfon anerch.

"Gyda phob parchedig ufudd-dod ac urddas, yr ydym ni yn rhoddi ein gostyngeiddiaf a'n ffyddlonaf ddiolchgarwch i chwi, am y mawr a'r blin drafferthion, pa rai a gymmerasoch yn awr er ein mwyn ni a'n cenedl; ac o hyny yn ychwaneg, yr ydym ni yn ddyledus i chwi o ran (heb wybod i'r brenin) i chwi anturio dyfod atom ni. Yn hyn, eich bod yn gorchymmyn ini ddyfod mewn heddwch â'r brenin, nyni fynem i'ch sancteiddrwydd wybod nad oes le i neb fod barotach na boddlonach i ddyfod na nyni, onid yn unig i'r brenin, fal y dylai, ystyried a chadw yr heddwch tuag atom ni a'n heiddo. Ac er y byddai eich arosiad yng Nghymru yn foddgar genym, eto yr ydym yn gobeithio na bydd dim oedi o'n rhan ni, ond y bydd i heddwch (yr hyn o holl bethau y byd yr ydym i'w ddewis a'i chwennych fwyaf) yn ddiaros gael ei sefydlu; ac yn hytrach o lawer trwy eich llafur a'ch cyfryngdod chwi, na thrwy un modd arall; fel na byddo achos achwyn i'r Pab ein hystyfnigrwydd: ac nid ydym ychwaith yn dirmygu eich eirchiad a'ch llafurus ymdaith; ond gyda phob diffuant barch, fel y mae ein dyledswydd, y mae yr

unrhyw yn gymmeradwy genym: nac ychwaith y bydd hi yn angenrheidiol i'n harglwydd y brenin arfer arfogaeth i'n herbyn, gan weled ein bod yn barod i ufuddhau iddo ym mhob peth, ond yn unig (fal y dywedasom eisys) gael ein breintiau a'n cyfreithiau yn gadwedig.

"Ac er bod teyrnas Loegr tan neillduol ofal y Pab ac esgobaeth Rhufain, a chydag enwedigol gariad yn hoff gan yr unrhyw; eto er hyny, pan ddeallo ein harglwydd y Pab a llys Rhufain y mawr gam a'r colledion a wnaethpwyd ini gan y Seison; sef yr erthyglau heddwch wedi cael eu sefydlu a thyngu atynt, yn cael eu dibrisio a'u tori; anrheithio a llosgi ein heglwysydd; llofruddio ein hoffeiriaid, cystadl llên a lleyg; cyflafan gwragedd beichiogion, a phlant yn sugno bronau eu mamau; adfeilio elusendai a chrefydd-dai; lladd y dynion a'r merched fyddai mewn noddfa yn y manau cyssegredig hyny, ïe, ger bron yr allorau: nyni obeithiwn y gwna eich tadol barch a'r rhagddywedig lys Rhufain yn hytrach resynu a thosturio ein cyflwr, na chyda chreulondeb cospedigaeth ychwanegu ein trueni. Ac ni chaiff teyrnas Loegr mewn un modd ei haflonyddu na'i blino trwom ni (fal y dywedasom), os ceir heddwch yn gyfaddasol gadwedig a sylwedig tuag atom ni a'n pobl. Pwy ydynt hwy sydd yn ymhyfrydu mewn gwaed a rhyfel, sydd eglur amlwg wrth eu gweithredoedd a'u hymddygiad; canys byddem ni fyw yn heddychlon ar ein heiddo, pe caniatëid hyny ini; ond y Seison yn dyfod i'n gwlad, a roddasant bawb i'r cleddyf, heb arbed na rhyw nac oedran, na chleifion, na dangos y lleiaf barch i eglwysydd a lleoedd cyssegredig; y cyffelyb bethau ni wnaeth Cymry erioed. Bod un wedi talu am ei ryddhâd, yn cael wedi ei roddi i farwolaeth, sydd ry ofidus genym glywed! Ac nid ydym ni yn porthi nac yn cefnogi y troseddwr, yr hwn, wedi dianc o'n dwylaw, sydd yn cadw ei hun megys crwydrad anghyfraith hyd goedydd a lleoedd anghyfannedd. Darfod i rai o honom ddechreu y rhyfel mewn amser anghyfaddas, ni ddeallasom ni hyny hyd

yn awr; ac eto, mae y rhai hyny a wnaeth hyny yn tystiolaethu, pe nas gwnaethid fel y gwnaethant, y cawsent un ai eu lladd ai eu cymmeryd eu hunain: gan nad oeddynt mewn diogelwch yn eu tai, ac yn gorfod bod o ran achub eu heinioes yn wastadol tan arfau; gan hyny, i wared eu hunain oddi wrth yr ofn hwnw, meiddiasant wneuthur fel y gwnaethpwyd.

"Yng nghylch y pethau hyny yr ydym ni i'w gweithredu yn erbyn Duw, gyda chynnorthwy ei rad, ni wnawn (fal y gweddai i Gristianogion) edifaru a throi ato. Ac ni chaiff y rhyfel, o'n rhan ni, ei ddwyn ym mlaen, os cawn ni lonydd yn ddidrais i fyw fel y dylem; ond cyn y cymmerwn ni ein dietifeddu a'n lladd, yr ydym ni yn bwriadu amddiffyn ein hunain oreu ag y medrom.

"Am bob camwri a cholledion a wnaethom ni, yr ydym ni wirfodd barod (ond cael gwir a diduedd ymholiad a phrofiad o'r holl gamweddau a'r troseddiadau o bobtu) i wneuthur iawn hyd eithaf ein gallu, ond i'r un peth o ochr y brenin gael ei gyflawnu yn yr un modd tuag atom ni a'n pobl.

"Ac i ddiweddu y rhyfel ac i sefydlu heddwch, yr ydym ni yn wirioneddol barod: ond pa heddwch a sefydlir tra bo deddf y brenin, a sicrhawyd mor ddifrifol, heb gael ei chadw na'i chyflawnu? Mae ein pobl ni yn cael eu treisio yn feunyddiol â gorthrymderau newyddion: nyni anfonasom i chwi hefyd gwyn mewn ysgrifen o'r cam a'r sarhâd a wnaed â nyni, yn wrthwynebol i ddull yr heddwch a gytunwyd o'r blaen. Rhoddasom ein hunain dan arfau, o herwydd fod angenrheidrwydd; [canys yr oeddym ni a'n pobl] yn dreisiedig, sathredig tan draed, anrheithiedig, arweiniedig i gaethiwed, gan swyddogion y brenin, yn groes i ddull yr heddwch a gytunwyd, ac yn erbyn pob cyfiawnder, dim amgen na phe buasem anghred neu Iuddewon; am hyny y cwynasom laweroedd o weithiau wrth y brenin; ond erioed ni chawsom ryddhâd! Ond yn wastadol y swyddogion hyny a fyddent gieiddiach a chreulonach yn ein herbyn. A phan fyddai y

swyddogion hyny trwy drais a gorthrwm ddyhirwch wedi ymgyfoethogi ar ein heiddo, ereill mwy newynllyd na hwynt a yrwyd o newydd i flingo y trueiniaid oedd wedi cael eu cneifio gan y lleill o'r blaen. Gan hyny, y bobl a ddewisasant yn hytrach farw, na byw tan y fath orthrymder. Ac yn awr ni bydd yn angenrheidiol godi byddin i'n herbyn, nac annog penaethiaid yr eglwys i'n herbyn, ond i'r heddwch yn addasol a gwirioneddol gael ei gyflawnu, fel y traethwyd o'r blaen.

"Ac ychwaith ni ddylech chwi, ein sanctaidd dad, roddi cred i'r cwbl mae ein gelynion i'w dystiolaethu i'n herbyn; gan nad ydynt yn ol o'n gorthrymu yn eu gweithredoedd, ni byddant ychwaith yn fyr o'n gwaradwyddo yn eu geiriau, gan osod i'n herbyn y pethau a'u boddia oreu.

"Gan hyny, yn gymmaint a'u bod hwy yn wastadol gyda chwi, a ninnau yn absennol oddi wrthych; y nhwy yn gorthrymu a ninnau yn orthrymedig; yr ydym ni yn deisyfu arnoch, yn unig er mwyn yr Hwn nad oes dim guddiedig rhagddo, na choeliwch eiriau dynion, ond yn hytrach chwilio eu gweithredoedd. Felly y dymunwn i'ch sancteiddrwydd fod yn wych.

"Rhoddwyd yng Ngarth Celyn,
"Gwyl Sant Marthin."

Yr archesgob, wedi darllen y llythyr, a'r cwynion a anfonwyd ato, a dosturiodd wrth gyflwr y Cymry, ac a ddaeth hyd Eryri i ymddyddan â'r tywysog wyneb yn wyneb. A chwedi ei ddychwelyd at y brenin, efe a wnaeth ei oreu i'w ddwyn i ystyried cwynion y Cymry, ac y dylai efe faddeu iddynt, ac esmwythäu eu caethiwed. Ond y brenin erbyn hyn oedd wedi llawn fwriadu na phlygai efe i ammod heddwch yn y byd, ond y byddai raid i'r tywysog roddi i fyny ei holl feddiannau yng Nghymru, a dyfod i fyw i Loegr ar ewyllys da y brenin. Hyn oedd ry galed gan Lywelyn i ymostwng iddo: efe a safodd tra gallodd, a phan syrthiodd, fe syrthiodd llywodraeth y Brytaniaid yn

gwbl, wedi parhau (yn ol yr hanes) o ddyfodiad Brutus, 2418 o flynyddoedd. Pan laddwyd Llywelyn trwy frad, ym Muallt, ar ddydd Gwener, Awst 11, 1282, anfonwyd ei ben gyda llawenydd mawr i'r brenin i Ruddlan, yr hwn a'i gyrodd i'w roddi ar bawl haiarn ar ben y Tŵr Gwyn yn Llundain.

Wedi hyny bradychwyd Dafydd, brawd y tywysog, i ddwylaw y brenin, a dygwyd ef hyd Amwythig, ym mha le y rhwymwyd ef wrth gynffon march ffromwyllt, a llusgwyd ef trwy heolydd y dref i ryw le penodol, lle yr ysgarwyd ei ben oddi wrth ei gorff, a gyrwyd ei ben i Lundain, i'w roddi gydag un ei frawd ar ben y Tŵr Gwyn; tynwyd ei galon a'i ymysgaroedd, a llosgwyd hwynt yn lludw; gwahanwyd ei gorff yn bedwar aelod, ac anfonwyd hwynt i bedair dinas[1] ym mhedwar cwr y deyrnas. "Thus" (meddai rhyw hen Sais[2]) "did the vengeance of God bring these sturdy rebels, who rebelled against their king, to a shameful destruction, the meritorious reward of their wilful actions."

"Tafod gelyn ar ddannedd, ni chydsain ar wirionedd." A chwedi hyn oll, yr oedd ysbryd rhyddid yn lled fyw, ac ymegnïodd y Cymry yn ddewrion cyn pen hir, tan flaenoriaid ereill; ond eu tynged oedd yn wastadol yn aflwyddiannus. Yr ail flwyddyn wedi lladd Llywelyn, sef 1284, a'r ddeuddegfed o deyrnasiad y Brenin Iorwerth, y cynnaliwyd senedd yn Rhuddlan, ac y lluniwyd deddfau creulon yn erbyn y Cymry, pa rai sydd i'w gweled yn llyfr cyfreithiau Iorwerth y Cyntaf, a elwir *Statuta Walliæ*, ac a elwir yn gyffredin *Ystatut Rhuddlan;* ac ym mhlith ereill osodedigaethau fe benodwyd —"Os ceffid gleddyf, neu unrhyw erfyn arall, niweidiol neu amddiffynol, gan Gymro mewn marchnad, neu gynnulleidfa arall, bod iddo golli ei arfau, a'i roddi mewn carchar am flwyddyn, neu hyd ewyllys y brenin, neu, fe allai, am ei oes." "Ac nad

[1] York, Bristol, Northampton, Winchester.
[2] Martin, an English Historian, and a bitter calumniator of the Welsh.

oedd i Gymry ymgyfarfod mewn cynnulleidfa, heb genad y brenin, a bod swyddogion y brenin yn bresennol gyda hwynt."

Ac i roddi i orthrymder y wisg dduaf yn annwfn, penodwyd—"*Item, quod Musici, Bardi, Cantores, non permitterentur nec sustinerentur in patriâ, ne per scandala et mendacia excitarent populum ad malum, et per subsidia communem populum opprimerent:*"—sef, "Hefyd, na chaniatëir ac na chynnwysir Cerddorion, Beirdd, a Dadgeiniaid yn y wlad, rhag iddynt, drwy eu daroganau a'u celwyddau, annog y bobl i wrthryfel, ac wrth eu clera wasgu y cyffredin bobl."

Diammheu fod caniadau a daroganau y beirdd yn fynych wedi ysbardyno calondid y Cymry i ail geisio eu rhyddid. Bu amryw o'r gwerin anwybodus yn hir ddysgwyl am ddychweliad eu Brenin Arthur o farw i fyw, i'w rhyddhau oddi dan iau yr estroniaid. Ac y mae rhai yng Nghymru mor ofergoelus y dydd heddyw a chredu fod llu o filwyr yn cysgu yn Eryri, ac y daw amser iddynt ddeffro, ac y gyrant y Seison o Loegr.[1]

Pa nifer o feirdd a laddwyd, na phwy oeddynt, nid oes hanes (am a wn i); ond y mae dangosiad fod amryw awduron yn byw yn yr oes hòno, rhai o honynt a ganasant gwynfanau ar ol eu Tywysog Llywelyn, sef Gruffydd ab yr Ynad Coch, Bleddyn Fardd, &c.

Ni feiddiai y rhai a ddiangodd rhag y ddedfryd echryslon ymddangos yn gyhoedd; onid ffoi ac ymguddio o'r naill loches i'r llall.

Y mae yr odlau canlynol yn dadgan cyflwr y beirdd dan bwys gwialen gorthrymder Iorwerth Frenin, er eu bod wedi eu cyfansoddi ym mhell wedi hyny, fe allai gan rai oedd yn ffoi rhag dedfryd Harri IV, yr hwn a wnaeth yr unrhyw gyfraith yn erbyn y Cymry:—

"Hir yw'r oes, ar herw yr wyf,
Oes ryhir, nas arhowyf!"—

[1] Vide the Cambrian veteran's reply to Henry II, p. 151.

"Rhodio coed a rhedyn,
Ys oera' daith, sy raid yn'—
Ymaros mewn mieri,
O Dduw mawr! ydd ŷm ni—
A gorwedd dan y gwyros
Yn llwyn ir allan y nos,
Yno bydd i ni heb waith
Newyn wedi bwyd naw-waith!
Gwenwyn-fyd—gwae ni wan-feirdd!
Gweddill byd—gwae ddeall beirdd!"

O greulon ben coronog! ai nid oedd gwaed y tywysogion, gwir etifeddion dy goron, a miloedd o'u gorthrymedig ddeiliaid, yn digoni dy fileinder? A oedd raid i ti sychedu drachefn am waed y beirdd? A oedd dialeddau nef yn hepian, pan gefaist le i ledradaidd ymlithro o'r byd hwn trwy angeu anianol? "Hir bydd chwerw hen alanas." Felly cythruddedig pob enaid Cymro a glywo grybwyll dy enw, yr hwn a roddaist y dyrnod marwol i ryddid Brytaniaid, ac a lwyr ddileaist eu cyfreithiau.

Ond i Dduw y byddo diolchgarwch, yr Hwn a ddadymchwelodd gaethiwed ein cenedl, ac a'n dygodd yn un bobl â'n gorthrymwyr tan lywodraeth ddymunol, heb rwystr na gwaharddiad, i ystyried defodau, i arferyd ac edfryd iaith ein hynafiaid. Gwerthfawrogwn y rhyddid hwn tan achles teyrnasiad hynaws frenin, yr hwn ni arfer falch orthrymder, ac ni edwyn anghyfiawnder; am yr hwn y gallwn ddweyd fel y dywedodd Horas am Augustus Cæsar, sef,

"Serus in cœlum redeat; diuque
Lætus intersit populo Quirini."

"Diweddar y dychwelo uwch y ffurfafen, a phoed hir ei hyfryd bresennoldeb i bobl Prydain."

# TRAETHAWD

## AR BRYDYDDIAETH GYMREIG; A PHA UN A FU Y PEDWAR MESUR AR HUGAIN ER LLES, NEU ER NIWED I'R IAITH?[1]

## CONTENTS.

ON Poetry in general—"*poeta nascitur, non fit*" (a poet is born, not made)—Music anterior to poetry—The first musician on record—The first song a sacred one—the warmth of gratitude giving vent to language more dignified and sublime than prose—Few fragments remain of Druidical versification among the Britons—Decline of Poetry after the Saxon Invasion, for several ages—Revival in the 12th, 13th, and 14th centuries—Dafydd ab Gwilym, an inimitable writer—inventor of the most popular metre, called Cywydd—introduced a new species of poetry into use, the personification of inanimate beings, &c.—The great Eisteddvod (Bardic Session) held at Carmarthen in 1451, to reform the four and twenty metres—the Silver Chair proposed to be the reward of the bard who should prepare, in nine days, the most complete System of Prosody—Dafydd ab Edmund the successful competitor—His twenty four metres adopted by the Bards of Gwynedd (North Wales) from that time to the present—The Bards of Siluria (Gwent and Glamorgan), in an assembled Gorsedd (Bardic Congress), enter a protest against the new system, thenceforth called the System of Carmarthen, deeming it an injurious imposition, the quackery of sacrificing sense to sound—These twenty four Metres, as laid out by Dafydd ab Edmund, and followed by all subsequent Grammarians, Dr. J. D. Rhys, Capt. Myddleton, Sion Rhydderch, &c., are considered not to have been either of *benefit*, or *otherwise*, to the Welsh *Language;* but the effect different with respect to Welsh *Poetry*, their unmeaning restrictions being worse than useless—The System of Glamorgan, developed, and lately published in the *Cyfrinach y Beirdd*[2]—The two systems compared—and preference given to that of Glamorgan, which is nearly perfect—the other quite the reverse—Goronwy Owain, the inimitable bard of the last century—his repro-

[1] One of the subjects proposed by the Metropolitan Cymmrodorion Society for competition, against the Eisteddvod held at Cardiff, 1834. [This Essay was first published in the *Transactions of the Cymmrodorion*, Vol. II. Part IV. London, 1843.]

[2] ["Transcribed from ancient MSS. and edited by the late Mr. Edward Williams (Iolo Morganwg); and published under the direction of his son, Mr. Taliesin Williams (Taliesin ab Iolo), in 1829."—*Editor of the Transactions of the Cymmrodorion.*]

**bation of the System adopted at Carmarthen in 1451—A reciprocity of adaptation between the Welsh Language and correct Cynghanedd (harmonic concatenation), which constitutes not only a distinguishing ornament, but the very existence of Welsh Poetry —The Welsh Language, in its present state, not adapted to Moelawdl or Cân Benrydd (blank verse)—nor any other known language suitable to the Welsh Cynghanedd—reasons given for both—A judicious selection of old metres from the System of Glamorgan recommended—and a reduction of the restrictions, the non-observance of which is commonly called "Beiau ac Anafau Cerdd Dafawd" (faults and imperfections in poetic composition) from fifteen to half that number, sanctioned and authorized by a future Eisieddvod—Conclusion.**

DYFELIR bod Cerdd Dant yn foreuach yn y byd na Cherdd Dafawd; canys nid oedd gan y prydydd cyntaf un athraw daiarol i'w hyfforddi yn ei gelfyddyd: tra yr oedd cerddorion y goedwig, yn hwyr ac yn foreu, yn pyncio cynlluniau tonau i hoffwr peroriaeth. Yr eos, y llinos, y fwyalch, a'r fronfraith, neu ryw aelodau ereill o'r côr asgellog, a ddysgasant i fab Lamech ddychymmygu a chyweiriaw telyn ac organ.

Can nad oedd gan y prydydd cyntaf un cynllun, gweledig na chlywedig, o'i flaen i'w ddysgu i gyfansoddi cerdd, pa beth, pa allu, a weithiai ar ei ymbwyll i anturio y gorchwyl? Ei ddawn gynhenid, y ddawn oedd gyfansawdd â'i anian, ac a anwyd gydag ef. Yr oedd efe yn gyfarwydd yn ei famiaith, yn ymhoffi ynddi, ac yn ei gweled yn rhagori ar bob iaith arall. Llawenydd a gorfoledd ysbryd a barai iddo dori allan i draethu teimladau ei fynwes mewn iaith mwy dyrchafedig nag a arferid mewn ymadroddion cyffredin. Y gerdd henaf ar gof a chadw ydyw Cân Ddiolchgarwch Moses a phlant Israel ar draethell môr Edom, pan ddymchwelwyd eu herlidwyr, Pharaoh a'i fyddin, a'i feirch a'i gerbydau, yn rhyferthwy y dyfroedd chwyddedig.

Ni weddillawdd amser ond ychydig o brydyddiaeth yr oesau Derwyddawl ym Mhrydain. Ym mhlith yr hynafion gathlau, cyfrifir tribanau "Marchwiail bedw briglas;" tribanau "Cain Cynnwyre;" tribanau "Eiry Mynydd," &c. Am "Tydain Tad Awen," Plennydd,

Alon, a Gwron," ni wyddom nemawr, oddi eithr eu henwau: hunont mewn heddwch gyda y cynddiluwiaid! O gylch oes Arthur, ac ymgyrch y Seison, ni arferai y beirdd, Taliesin, Aneurin, ac ereill, ond prin gysgod cynghanedd, oddi eithr y prifodliad (*terminating rhyme*) yn y 12fed ganrif, ymddyrchafodd Gwalchmai ab Meilyr yn fychdeyrn beirdd yr oes. Un o'r awdlau mwyaf hynod o'i waith a welir yn y *Myvyrian Archaiology*, tudal. 167, "i Owain Gwynedd," yn yr hon y darlunia frwydr "Tal Moelfre" ym Mon:—

"Ac am Dal Moelfre mil fanieri," &c.

O gylch diwedd y drydedd ganrif ar ddeg, a dechreu y bedwaredd ar ddeg, y llewyrchodd bardd arall a ragorai ar ei gyfoesion, dan yr enw llys, *Casnodyn*. Efe a chwanegodd at nifer y mesurau, ac yn enwedig yr ynglyn, sef y cyntaf ym "Marwnad Madawg:"—

"Bu oerchwedl cenedl cwyn enwawg—tristlawn
Camp Meirchiawn cwymp Mârchawg,
Byd a fydd—ry-gudd yr hawg—
Byd heb fyd—bod heb Fadawg!"

Yn ei Awdl i'r Drindod, darlunia arswydol ddygwyddiadau y dydd olaf yn yr iaith rymus a ganlyn:—

"Pan wnel Duw ddangos ei faran,
Dyddwyre dŷ daered arnan,
Dychryn twryf torfoedd yn eban,
Dychyrch hynt dychre gwynt gwaeddfan,
Dychymmriw ton amliw am lan,
Dychymmer ufeliar bâr ban,
Dychrys gwrys gwres tandde allan.
* * * * * * *
Cyn glasfedd, cyn glasu fy ngran,
Duw a'm rhydd o'm rheiddyn ofan,
Rwydd obaith o waith y winllan—
Ac yna daw brawd braw gyman—
Ar ddehau fy Rhiau fy rhan!"

Nid oedd Casnodyn ond prin gwedi oeri yn ei feddrod, pan ddifyrwyd trigolion De a Gwynedd â pheraidd sain Cywyddau a Thoddeidiau Dafydd ab Gwilym.

Gelwir ef gan rai, megys o barch i'w enw—"*Yr Ofydd Cymreig.*" Ond chwareu teg i Fardd Bro Gynin; ei gywyddau serchocaf i Forfydd ydynt fwy diwair o lawer na chaniadau nwydlawn yr adyn-fardd Rhufeinig. Efe (D. G.) a ddygodd ar arfer gyffredin y mesur mwyaf sathredig o'r pedwar ar hugain; a'i Gywyddau ef ydynt ym mhlith y rhai melusaf yn yr iaith. Beirdd yr oes a ymostyngent i'w ragoroldeb: gweler yma dystiolaeth rhai o honynt:—

"Dysgybl wyf, ef a'm dysgawdd,
*Dysgawdr Cywydd*——"
GRUFFYDD GRYG, *ym Marwnad D. G.*

"Taw di i gyd—ti *Gywydd*—
Nid da'r byd—nid hir y bydd:
Tra bu Dafydd gelfydd gân
Ydd oeddid barchus ddyddan;
Ac ni bydd o herwydd hyn,
Gwedi *ef* gwiw dy ofyn!"
IOLO GOCH.

Tudur Aled, ym Marwnad D. ab Edmwnt, a ddywed:—

"Ni bu fyw neb fwy'i Awen,
Ond da *Fardd Glan Teifi* wen:
*Mab Gwilym* heb gywely,
Heb iddo frawd, ni bydd fry."

Am ddychymmyg neu grebwyll, ni bu, ac ef allai, ni bydd yng Nghymru, ail i Ddafydd ab Gwilym. Efe a ddysgai, yn nod i ddylluan ac i bioden siarad yn Gymraeg glân gloew; rhoddai leferydd yng ngeneu drychiolaeth, ac ymgomiai â'i gysgod ei hun.

O gylch hanner canmlwydd wedi gosod yr hyn oedd farwol o fabmaeth yr Awen gynnwynawl dan ywen ym monwent Ystrad Fflur, cynnaliwyd yr Eisteddfod fawr yng Nghaer Fyrddin, dan nawdd ac achles yr anrhydeddus Gruffydd ab Nicolas, o Ddinefawr, yn y flwyddyn 1451. Dyben ac achaws yr Eisteddfod hon oedd adgyweiriaw yr adwyon a wnaethai amser ac anllywodraeth yn nheithi a deddfau Cerdd Dafawd. Y llywydd clodwiw a gyhoeddodd—

Bod naw diwrnod o amser i'r beirdd ymbwyllaw, ac y rhoddid Cadair Arian i'r bardd a gyflwynai i'r Eisteddfod y Ddosbarth gyflawnaf a chywreiniaf o'r pedwar mesur ar hugain. Dafydd ab Edmwnt, gwr boneddig a bardd o Faelawr yng Ngwynedd, a lwyddodd, ac a dderbyniodd y wobr. Y pedwar ar hugain mesur hyn a elwid byth o hyny allan yn Ddosbarth *Caer Fyrddin*—Dosbarth *D. ab Edmwnt*—a Dosbarth *Gwynedd*, o herwydd iddi gael derbyniad dïwrthryn yn y parth hwnw o'r Dywysogaeth, a pharhaodd hefyd mewn cymmeriad yno hyd yn ddiweddar o flwyddau.

Cyn pen hir gwedi Eisteddfod Caer Fyrddin, yn y fl. 1451, annogwyd beirdd Gwent a Morganwg i gynnal Gorsedd, "yn wyneb haul ac yn llygad goleuni," i roddi nag a gwrtheb yn erbyn derbyniad y Ddosbarth newydd, fel y galwent Drefniant Caer Fyrddin. Haerent nad oedd hi ond cruglwyth o wag orchestion, i lyffetheirio Awen, ac i gadw y beirdd mewn anwybodaeth. Honent hefyd bod ganddynt hwy eu hunain Ddosbarth o bedwar mesur ar hugain, a phob un o honynt yn wahanol oddi wrth y lleill, o ran ei "nod angen," ei fan geni teuluawl ei hun, yr hwn ni pherthynai i un mesur arall. Yn yr ail Eisteddfod yng Nghaer Fyrddin, yn y fl. 1819, dygwyd ym mlaen gymhariaeth rhwng teilyngdod y ddwy Ddosbarth, a rhoddwyd dedfryd—"Bod o hyny allan ryddid i feirdd Ynys Prydain gyfansoddi caniadau ar y mesurau mwyaf teilwng a chyfaddas i'w testynau; ac na byddai rhag llaw wahaniaeth o barth teilyngdawd i'w roddi i fesurau yr un Ddosbarth, na'r hen na'r newydd, ragor neu uwch eu gilydd; ond bod urddiant cerdd neu awdl i gael ei farnu wrth gymhwylliadau synwyr, a phwyll, a chynghanedd rywiawg a diledryw, yn hytrach nag wrth amrywiaeth mesurau."

Eglurer yma deithi a theilyngdod amrywiol y ddwy Ddosbarth yn ddammegol—cyffelyber hwynt i ddwy *goedwig* wahanol. Anianyddion a ranant goedydd a llysiau yn deuluoedd; teulu y dderwen yn dwyn *mes*, teulu y ddraenen wen yn dwyn *ogfain*, &c., &c.

Planwyd pedwar pren ar hugain o wahanol rywiau yng nghoedwig yr hen Ddosbarth, a dyfaler bod *helyg* o amryw fath yn gwneyd i fyny un teulu helygog. Gwyddys bod yn eu plith helyg *llwydion*, *mer*-helyg, helyg *breuon*, helyg *gwydnion*, helyg Babilon, &c.; er hyny helyg ydynt oll; ac os dygwydd i un o honynt grwydro a thyfu yn bren ym mhlith llwyfain neu fedw, er hyny gwyddys wrth ei blodau, ei dail, &c., mai helygen ydyw. Felly hefyd am y tri phren ar hugain ereill yng nghoedwig yr hen Ddosbarth; adwaenir pob un o honynt wrth eu *nod angen*, eu man geni, yr hwn ni pherthyna i un teulu arall.

Bellach ystyrier y dull a gymmerth Dafydd ab Edmwnt yn Eisteddfod Caer Fyrddin (1451), i blanu ei goedwig newydd ei hun. Cymmerodd *dderwen* o'r hen Ddosbarth, ac a'i planodd yn ei Ddosbarth, ac a'i galwodd ar ei henw ei hun, *Derwen*—dyna *un* mesur; cymmerodd dderwen arall, ysgythrodd ei brigau, ac yna rhoddes arni enw *Onen*—dyna yr *ail* fesur. Cyfarfu ag *Eithinen* y mynydd—efe a'i gosododd yn ei goedwig, ac a'i galwodd Cedrwydden; ac i *Fieren* y rhoddes yr enw Olewwydden: ac felly yn y blaen, nes ym mhen naw diwrnod yr Eisteddfod yr oedd ei ddiwydrwydd ef wedi hela yng nghyd bedwar ar hugain o enwau mesurau, heb fod o honynt oll namyn saith yn dwyn ei nodau angen gwahanryw. Deongler ychydig yn rhagor ar ddammeg y Coedwigoedd a soniwyd.

Geraint Fardd Glas, yn y 10fed ganrif, a gyfansoddodd *Reithiadur Cerdd:* ei fesurau ef oeddynt y naw gorchan, neu naw colofn cerdd, ac un gogolofn, neu fesur adlaw, dan yr enw *Cynghawg*. Gelwid y mesur felly, am mai ei nod angen oedd cyssylltu dau neu ragor o'r mesurau yng nghyd, fel y cyssyllta Cynghaf (*bur*) amryw wrysg yng nghyd—(Cynghaf, cynghafawg, cynghawg). Y mae Cynghawg yn deulu lluosog, ei rywiau braidd yn aneirif; a buont yn gynnorthwy mawr i Ddafydd ab Edmwnt i gyflawnu rhifedi ei 24 mesur yng Nghaer Fyrddin: canys allan o'r un mesur

Cynghawg, ni ddefnyddiodd efe lai na *chwech* o'i fesurau dan enwau newyddion—megys Gwawdodyn hir, Gwawdodyn byr, Hir a Thoddaid, Cyrch a Chwta, &c. Yr un math ar ryddid a gymmerodd mewn perthynas i'r mesur *Hupynt*. Un mesur, ac un teulu, sydd dan yr enw Hupynt yn yr hen Ddosbarth, dan yr un nod angen, yr un man geni teuluawl; ond D. ab Edmwnt a'i planodd yng nghoedwig ei Ddosbarth mewn *tri* man, gan roddi enw gwahanol ar bob un, sef Hupynt hir, Hupynt byr, ac megys "tin y nyth," Gorchest y Beirdd. Yr oedd Hupynt yn hen fesur ar arfer gan y Cynfeirdd a'r Gogynfeirdd. Hwn yw mesur Cân Dafydd Ddu o Hiraddug—"Ti Dduw a Folwn" (*Te Deum Laudamus*), a mesur Bugeilgerddi Edward Richard, o Ystrad Meirig, a llaweroedd o Gerddi a Charolau Huw Morus, a'r cynghaneddwyr goreu yn yr oesau diweddar.

Nid yw Gorchest y Beirdd (*Nonpareil*), fel y gelwir, ond rhigwm gwael, y gwaelaf o'r pedwar mesur ar hugain newydd: mesur yw, cymhwys i feddwyn uwch ben ei loddest: ar hwn gallai ganu—

"Dip dap,
Rip rap,
Gip gap—dod gwpan."

"O!" meddai dysgybl D. ab Edmwnt (od oes *un* yn bod), "y mae yma dor mesur—dau sill yn lle pedwar ym mhob ban." "Goreu yn y byd," medd pwyll a chrebwyll. Yr oedd meddwl am y mesur hwn, ac ereill yn y Ddosbarth newydd, yn wrthwyneb calon gan y bardd mwyaf awenyddol yn y ganrif ddiweddaf, sef Goronwy Owain. Rhoddir yma ei farn ef am danynt, fel yr ymddengys mewn llythyr o'r eiddo at gyfaill:—

"Yr wyf yn deall bod yr hen fesurau, megys Triban, Toddaid, Clogyrnach, &c., yn cynnwys ynddynt elfenau cerdd beroriaethus, a bod arnynt nodau hynafiaeth; ac am rai o'r mesurau ereill, megys Gorchest y Beirdd a'i gymheiriaid, gan eu bod yn bethau newydd, camdybiwyd hwynt yn fwyaf cywrain a chyfrifol; ond nis

gallaf lai na'u barnu yn *waethyg*iadau yn lle *gwelli*adau cerdd. Pa gân cler y dom yw y *Gorchest* y Beirdd yna! A mynwn ateb diduedd i'm holiad, Ai nid oes yn Nhriban Milwr, yr hen fesur gwrthodedig ac ammharchedig hwnw, lawer mwy o ragoroldeb? Pan amcanwyf ysgrifenu synwyr ar y fath fesur a Gorchest y Beirdd, ac yna dechreu! Wel! a bod fy mamiaith oludog yn rhy dlawd i roddi geiriau i orphen y pennill mewn synwyr a chynghanedd hefyd—pa beth a wnaf? Dim ond hyn—i gadw cynghanedd, rhaid i mi ysgrifenu *ffiloreg* oddi yna i'r diwedd; a llyffetheirio a thorfynyglu synwyr, tra byddo fy ngeiriadur yn cael ei droi wyneb yng ngwrthwyneb, i gael geiriau o'r un derfyniad, synwyr neu beidio. Ac ym mhellach, tybier bod ein hiaith yn fwy gwreiddeiriol a chynnwysfawr nag ydyw (yr hyn nid oes achos na lle i neb ddymuno), pa gyflawndeb o eiriau mwysion a ddichon y fath fesur 'rhegen yn y rhych' eu cynnwys! Gan fy mod yn deall i'r Gorchest y Beirdd hwn, a'i gymheiriaid, gael eu trwydded trwy gyfrwng ac awdurdod Eisteddfod, mi a ddymunwn gael Eisteddfod eto, i roddi iddynt eu hysgrifen ollyngdod i fyned gyda'u gilydd i ryw wlad yr Hud lonydd, i ddigrifo poblach arferol o ddifyru eu hunain yn gosod a dattod y clo can clicied, yr haiarn 'taring,' chwareu cnau i'm llaw, a buarth pabau,[1] &c. Yna llawenychwn weled yr hen fesurau yn cael eu hedfryd yn ol i'w parch a'u braint cyssefin, a synwyr yn cael yr orsedd yn lle 'twndi tandi' gwag orchestion diffrwyth."

Pe buasai Goronwy Owain yn fyw, ac yn Eisteddfod Caer Fyrddin yn 1819, cawsai y dywenydd o weled yr hen fesurau yn cael eu dyrchafu i fod o leiaf yn gydraddol â mesurau caethion y Ddosbarth newydd; ac y mae sail i dybio na ddargeisiwyd cymmaint ag un pennill ar Orchest y Beirdd, na Thawddgyrch Cadwynawg, na Chyhydedd hir, gwedi yr Eisteddfod hòno. Rhwydd-deb iddynt i "Wlad yr Hud!"

[1] [Buarth baban ?]

Y mae tystiolaeth Goronwy Owain ar y pwnc mewn llaw, yn drech na mil i'r gwrthwyneb. Efe a wyddai am ychydig o'r hen fesurau, drwy eu gweled ar wasgar mewn ysgrifau, er na welodd erioed mo'r casgliad cryno o honynt a gyhoeddwyd yn ddiweddar ym Merthyr Tydfil, dan enw *Cyfrinach Beirdd Ynys Prydain.* Ei ddawn oruchel a'i galluogodd i ddadlu yn eu plaid fel beirniad anwrthwynebadwy. Ni bu erioed yn hoff ganddo gynghaneddu ar y 24 mesur cyffredin. Yr oedd i'w Awen aden gref, ond nid oedd efe am ei blino mewn gorchestion diorchest. Llwyddodd yn hynod yn ei efelychiad o'r hen fesurau, yn ei Briodasgerdd (*Epithalamium*) Elin Morys (*Dyddanwch Teuluaidd*, 33, ail argraffiad); a'i Awdl ar ddull Meilyr Brydydd (yn y 12fed ganrif) sydd orchestol.

Yma gellid terfynu y Traethawd hwn, oni bai fod yr ysgrifenydd yn lled-dybio mai bwriad Aelodau y Gymdeithas, a roddasant allan y testyn, oedd ymorol—*nid* a fu y "pedwar mesur ar hugain" er *lles* neu *af*les i'r *iaith*, ond a fu *cynghanedd* er *llwydd* neu *af*lwydd i *brydyddiaeth* Gymreig. Hyny ydyw, mewn geiriau ereill—A ydyw *cynghanedd* yn fwy cymhwys ac hanfodawl i *brydyddiaeth Gymraeg* nag ydyw Moelawdl, Cân benrydd *(blank verse)*—neu i'r gwrthwyneb? Os hyn yw sylfon yr ymofyniad, yr ydym yn deall ein gilydd, ac ni rusir ateb—Bod *cynghanedd* wedi gadael ffrwythau toreithiog i ddadlu yn ei phlaid—ei bod, yn ei diwyg oreu, ac ni soniwn am dani yn ei bratiau, wedi bod yn harddwch addurnawl i'r iaith; yr hyn nis gellir hyd yma haeru o blaid un gân benrydd. Y mae cynghanedd gywir hefyd wedi gweini er *cadwedigaeth* yr iaith yn ddilwgr. Ni oddef cynghanedd ddiledryw i *un gair*, nac i *un gydsain*, gael ei symmud o'i gorsaf briodol mewn ban. Pe byddai hanner ban o'r groes-gynghanedd ar goll mewn hen ysgrif, hawdd a fyddai ei ail osod yn ei gywirdeb cyssefin, a hyny heb le i'r ammheuaeth lleiaf. Pwy a ddywed hyn am eiriau, na gair, na sill ar goll mewn cân benrydd, os *cân* y gellir ei galw? Rhodder goleufynag ar hyn.

Dafydd ab Gwilym a roddai nifer y cywyddau a ganasai ar yr un testyn—

> "*Saith* gywydd i Forfydd fain,
> Seth hoew-gorff, *a* ————"

Dyfaler bod darn o'r ban diweddaf ar goll, heb neb yn fyw a'i gwelsai yn gyfan. Gofyner i'r *gân benrydd*, pa nifer o gywyddau a ganasai y bardd i Forfydd dros ben y *saith* ar glawr? Byddai yn fud—ni wyddai ddim; ac os anturiai gais ar amcan, ef allai y dywedai —"Saith gywydd a thri ar ddeg a naw!" Gofyner i *gynghanedd* yr un holiad, a hi a ddywedai yn groew, heb na bloesgni na chrygni, mai "*saith ugain*" oedd y ddeuair ar goll.

Gellir gofyn,—Pa ham y mae y Gymraeg yn gofyn cynghanedd i wneyd ei phrydyddiaeth yn dlysawg mwy nag un iaith arall? Y mae yr ateb yn barod: Nis gellir cynghaneddu yn gywir gyfrodedd mewn un iaith adnabyddus ond y Gymraeg; yn enwedig yn yr ieithoedd hyny nad yw pob cydsain mewn gair yn llafar; megys y Seisneg, y Wyddeleg, y Galeg, &c. Yr ieithoedd hyn ydynt â lluosogrwydd o gydseiniaid mudion, meirwon, yn dryfrithedig drwyddynt, tra mae cydseiniaid y Gymraeg *i gyd* yn fyw ac yn iach, ac yn llafar. Eto y mae rhai ieithoedd, megys y Seisneg, y Wyddeleg, &c., â'u geiriau yn fwy llwythog o gydseiniaid na llafariaid (*vowels*); ereill, megys yr Italeg, ieithoedd ynysoedd môr mawr y Deheu (Polynesia), &c., yn lluosocach eu llafariaid na'u cydseiniaid; tra mae y Gymraeg â'i deuryw nodau sain yn gydbwys; a hyn a achosa y fath bereidd-dra yn ei chynghanedd. Gwaith ofer yw son am felusder cynghanedd wrth undyn, os na bydd o berchen *clust* Gymreig: a chwith feddwl bod aml Gymro o enedigaeth a pharabl, â chlust Sais neu Wyddel yng nglŷn wrth ei benglog! Haws dysgu ar dafodleferydd gerdd gynghaneddol na chân benrydd, a hwy hefyd y pery yn y cof; a pha gywiraf y gynghanedd, hawsaf byth ei chofio. Dar-

llened yr ammhëus ar y pwnc hwn, rai pigion o felus bynciau D. ab Gwilym, a bydded i rigymwyr y gân benrydd ysgrifo yn eu dull eu hunain ar yr un destynau ag ef,—cymharer hwynt, ac nid ofnwn y ddedfryd a roddid, ond i Gyfiawnder diduedd gael meddiant ar orsedd barn. Hynod o'r clymiedig yw cynghaneddion llaweroedd o feirdd y bymthegfed ganrif: Gutyn Owain a Thudur Aled a ddarlunient fywiogrwydd a chyflymder *March* yn bencerddawl. Wele yma bigion o'u cywyddau, i'w cymharu â darluniadau Homer, Oppian, Fyrsil, &c., ar yr un sylfon.

"Gwr arfog â gweryr-farch
I chwi wyf fi—o chaf Farch—
Ei neidiau ef a nodir,
Ei wrhyd yw erw o dir;
Iwrch gwyllt dan ei farchog oedd,
Carw i achub brig gwrychoedd.
Ef yn gyfled â'i bedol
A dyr ddarn o dir y ddôl,
Torchai bedair tywarchen,
Trwch baedd, o'r tir uwch ei ben.
Gwreichion yr einion a rydd
O'r hoelion drwy'r heolydd,
Mae aelwyd o'r dur Milan
Yn hau o'i bedolau dân."

GUTYN OWAIN, 1470.

"Ffroen sarig, ffrwyn nis ery,
Ffroenio gan awch, ffrwyn a gny;
Ei gern o chlyw gorn na chloch
A wna'i lygaid yn loewgoch:
Nid rhaid, er peri naidio,
Roi dur fyth ar ei dor fo;
Dan farchog bywiog di bŵl,
Ef a wyddiad ei feddwl—
Bwrw naid i'r wybr a wnai
Ar hyder yr ehedai!
Ei arial a ddyfalwn
Fel elain coch o flaen cŵn;
Ail y carw, olwg gorwyllt,
A'i draed yn gwau drwy dân gwyllt.
Drythyll ar bedair wyth-hoel—
Gwreichionen ar ben pob hoel—
Dyru'n fry dyrwyn y fron,
Deil haul ar dalau hoelion;
Ser neu fellt—o'r sarn a fydd
Ar godiad yr egwydydd.
Carnau a phedolau'n dân
A ddryllia ddaiar allan—
O gyrir draw i'r gweirwellt,
Ni thyr â'i garn wyth o'r gwellt.

Trwyn draig ym mlaen taran draw,
Tyr uwch gwynt tyweirch gantaw;
Tân o'i garn tano a gaid,
Taflu maen at Flowmoniaid."

TUDUR ALED, 1490.

Dargeisiwyd dangos yn y Traethawd hwn bod effeithiau y pedwar mesur ar hugain cyffredin yn fwy niweidiol i'n *prydyddiaeth* nag i'n *hiaith*, a hyny o achos eu cyfyngder gwrthun a dibwyll: ond pe canlynid rheolau y Ddosbarth gyssefin, fel y gelwir yng *Nghyfrinach y Beirdd*, ymddangosai ein mydryddiaeth yn harddach ei diwyg, a chynnwysai enaid cerdd yn lle ei chysgod.

Ein gramadegwyr, neu reithwyr cerdd, o Gwilym Genoldref i Rhobert Nantglyn, a rifant "Bymtheg o Feiau ac Anafau Cerdd Dafawd;" a gwae y bardd a fyddo yn ymdynu am y dorch, os canfyddir dau neu dri o honynt yn ei awdl. Dymunol a fyddai tynu y Pymtheg Beiau ac Anafau hyn drwy hislan Eisteddfod gyfreithlawn, a goreu pa gyntaf, ped yn Eisteddfod Caer Dyf, yr Alban Elfed nesaf. Tybir na adawai yr hislan feirniadol i ddim dros hanner y Beiau ac Anafau sefyll; a deoler y lleill, ar ol Gorchest y Beirdd a'i gymdeithion, i wlad yr Hud, neu y tu hwnt i hyny i dir anghof.

Cyn diweddu, A oes eto ronyn yn niffyg i droi y fantol ar du *cynghanedd*? Chwi, gantorion gyda y tannau ar Wyl Ddewi, pa faint a gymmerwch er gwerthu cynghanedd eich pennillion? Gwyddys mai hyn yw eich ateb:—"Nid oes a wnel y delyn â chân benrydd. Na bydded cyffiniau Cader Idris, nac ardaloedd Eryri byth heb delyn, na'u beirdd heb gynghanedd: telyn a chynghanedd i gyd-daro eu seiniau naturiol."

Y delyn! hi a fyn fod
Yn *un* â chân wech hynod—
Felly bo! ef allai byth
I ddeiliaid y gerdd ddilyth.

*Mehefin* 28, 1834.

# TRAETHAWD CYNNADLEDDOL

## AR DDEFNYDDIAD Y LYTHYREN H MEWN YSGRIFENYDDIAETH GYMRAEG.

**Pymthegfed Destyn Cymdeithas Cymreigyddion y Fenni, am y flwyddyn 1837.**

## ELFODAU Y GYNNADLEDD:

**Newyddian Ynad—Rhingyll y Llys—Edmwnt Prys, Archdiagon Meirionydd—Dafydd Ddu Eryri, Bardd Cadeiriawg—ac Iolo Morganwg, Bardd wrth Fraint a Defod.**

YNAD. Ho! hoian! Chwi segurwyr, gelwch i'm gwyddfod Ringyll y Llys.

RHINGYLL. Rhynged bod eich gorseddogrwydd, llyma fi; pa orchwyl i'ch rhwymedicaf swyddog?

YNAD. Gwysia gynghaws arbenigol, a bydded yman y triwyr hyn, Gymry diledryw, nid amgen, yr Archdiagon Edmwnt Prys, Dafydd Ddu Eryri, a Iolo Morganwg, can gynted ag y gwnelont i fyny eu meddyliau ar y testyn hwn, sef, "Defnyddiad y lythyren H mewn ysgrifenyddiaeth Gymraeg."

RHINGYLL (eilchwyl). Fy Arlwydd Ynad, wela y dysgodrion a enwyd, yma yn wyddfodol yn y cyntedd.

YNAD. Ercha hwynt i mewn. Foneddwyr, Gymry cynnwynol, athrylithus goleddwyr y Gymreigiaith, erfyniwyf eich cynnorthwy i sefydlu pwnc o ddadleuaeth rhwng ysgrifenyddion ein cenedl, ar ddefnyddioldeb y lythyren H yng nghyfansoddiad geiriau. Ac y chwi, yr Archdiagon parchedig, gan mai y chwi yw yr hynaf o honom, moeswch eich dedfryd yn gyntaf.

ARCHDIAGON. Y mae yn dra rhyfedd genyf glywed bod dim dadleuaeth yng nghylch defnyddioldeb y lythyren H, mwy nag un lythyren arall o'n hegwyddor. Y mae iddi hanfodiad priodol, ac i'm barn i, anhebgorol,

mewn mwy nag un orsaf. Yn gyntaf, nis gellir ei hebgor, neu ei deol o'i lle, pan y byddo yn flaenlythyr y gair, megys yn *h*en, *h*ir: ffolineb, a dinystr y Gymraeg fyddai newid *h*en, i ên, neu *h*ir i îr! Yn ail, anhebgorolrwydd *h* a ddynodir gan rai rhagenwau dynsodawl (*personal pronouns*), y rhai a'i *mynant* i arwain y gair nesaf, os bydd y gair hwnw yn dechreu â llafariad (*vowel*); megys y gair iaith—*fy* iaith—*dy* iaith—*ei* iaith: pob peth hyd yn hyn yn hwylus a dealladwy; y trydydd dynsawd yn wrywaidd—*ei* iaith *ef;* rhaid yw blaenddodi *h*, i fynegu ei *h*iaith *hi.* Eler ym mlaen i'r rhif lluosog—*ein h*iaith, neu *ein* iaith a ddygymmydd—yr ail dynsawd, *eich* iaith;—y trydydd a fyn *h*, *eu h*iaith: torwch ymaith *h* o'i gorsaf gynhenid hon, dyna i chwi *eu iaith*, yr hyn nid yw Gymraeg, nac un iaith arall yn y byd!—Tybiaf y gwna eich urddas gyfaddef hawl y lythyren *h* i'w gorsafoedd hyn, heb son am ei hawl i orsafoedd ereill.

Ynad. Diammheuol: ond nid o barth y gorsafoedd hyn y mae y ddadl, ond ei gorsaf yn y sill diweddaf o eiriau, pan ofynir i'r *acen* neu y *pwyslais* orwedd ar y sill olaf hwnw. Yr ydym ni am ddeol *h* allan o'r hen air llawen*h*au, gan ysgrifenu *llawenaau* neu *llawenâu*, ac felly drwy yr holl restr o eiriau cyffelyb. Nid ydym ni y newyddianod yn cyfaddef bod *h* yn llythyren egwyddorol, ond yn unig yn arwydd uchenaid, neu nod aceniad.

Archdiagon. Dyna y gwir achos ein bod ni, y Cymry cynnwynol, am ei chadw yn yr orsaf hòno hefyd; sef, er mwyn diogelu acen neu bwyslais cydunol â chyffredin lafar gwlad. Rhoddwch yr *enw* neu y *llys*enw a fynoch ar *h;* gelwch hi, os mynwch, fel y Seison, yn *ayts;* y mae *h*, er hyny yn aelod cynhenid o gorff ein hiaith: ac os par*h*ëwch i ei gwrthod, gan ei throi allan o'i hetifeddiaeth a feddiannai er oes oesoedd, dyna chwi yn digoffori ein *h*iaith, gan aflunio a dyeithro ei chorff, a'i wneyd yn ysgerbwd!

Ynad. Yr wyf yn deall, Mr. Archdiagon, eich bod, fel llawer, yn gadarn yn eich barn eich hun; ond beth

a wyddoch *chwi* ac ereill yn yr oesoedd gynt, am deithi ieithoedd, wrth a wyddom ni yn bresennol, yn enwedig am y Gymraeg? Yr ydym ni yn olrhain y geiriau i eu gwraidd—gair pedair sill i dri, tri i ddau, dau i un, un sill i ddau gymmal, a phob cymmal i ddau fymryn, a phob mymryn yn arwyddocäu rhyw feddylddrych yn ein hiaith doreithiog. Yr ydym yn hyn yn gyffelyb i'r Gwyddelod, a alwant bob llythyren yn eu hegwyddor, ar enw rhyw bren yn y goedwig.

ARCHDIAGON. Yn araf deg, syr, deliwch at y testyn; nid dyna y pwnc y galwyd ni i roddi ein barn arno.

YNAD. Gwir! dychwelwn at y pwnc. Yr ydych chwi, Mr. Archdiagon, yn gydnabyddus â'r hen *Gynfeirdd*, a'r *Go*gynfeirdd; a fyddent hwy yn defnyddio *h*, neu yn ysgrifaw hebddi?

ARCHDIAGON. Y mae yn anhawdd gwybod hyny. Ond hyn a wn, bod *llafar gwlad* yr un yn awr ag a oedd y pryd hyny; ac y mae llafar gwlad yn gofyn rhyw nod aceniad yn y geiriau a soniwyd: a pha ham y cymhellir ein cenedl i roddi heibio eu hen nod adnabyddus, sef *h*, er mwyn cymmeradwyo yn ei lle ryw nod newydd arall, nas geill fod yn adnabyddus i ddarllenwyr cyffredin heb goll amser, a blinder meddwl, i ddysgu adnabod y ddull newydd; a dull ydyw a ddychymmygwyd yn fwy er newyddiannu ein hen iaith, nag er ei diwygio a'i gwell*h*au.

YNAD. Wel, syr, ewch ym mlaen, gan na wyddoch am y Cynfeirdd a'r Gogynfeirdd—*pwy* oedd y rhai cyntaf y gwyddoch am danynt, a arferent *h* megys arwydd uchenaid, neu nod aceniad, yn eu hysgrifeniadau?

ARCHDIAGON. Mi a roddaf o'ch blaen enghreifftiau: Dafydd Ddu Athraw (neu o Hiraddug) a gyfieithodd allan o'r Lladin yn Gymraeg, o gylch y fl. 1360, *Officium B. Mariæ* (Gwasanaeth Mair). Yno y gwelir—"Tithau, Arglwydd, trugar*h*aa;"—"Duw a drugar*h*ao wrthym;"—"Trugar*h*aa wrthym, Arglwydd, trugar*h*aa;"—"O frasder y gwenith ef a'th gyflawn*h*aa."

YNAD. Pwy oedd y nesaf sydd genych mewn cof?

ARCHDIAGON. Y bardd mwyaf awenyddol a ysgrifenodd erioed yn iaith y Cymry, a'r cyntaf a ddaeth â mesur Cywydd i arferiad cyffredin. Y mae tystiolaeth y bardd hwn yn ei arferiad o'r lythyren *h*, yn gadarn ac anwrthwynebadwy; canys heb yr *h* nid yw ei gynghanedd ef yn gywir, ac ni bu ei gywirach pan gymmerai hamdden. Yr oedd efe, o ran ei oes, megys yn sengu ar sodlau D. Ddu Athraw; canys bernir eu bod ill dau yn nhawelwch y bedd, cyn y fl. 1400. Y dyfyniadau allan o gywyddau Dafydd ab Gwilym ydynt y canlynol:—

1. Y mae lliw *h*on i'm llei*h*âu.
2. A barodd *h*yn im' brudd*h*âu.
3. A nos *h*yll arna'i'n nes*h*âu.
4. Bu *h*ir â chân i'm byw*h*âu.

YNAD. Ond pa dystiolaeth sydd genych taw fel hyn yr ysgrifenodd Bardd Morfydd?

ARCHDIAGON. Ei gynghanedd a'i gwaranta yn ddiffaeledig. Os tynir y lythyren *h* allan o llei*h*âu—brudd*h*âu—nes*h*âu—a byw*h*âu, dylid hefyd ei deol o'r geiriau cyferbyniol, sef *h*on—*h*yn—*h*yll—a *h*ir; ac felly byddai genych fwhwman Babel, heb un dyn byw yn ei ddeall.

YNAD. Yr ydwyf yn deall, Mr. Archdiagon, i chwi, ym merw eich awen, ymryson â'ch cydoeswr Wiliam Cynwal, tra parhaodd 56 o gywyddau, a bywyd Cynwal, druan; a oeddych *chwi* y pryd hyny yn defnyddio *h*?

ARCHDIAGON. Diau fy mod yn ei defnyddio ym mhob gorsaf perthynol iddi o iawn a chydsyniad gwlad a chênedl. Nid hoff genyf goffa fy ymrysonau; dewisaf yn hytrach ddwyn ger eich gŵydd fy null o ddefnyddio yr *h* yn y *Salmau* a gyfieithais allan o'r iaith wreiddiol yn Gymraeg. Mewn un Salm ar bymtheg ar *h*ugain allan o'r cant a hanner, gwelir fy mod wedi arferu yr *h* mewn pedwar ar hugain o eiriau, a'u *h*acen ar y sill olaf; sef aml*h*âu—aml*h*ânt—byw*h*â—

byw*h*âu—cardarn*h*âu—cof*h*âu—cryf*h*âu—cwbl*h*âu—dyfr*h*âu—glan*h*âu—gwar*h*âu—llawen*h*â—llawen*h*âu—mawr*h*âd — mawr*h*âu — par*h*âu—sar*h*âu—sicr*h*âu—teg*h*âu—tew*h*âu—trugar*h*â—trugar*h*âu—trym*h*âu—ufudd*h*âu. Ond nid wyf fi, syr, yn dal cymmaint ar dystiolaeth fy mhryddest benrydd fy hun, ag a ydwyf ar gynghanedd rywiog-lefn D. ab Gwilym; canys y mae efe wedi gyru yr hoel dystiolaeth at ei phen, ac â'i groes-gynghanedd wedi ei gwrthblygu o'r tu arall i'r bwrdd barddas, a hyny mor ffyrf ddiogel nas dichon holl ewinedd newyddianod ei thynu allan i lygru ei waith dihafal ef, mwy na gweithiau ereill, ei frodyr awen-yddol.

YNAD. Yn araf, a thrwy bwyll, fy nghyfaill; clywais ddigon genych chwi, o'r fath ag ydyw: ond pa beth a ddywed eich cydymaith penisel, Prif-fardd Eryri? A ydyw efe o'r un farn â chwi ar ddefnyddioldeb y lythyren *h* mewn ysgrifenyddiaeth Gymraeg?

DAFYDD DDU. Trwy eich cenad, syr, mi a ymdrechaf i roddi i chwi foddlondeb ar y pwnc dan ystyriaeth. Nid wyf fi neilldüwr oddi wrth ddedfryd fy rhagflaenor clodwiw, ar anhebgoroldeb y lythyren *h*, yn yr holl orsafoedd a enwodd. At yr enghreifftiau a ddygodd efe ym mlaen, dygaf finnau yn rhagor allan o weithiau hen athrawon, beirdd enwog y bymthegfed ganrif, &c., y dynion dysgedicaf yn eu cenedlaethau, yn yr oesau pan oedd gwir ddysg a chelfyddyd megys yn cardota; ac na cheid o Fon i Fynwy haiach rai a fedrent ysgrifenu brawddeg heb law y beirdd. Pe buasai y beirdd hyny yn gweled achos i newyddiannu yr iaith, dyna yr amser iddynt wneuthur hyny, y pryd nad oedd neb a fedrai eu gwrthwynebu; ond nid felly y bu. Ni ddyrchafodd newyddianiaeth ei phen hyd y blynyddoedd a ganlynent y Chwyldro Ffreingig, pan fu i'r chwyl hwnw chwyldroi penau llawer mewn gwledydd ereill, heb esgeuluso Lloegr a Chymru. Yn y fl. 1805, gosodwyd i fyny yn Llundain gyhoeddiad albanaidd neu drimisol, tan enw *Y Greal*, a llyfryn tra chyfrifol oedd o barth ei ddefnyddion. Ond ei wen-

wyn a'i angeu oedd iddo ymroddi, megys o nerth braich ac ysgwydd, i daflu gorchudd dros yr hen lythyreg, a thaenu ar led y wlad newyddianiaeth yn ei grym a'i manyldeb. Os anfonai neb o'r wlad oheb-iaeth i'r *Greal*, ni ddeuai allan o'r wasg yn y dull y danfonwyd: tynid bob un drwy hislan y swyddfa. Ym mhlaid y lythyreg arferol, mi a ysgrifenais amryw lythyrau tan enw *Bleddyn Fin Pladur*, a gosodais i fyny *Eurgrawn Caernarfon*[1] yn yr hen ddull o ys-grifenu Cymraeg gan Goronwy Owain, &c., a bu hyn megys diod gwsg i'r *Greal*. Ond yr oedd lefain y *Greal* wedi effeithio i raddau ym mlawd yr iaith erbyn hyn; ac yn benaf yn ysgrifeniadau bechgynos, a chyf-ansoddwyr y gerdd benrydd, y rhai a ddifrïant gy-nghanedd, o herwydd yr un achos â'r llwynog yn y ddammeg, yr hwn a ddifrïai y grawnwin addfed, gan haeru eu bod yn surion, am nas gallai eu cyrhaedd. Ni waeth pa beth, na pha faint a haerir yn erbyn cynghanedd, gan nad oes geidwad diogelwch i burdeb iaith. Os unwaith y rhoddir purdeb iaith ym medd-iant cynghanedd, hi a'i ceidw yn ddilwgr. Rhodder iaith bur mewn llinell o'r gynghanedd groes rywiog ddychweledig, ac nis gellir na lleihau, na chwanegu, na newid un gydsain o honi; hi a bery yr un tra byddo Cymru, a Chymry, a Chymraeg. Pwy, gan hyny, a'i cyfnewid am newyddianiaeth? Neb! neb! Ond yng ngwres fy eiddigedd tros burdeb y Gymraeg sefydledig, mi a ebargofiais yr enghreifftiau a addewais allan o'r hen feirdd ym mhlaid defnyddioldeb y lyth-yren *h* yn yr orsaf a warafunir iddi fwyaf. Boddloner chwi, syr, â'r ychydigion a ganlyn, gan na roddasoch amser hwy i gasglu yn rhagor:—

"Yn y wledd r*h*yfedd bar*h*âu."

D. Nanmor, 1460.

[1] [Cychwynodd *Trysorfa Gwybodaeth, neu Eurgrawn Cymraeg*, ei yrfa yng Nghaernarfon, ym mis Ebrill, 1807 (y flwyddyn y peidiodd *Greal* rhagorol Llundain ag ymddangos); ond nid hir y bu cyn cyrhaedd ei therfyn eithaf. Cyhoeddiad trimisol, yr un fath â'r *Greal* ydoedd yr *Eurgrawn* hwn, a dy-wedid ar yr amlen ei fod dan olygiad "amryw o Wŷr Eglwysig a Beirdd."]

"Y cyff *h*wn oedd i'n coff*h*âu."
GUTYN OWAIN, 1460.

"Ef a'i r*h*oes i'w fawr*h*âu."
"Sion ap R*h*ys sy yn par*h*âu."
IEUAN DEULWYN, 1470.

"Fe wna *h*wn i ofn*h*au."
LEWIS MON, 1480.

"Caf lon*h*ad yn cyflawn*h*âu."
"A bair i *h*il gwr bar*h*âu."
"Nid eill bardd fyw'n *h*ardd i fwyn*h*âu."
"A all yn *h*awdd oll wan*h*âu."
WM. LLEYN, 1550.

"Boreu a *h*wyr i bar*h*âu."
OWAIN GWYNEDD, 1550.

"Duw bia r*h*oi DA i bar*h*âu."
SION TUDUR, 1570.

"Llef am Rys ap R*h*ys yn par*h*âu."
DAFYDD BENWYN, 1570.

Gallaswn ddwyn tystioliaethau allan o weithiau beirdd diweddarach, ïe, beirdd eto ar dir y byw; megys Goronwy Owain; Ieuan Brydydd Hir o Geredigion; Robert Nantglyn; Dewi Wyn o Eifion, a'r holl Eifioniaid ac Arfoniaid; Daniel Ddu o Geredigion; Pedr Fardd, &c., &c. Ond pa raid tystion mwy, i ddiriaw pwnc mor amlwg?

YNAD. Digon bellach, os digon yw llawer; a'r cwbl ar yr un ochr i'r ddadl. Iolo Morganwg! deuwch ym mlaen; chwi, ddarperydd y cylchau cynghrair; chwi, gymhellydd myrdd o orseddau yn wyneb haul ac yn llygad goleuni; chwi a ganasoch gân y Ffrancod yng nghlyw ac yng ngolwg y gwladgarwr Horn Took, oddi ar bont Llundain, ac yntau yn garcharor yn y Tŵr Gwyn; chwi a ganasoch gerdd orfoledd ar ei ollyngdod ef, a Hardy, a Thelwal o garchar, drwy hyawdledd Erskin; chwi a fuoch drwy eich oes ddaiarol yn bleidiwr Rhyddid o bob gradd ac enw, gwladol a chrefyddol. Deuwch ym mlaen yn awr, deuwch yn wrol, a phleidleisiwch yn egnïol, fod genym ni y newyddianod hawl a rhyddid i newid a diwygio llythyreg ac ereill deithi yr iaith Gymraeg; ac ym mhlith diwygiadau ereill, i ddiorseddu y lythyren *h* o'r orsaf a drawsfeddiannasai er oesau na ŵyr neb pa bryd, yn y sill olaf o eiriau a fyddo yn

gofyn pwyslais arno, megys eithriadau i reol gyffredin aceniad.

IOLO. Diammheuol fod i chwi ryddid i wneyd y newid a fynoch yn yr egwyddor, i ymdrin â'r llythyren *h*, a phob llythyren arall, fel y gweloch yn dda; tra y cadwoch y newidiadau, fel ysgrifenyddiaeth ddirgel a chyfrinachol yn eich plith eich hunain. Ond nid teg i chwi eu cyhoeddi, gan ddysgwyl y cymmeradwyir eich dull diwygiedig gan y wlad yn gyffredin. Nid yr eiddoch chwi yn unig yw yr egwyddor Gymraeg, ond eiddo y wlad. Ni waeth i chwi geisio dysgu tarw teirblwydd i frefu fel myn gafr, yn lle rhuo ei fugunad arferol, na cheisio gan y wlad ymwrthod â sain arferol y lythyren *h*, yn yr holl eiriau a grybwyllwyd heddyw gan fy nau flaenor.

YNAD. Dealler ni! Nid ydym yn cymmeryd oddi arnoch eich delw *h*, heb roddi i chwi a wasanaetha yn *well* yn ei lle, sef *arwydd* neu *nod* i ddiogelu y pwyslais.

IOLO. Rhoddwch egluryn.

YNAD. Llyma eich hen air glan*hâu*, y gwreiddair yw *glân*, a'r terfyniad perwyddiadol yw *au*, nid *hau*. Nyni a ysgrifenwn *glanâu*, megys "*glanâu y llyn*" *(to clear out the pool)*.

IOLO. Aroswch dipyn! Os ymddiriedwch i'r gromfach (^) wneuthur gwasanaeth *h* yn y lle hwn, nid oes genych sicrwydd na sioma y cyssodydd chwi, drwy esgeuluso y gromfach, ac felly byddai genych "*glanau y llyn*" (*the banks of the pool*); a dyna chwi, wrth ddeol *h*, yn newid perwyddiad i enw cadarn, ac yn dyrysu iaith.

YNAD. Yr ydym ni, fynychaf, yn dodi dwy *a* yn lle *ha*, megys *ysgafn*aau, *meddal*aau, *gwan*aau; yn lle yr hen ysgafn*hâu*, meddal*hâu*, gwan*hâu;* weithiau â nod cynnorthwyol uwch ben un *a*, bryd arall uwch ben y ddwy *a;* canys nid ydym yn cydfyned yn gwbl yn ein plith ein hunain.

IOLO. Croesaw i'ch dull yn y tri gair a grybwyllasoch; canys pa osodiad llythyrenau a ddichon arwyddo *ysgafn*der, *meddal*wch, a *gwen*did sain yn

well! Ond wfft i eich dwy *a* yn *trym*aau, *cadarn*aau, gan na arwyddant na phwysau na chadernid. Ni wna na dwy *a*, na deugain *a*, chwanegu at rym y pwyslais gofynol ar y sill olaf. Ni wnânt ond *hwy*hâu sain y lleferydd yn gyfatebol i'w nifer, ac felly efelychu brefiad oen gwan ar drengu dan gaenen oer o eira, ar un o lethrau Carn Moesen!

Eto. Yn lle gwastad*h*au (*to level*), eich ysgrif ydyw *gwastadaau*, yr hyn a ddichon mebyn dan addysg ei ddarllen *gwastadau* (*levels*), troi perwyddiad yn enw cadarn eto. Nid ydyw *cŷoeddi* nac *argŷoeddi* newyddaniaeth yn cy*h*oeddi, nac yn argy*h*oeddi hanner mor egnïol a'r hen ddull warantedig, a dewisedig gan fwy na naw cant o bob mil o drigolion Cymru. Ni ddeuwn y rhawg i ben â dangos y dyryswch a barai y gyfundraith newydd, ped arferid hi yn gyffredin, mewn hanner cant o leiaf o eiriau yn gofyn pwyslais ar y sill olaf o eiriau deusill a thrisill. Grym cydseiniadawl yw un o nodweddau amlycaf y Gymraeg; yn hyn y mae yn dra chyffelyb i'r Ellmyneg (*German*). Ond newyddianiaeth a fynai ei diesgyrnu, a'i darostwng i'r un gwendid a'r Italeg, neu faldardd feddal trigolion cynnwynol Otaheita.

Ynad. Ai nid oeddych chwi, Haul "Morganwg a'i muriau gwynion," megys mewn cylch cynghrair â chyhoeddwyr y Cynfeirdd, y Gogynfeirdd, a'r Brutiau, a gweithiau ereill? Ac, ai nid oeddych chwi yn cydsyniaw â hwy unwaith yn niwygiad, ac megys trawssylweddiad ein hiaith, pan ddiofrydwyd daflu ymaith yr *h* o'i gorsaf?

Iolo. Cof genyf mai myfi a'i cyfarwyddodd hwynt gyntaf i chwiliaw i wraidd y Gymraeg, a'i dosbarthu i deuluoedd—megys y geiriau ansoddawl a derfynent yn *aidd*, yn *awg*, yn *awl*, &c., &c. Ond gydag i mi megys eu gosod ar drywydd, ymaith â hwynt megys huaid i bellafoedd anialwch anhydraidd; a gweled hyny, mi a droais yn fy ol, ac a sefais ar fy ngwylfa. Ni unais i erioed â hwynt i droi *oedd* yn *odd*, ac *odd* yn *oedd;* nac i fyrdd o newidiadau ereill.

YNAD. A ddarfu i chwi ddefnyddio yr *h* yn ei holl orsafoedd, pan ysgrifenasoch eich *Salmau yr Eglwys yn yr Anialwch?*

IOLO. Do! do! heb erioed ei hesgeuluso, ond yn wastad ei chyflëu yn ei chyfiawn etifeddiaethau.

YNAD. Oni bu i chwi redeg yn rhy bell i'r gwrthwyneb, pan arferech y dawdd-lythyr *n* yn ddeublyg yn y *Salmau* hyny—megys cyn*n*—dan*n*—gan*n*—hon*n*—hwn*n*—pan*n*—yn lle cyn, dan, gan, hon, hwn, pan?

IOLO. Y mae fy nghof yn pallu ar y pwnc hwn. Ef allai i fy mab, yn ei arolygiad o ail gyfrol y *Salmau*, gwedi i mi ymddibriddo, yn ei fawr sel dros yr hen orgraff, redeg i rai pellafoedd. Nid wyf atebol am ei holl ddaliadau ef. I ochel "dyblu" *n* yn y geiriau uchod, fy marn yn awr ydyw hyn, mai *byr* y dylid cyfrif pob llafariad mewn gair unsill, oni nodir â chromfach i'r gwrthwyneb, fel hyn: cyn (*before*); cŷn (*a wedge*); tan (*under*, *until*); tân (*fire*); gwen (*white*, *fair*, *fem. gen.*); gwên (*a smile*), &c. Dymunwn i hyn fod yn ddeddf osodedig yng Nghymru.

YNAD. Ringyll, clustfeinia. A ddarfu i ti osod mewn du a gwyn holl gymhwylliadau y llefarwyr?

RHINGYLL. Ni bûm fanwl yng ngeiriadaeth a llythyreg y Trioedd; weithiau mi a ymfoddlonais ag un gydsain, dro arall arferwn ddwy; canys nid ar hyny y cynnaliwyd y cynghaws hwn, ond ar angenrheidrwydd defnyddio y lythyren *h* mewn cyfansoddiad.

YNAD. Hybarch Elfodau, yr ydych yn unair ar y pwnc dadleuedig.

Y TRI. Ydym, ydym, ydym.

YNAD. Yna, yr ydwyf yn eich gollwg yn rhydd o'r cynghaws; eled pawb i'w fangre. Mi a yraf eich rheithiadau, gyda fy Rhingyll, yr hwn a esyd ei law

[1] [Mr. J. H. Morgan, argraffydd a llyfrwerthwr, Abergefni, y gwr a gynnygiodd y wobr am y testyn dan sylw. Hwn ydoedd y traethawd buddugol. Ym mhlith yr ymgeiswyr aflwyddiannus yr oedd Arfonwyson, yr hwn a gymmerai blaid "Newyddian Ynad" yn erbyn defnyddio *h* yn nherfyniadau perwyddiaid.]

wrthynt, i Mr. Morgan,[1] o'r Fenni; ond ni ddysgwyliaf y bydd *efe* wedi ei foddloni ynddynt mwy na *minnau.*

DAFYDD DDU. Trwy eich cenad, syr, gair neu ddau eto, cyn gwehedan, parth y wobr a gynnygir. Pe buaswn i ymgeisydd, fel y bûm gynt, ni buasai ddymunol genyf dderbyn yn wobr waith y *Gibbon Anghrist*,[1] oddi eithr iddo fod yr argraffiad a dynwyd drwy hislan Mr. Bowdler o Gaerbaddon; mwy dewisol genyf fuasai bathodyn o unrhyw werth, ïe, un o efydd neu blwm. Gofynaf eich nawdd, syr, am fy hyfder.

YNAD. Dos mewn heddwch. Ho! Ringyll, gwrando, clyw—

"Wrth dy fant (ringyll) gantawr,
Gosod dy gorn, min-gorn mawr,"

a chyhoedda ollyngdod y Llys, fel y clywo y Porthor, fod y cynghaws drosodd, a rhyddid trwydded i bawb.

[1] [Gibbon's *History of the Decline and Fall of the Roman Empire*, wedi ei rwymo yn harddwych, oedd y gobrwy cynnygiedig am y traethawd.]

# LLYTHYRAU GARMON.[1]

## RHIF. I.

CYN yr anfonwyf i chwi ychydig sylwadau ar y gwasanaeth buddiol a wnaeth *Wiliam Salsbri* i'w genedl yng Nghymru, trwy ei waith yn cyfieithu y Testament Newydd cyntaf a argraffwyd yn y fl. 1567; rhoddwch genad imi roddi, megys blaen-arweiniad, fyr olygiad ar gyflwr ein hynafiaid mewn perthynas i ansawdd yr Ysgrythyrau yn eu plith yn yr oesoedd cyntaf. Nid oes achos i ammheu nad oeddynt yn yr iaith Lladin gan y Rhomani, ac yn Gymraeg gan y Cymry. Pwy bynag oedd y pregethwyr cyntaf yma, ni wna hyny wahaniaeth: os Paul o Darsus a'i gyd-lafurwyr, yr oedd effaith y "tafodau gwahanedig o dân" yn ddawn oruchnaturiol ganddynt i egluro y Newyddion da yn iaith lafaredig y trigolion: ond os y Bendigaid Frân ab Llyr a'i osgordd, ar eu dychweliad o gaethiwed yn Rhufain, yr oeddynt hwy o'r un dafodiaith â'u brodyr y Prydeiniaid. Felly, nid rhy hygoelus a fyddem wrth ddal bod yr Ysgrythyrau yn Gymraeg ym Mhrydain dros rai cantoedd o flwyddau; sef hyd yr amser y goresgynodd y tywyllwch pabaidd holl ardaloedd Cred. Y mae yn wir i genedl y Cymry wrthsefyll y surdoes yn hwy na'u cymmydogion; canys y grefydd babaidd oedd crefydd gyntaf y Seison, pan arfaethwyd eu dychweliad oddi wrth baganiaeth *Odin*, yn y seithfed ganrif o oed Crist. O'r diwedd, ein hynafiaid hwythau a ddygwyd o'u hanfodd dan warog Anghrist —newidiasant yn raddol eu daliadau crefyddol, hyd

[1] [Cyfroddwyd y Llythyrau hyn i'r *Gwyliedydd* yn y blynyddoedd 1826–28–29. Yn lled fuan ar ol ymddangosiad y degfed o honynt, daeth attal am fisoedd ar gyhoeddiad y *Gwyliedydd*; a hyny, ond odid, a barodd i'r Awdur beidio â myned rhagddo ym mhellach, er arfaethu o hono unwaith wneuthur hyny.]

oni ddaethant i goelio, fel ereill, fod "anwybodaeth yn fam duwioldeb." Cymraeg oedd iaith y wlad, a Lladin oedd iaith yr offeren. Yr oedd y "dyn pechod" wedi gosod clo ar Air Duw, ac ni chaniatäi i neb ond y llenyddion arwedd yr allwedd. Yr oedd crefydd yn gyffredin yn yr oesoedd tywyll hyny yn gorwedd mewn ychydig eiriau i'r lleygion, a'r rhai hyny yn dechreu â y llythyren P, megys Pen yr eglwys—Pab—Purdan—Penyd—Pererindod, &c. Er hyn, "ni adawodd Duw mo hono ei hun yn ddidyst." Er gwaethaf erlidigaethau crefyddol, a rhyfeloedd gwladol, yr oedd ambell Lyfr Cymraeg o'r Efengyl dragywyddol ar gudd yng nghilfachau y mynyddoedd, a'r sychedig yn ddirgel yn tynu o'r ffynnon ddyfroedd iechydwriaeth. Cyn toriad gwawr y Diwygiad, ymddengys bod yr Ysgrythyrau Cymreig wedi myned yn dra phrinion, drwy effeithiau distryw anghydfod, difräwch a digalondid y genedl, hyd onid yw y dysgedig Esgob Mynyw, yn ei lythyr at y *Cembru*, o flaen Testament W. Salsbri, yn tystio fel hyn:—"Yn lle gwir ni ffynnodd cenyfi erioet gael gwelet y Bibl yn gymraeg: eithr pan oeddwn fachcen cof yw cenyf welet pump llyfr Moesen yn Gymraeg, o fewn tuy ewythyr ym 'oedd wr dyscedig * * * peth amheus ydiw (ir a wnn i) a ellit gwelet yn oll Cymru vn hen Bibl yn Gymraeg, ir penn golledwyt ac i speiliwyt y Cymru oi oll lyfray, mal i doydais or blaen: Eithr diammay yw cenyf fot cyn hynny y Bibl yn ddigon cyffredin yn Gymraeg."

Ar ymyl y ddalen, dywedir, gan W. Salsbri, am ewythr dysgedig yr esgob—"Cyffelip mae *Gruff. ap Ieuan ap Lln. Vachan* y mae ef yn ei veddwl." Gwr boneddig a bardd godidog oedd y Gruffydd ab Ieuan uchod, a pherchenog y Llanerch, yn Nyffryn Clwyd.

Sonier bellach am rai o'r cyfieithiadau Cymraeg ysgrifenedig o'r Ysgrythyrau, cyn i'r gelfyddyd fendithfawr o argraffu megys ddisgyn o'r nef i arwain y cyfeiliornus i wynfyd.

Yn y *Gwyliedydd* am Ionawr, 1823, tudal. 141, y ceir "*Hen Gyfieithiad o'r Bennod Gyntaf o Genesis*"

—allan o un o ysgriflyfrau yr Ofyddes A. Ll.;[1] yng nghyd â sylwadau R. G. C. ar y cyfieithiad. Y mae y bennod agos air yn air â hen ysgrif yn fy meddiant. Sylwa R. G. C. yn gywir fod yr ysgrifenydd "yn aralleirio, ac yn rhoddi y synwyr mewn rhai manau, yn hytrach nag yn cyfieithu." Y mae y cyfieithydd, os iawn yr enwir ef felly, yn myned rhagddo, heb wahaniaeth pennodau, i adrodd y prif amgylchiadau a gynnwysir yn yr ail a'r drydedd bennod o *Genesis*, yn ol ein dosbarthiad presennol, gan helaethu a byrhau gyda mwy o ryddid o lawer nag yn y bennod gyntaf. Ymddengys y gwaith fel talfyriad, a hwnw yn gymmysgedig â dychymmygion disylfan. Gosodaf yma rai dyfynion:—"Y dyn a greod Duw ar i delw e hun Adaf i gelwis—ac yn y lle syrthio a wnaeth hun ar Adaf | a thra vu yn hunaw i duc Duw un assen or ystlys assw i Adaf ac i kyflenwis knawt gyt a hi | ac i chwythod yspryt yni hwyneb ac i kreod velly gytymdaithwraic i Adaf | ac i gelwis honno Eva | ac yna y proffwydod Adaf ac i dywot llyma askwrn om heskyrn a llyma gnawt om knawt | Yr Adaf hwnnw a ffuryfhawyt y maes Damasken ac a ducpuyt o dyno y baradwys yn y lle y mae pedair auon yn cyuodi * * * * hwy a vwrywyt i maes o baradwys gwedy gwnaythur udunt gwiscoed or dail rac anwedusset gantunt eu noethet | ac ef a lehawyt Gherybin angel a chledyf tan gantaw ymchoeledic ar drus paradwys | a gwedy y vwrw ynteu o baradwys ef a orvu arnaw geissiaw i vwyt trwy chwys i dal gwedy emelldigaw y daear idaw. * * * * * Y Lameth hwnnw a dduc bigamieth gyntav * * * O Ada i ganet dau vab idaw Jabel a Jubal | Y Jabel hwnnw gyntaf a wahanod y kenvamoed herwyd eu rywiogaeth ac eu hoet gwedy kaffael o honaw lluestau sumydedic ir bigelydd oi dychymic e hun | Y Jubal hwnnw yntau a gavas kerd telyn gyntav ac organ a cheluwyd mussic ac ai hyscrivenod mywn duy golovn un o brid ac arall o varmor | ac yn erbyn

[1] [Meis. Angharad Llwyd, gynt o Gaerwys.]

llosc a diliw ir ysgythrod | o Sella i ganet Lameth Noemma a Thubal Cain | ar Thubal Cain hwnnw a gavas govaniaeth gyntav | ac ef a fu gov ar ysgythr muynau" * * *

Os yw ereill yn feddiannol o gyfieithadau cywirach o'r Ysgrythyrau Santaidd i'r Gymraeg cyn oes y Diwygiad, byddai yn llawenydd genym glywed amdanynt, er mwyn gwell boddlondeb am gyflwr ysbrydol ein hynafiaid, tra yr oedd eu cyflwr gwladol yn ddigon helbulus.

Ar ddechreuad y bennod gyntaf o *Genesis* yn fy ysgrifen i, yr hysbysir fel hyn:—"llyma y bibl yn yscrivenedic yn gymraeg."|| Diweddaf fy llythyr hwn, Mr. *Gwyliedydd*, drwy ddymuno arnoch argraffu llythyrau eich gohebwyr yn y dull y derbynioch hwynt. Felly byddai pob ysgrifenydd yn atebol am ei ddull ei hun, yn lle eich bod chwi yn y drafferth o gaboli eiddo pawb. Yr wyf o'r farn mai felly y cyrhaeddid unffurf gyntaf. Byddwn esgud i fwrw fy mhellen blymaidd i'r llawr, can gynted ag y cynnygid un euraidd i'm llaw.

---

RHIF. II.

Y Cyfieithad nesaf o unrhyw ddosbarth o'r Ysgrythyrau, a soniaf am dano, yw un a oedd yn llyfrgell y diweddar J. Llwyd, Ysw., o Hafod Unnos, ac a werthwyd ym mhlith ei lyfrau a'i ysgrifau ereill ychydig o flwyddau yn ol. Rhan ydoedd o *Efengyl Ioan*, ar femrwn, mewn llaw deg, y fath ag oedd mewn arferiad o'r ddeuddegfed i'r drydedd ganrif ar ddeg: dri chant o flwyddau, debygwn, yn hŷn na'r ysgrif o ddechreu *Genesis*, yr hwn a ddarluniais yn fy llythyr

cyntaf. Er mai yr enw a roddwyd i'r ysgrif yn Wicwar, oedd—"Gwaith *Ioan* Efengylystor," eto, yn hanes adgyfodiad Iesu, am yr angel a ymddangosodd i'r gwragedd, a hi yn dyddhau i'r dydd cyntaf o'r wythnos—cyflëir geiriau *Matthew*, xxviii. 3—" A'r drych arno oedd fel llucheden"—yn lle "A'i wynebpryd oedd fel mellten."

Yng *Ngeiriadur* y Dr. O. Pughe, dan y gair *Celydd*, ni chelir hyn:—"*Celydd Ieuan*, enw ty ym Morganwg, treftadaeth teulu sydd mewn meddiant o ysgriflyfr Cymraeg o'r Ysgrythyrau (Bibl) wedi ei gyfieithu gan un o'u hynaif, o gylch canmlwydd cyn y cyfieithad argraffedig."

Ac yn *Hanes Deheubarth* gan Mr. Malkin (Llyfr I. 297, 301), y mae yr adroddiad canlynol ar yr iaith Gymraeg, a'r cyfieithiadau ysgrythyrol, allan o gof-gell gynnwysfawr Iolo Morganwg, fel y credir:—"Mewn ty a elwir Clyn Eithinog, ym mhlwyf Ystrad Dyfodwg. ym Morganwg, yn amser Edward VI. ac Elisabeth, yr oedd yn anneddu Fardd wrth fraint, a elwid *Tomas Llywelyn*, ac amrai o'i gyfansoddiadau cywrain hyd heddyw ar gof a chadw. Yr oedd efe yn Brotestant gwresog, ac yn wladwr moesawl a charuaidd. Efe a drodd y Bibl Seisneg, o Gyfieithad Wiliam Tyndal, i Gymraeg dilediaith, o gylch y flwyddyn 1540, yr hyn oedd fwy na deugain mlynedd o flaen y cyfieithad Cymraeg a argraffwyd gan y Dr. Wiliam Morgan. Yr oedd cyfieithad T. Llywelyn yn ddiweddar iawn, os nad yw eto, mewn bod."— * * * "Yn llyfrgell Syr Tomas Mostyn, yng Ngloddaith, y mae llythyr ysgrifenedig oddi wrth Tomas Llywelyn o Regoes, at y Dr. Rhisiart Davies, yr ail Esgob Protestanaidd yn Nhy Ddewi, yn ei annog i gyfieithu yr Ysgrythyrau i'r Gymraeg; ac yn rhoddi ychydig o hanes ei gyfieithad ei hun. Yr esgob clodwiw, trwy gynnorthwy Wiliam Salsbri, a gyfieithodd ac a gyhoeddodd y Testament Newydd, yn y fl. 1567. Ni fynegir i ni i'r Esgob Davies a W. Salsbri fenthyciaw cyfieithad Tomas Llywelyn; ond y mae rhesymau cedyrn o blaid hyny.

Os nad yw fy awdwr yn fy nghamarwain, y mae Cymreigiaeth Gwent a Morganwg yn drylawn drwy eu holl gyfieithad, ym mherthynasau cystrawen, treigladau perwyddiadau, dull ymadrawdd, a myrdd o briodoliaethau ereill—yn gymmaint nas geill un ond rhyfeddu pa fodd y dangosai y Testament Cymraeg cyntaf yn argraffedig, gynnifer o nodweddiadau Gwenhwysaidd, os na chafodd cyfieithad yr hen Fardd o Ystrad Dyfodwg ei arferyd a'i ddilyn yn helaeth drwy gydawl y gwaith. Gwyneddwyr o enedigaeth oedd yr Esgob Davies a Wiliam Salsbri, ac nid oes wybodaeth iddynt erioed gyfanneddu yn Ngwent na Morganwg, nac yn un ardal arall lle y llefarir y Wenhwyseg. Ac y mae Testament argraffedig Wiliam Salsbri heddyw, ac erioed, gan mwyaf yn annealladwy i drigolion Gwynedd." (*Malkin*, i. 30.)

Cyhuddiad trwm yw yr un uchod, ped gwir. A ydyw yn hawdd coeliaw y gwnai gwŷr mor ddysgedig a chyfarwydd yn yr ieithoedd gwreiddiawl ag y gwyddys fod yr Esgob Davies a W. Salsbri, adael o'r neilldu eu talentau eu hunain, a chymmeryd gafael yn ngwaith pellenigyn, nad oedd yn ymhoni mewn dawn ragorach (am a wyddom ni) na'i fod yn medru cyfieithu i'r Gymraeg Destament Seisneg Wiliam Tyndal? Dynion llawn o sel yng ngwinllan eu Harglwydd oedd Wiliam Tyndal a Tomas Llywelyn, goleuadau dysglaer yn ffurfafen yr Efengyl, heb yr achos lleiaf i ysbeiliaw hanfodau ereill o'u pelydrau i'w tra-ordywynu hwynt. Na chenfigened Gwent wrth Wynedd, ac na chyfynged Gwynedd ar Went. Os yw cyfieithad Tomas Llywelyn eto ar gael (fel y tybir, *Malkin*, 297), dyger ef i'r goleu, a bydded i ddysgedigion Gwent a Morganwg eu hunain farnu ai gweddus ai anweddus yw yr haeriad uchod.

Sylwir chwaneg ar y pwnc hwn yn ol llaw. Awn ym mlaen yn awr i roddi ychydig o hanes y gwir gymmwynaswr ei wlad a'i genedl, a fu yn offerynawl yn nhrefn rhagluniaeth tuag at gyhoeddiad y Testament Newydd cyntaf a argraffwyd yn Gymraeg.

"Y doeth a gaffo air da,
A gaiff gan bawb ei goffa."

Yn ol deongliad dammeg fflangell y Philistiaid—"Allan o'r bwytäwr y daeth bwyd, ac o'r cryf y daeth allan felusdra;" felly oddi ar wraidd y Seision cleddyfrudd, a'r Normaniaid saeth-annelawg, y tarddodd irwydd cnydfawr, toreithiog o fendithion, tymmorol ac ysbrydawl, i Gymru dlawd a gorthrymedig. Y Salsbrïaid oeddynt o ach Normanaidd, a dywedir mai gyda Gwilym y Goresgynydd y daeth y cyntaf o'r enw i'r ynys hon, yn y fl. 1066. Yn ol llyfrau yr Arwyddfeirdd, mab i'r Salsbri cyntaf yn Nyffryn Clwyd oedd Ioan Salsbri a fu farw yn y fl. 1089; a Mr. Peter Elis a ddywed mai mab i hwn oedd Syr Harri Ddu, enw tra adnabyddus i hen delynorion Gwynedd: ond Reinallt a ddywed mai y pedwerydd Salsbri yng Nghymru oedd yr Harri Ddu uchod, ac iddo briodi Nest, wyres i Ithel Fychan, a marw yn y fl. 1289. Trwy fynych ymbriodi ac ymgyfathrachu ag etifeddesau a thylwythau Cymreig, daeth y Salsbrïaid, fel rhai Normaniaid gwiwgof ereill, o enwau Herbert, Stradling, Basset, Turberville, &c., yn Gymry gwladgar, o barth gwaed, ac iaith, a serchiadau. Ym Marwnad Syr John Salsbri hynaf, o Leweni, dywed Wiliam Lleyn, megys wrth y marw—

"Y Sessiwn gwyddys eisiau
Eich doeth fron, a'ch dwy-iaith frau."

Ac am haelioni y Salsbrïaid, a'u syberwyd tuag at feirdd a cherddorion, y dywed S. Tudur, yn ei Awdl Briodas i John Salsbri o Rug a Bachymbyd—

"Sion Eryr y gwŷr i gyd,—Sion wrol,
Sion eurwalch Bachymbyd—
Sion fwyaf son i'w fywyd,
Sion ben ar bawb sy'n y byd.
* * * *
"Y gwŷr o raddau a gâr roddion,
Hap a roed iddynt y Prydyddion,
A gwŷr y ddwy-radd o gerddorion,
A chroew iaith hyrwydd a chrythorion—
Nadolig a Sulgwyn—o delon'—Basc a Mai,
Er maint a ddeuai, croesawai Sion."

Pais arfau y Salsbrïaid, yn gyffredin, oedd—"Maes rhudd, llew ar ei ysglyfnaid arianaidd, â choron euraidd, rhwng tair lloeren o'r trydydd lliw." Dengys hyn eu Cymreigyddiad; o herwydd bod arfau y Cymry yn fwy *llewawg* o lawer nag arfau y Seison. Anfynych y gwelir arf-bais bedranawg Gymreig heb Lew yn rhyw gwr iddi.

Mr. Pennant a dybiai ddyfod y Salsbrïaid i Leweni (llys yr hen Farchweithan, un o Bymtheg Llwyth Gwynedd yn yr 8fed ganrif) cyn amser Harri y Trydydd: ond nid yw hyn debyg; canys yr oedd Dafydd, brawd "Llywelyn y llyw olaf," yn arglwydd Dinbych yn nheyrnasiad Edward y Cyntaf; ac yn ei gwyn at Archesgob Caergaint y mae yn achwyn ar drais a gorthrech Seison Caerlleon, ac ereill, am dori a chludo ymaith ei goedydd ef yn Lleweni, heb ei genad ef. Y mae hyn yn hanesiaeth awdurdodawl; ac felly nid tebyg i'r Salsbrïaid feddiannu Llys Marchweithan nes y dienyddwyd Dafydd, arglwydd Dinbych, gan ei elynion cigyddaidd yn Amwythig, yn y fl. 1282. Ond pa bryd bynag y daethant i Leweni, ni buont hir cyn lledu eu hesgyll, a pherchenogi nifer o balasau a threftadaethau, yn Swyddau Dinbych, Fflint, a Meirion; canys ni a'u cawn yn Bachymbyd—Rug—Bachegraig—Yr Ystoc—Lleproc—Llanrhaiadr—Llywesog—Clocaenog—Llanfwrog—Maes Cadarn—Gwytherin—Dôl Beledr—Llandyrnog.

Ond "golud yn ddiau a gymmer adenydd, ac a eheda ymaith, megys eryr tua'r wybr." Enwau a theuluoedd a ymddangosant yn fawr eu rhwysg, ac a ddiflanant. Felly, o'r Salsbïraid llydain eu hesgyll, nid oes heddyw ond—"prin ddau, lle'r oedd gynnau gant" —neu lai na dau, canys ar wib-feddwl ysgafn nis gwn am ond un tylwyth cerbydawg, boneddwiw, o'r enw, a hwnw nid yng *Ngwynedd* ond yng *Ngwent.*

O lwyth, neu baladr ach Lleweni yr hanoedd ein cyfieithydd clodwiw. Ail mab i Domas Salsbri Hen o Leweni, oedd Robert, a briododd Wenhwyfar, unig ferch ac etifeddes Rhys ab Einion Fychan o'r Plas Isaf,

yn Llan Rwst; o lin y "Penwyn o Felai," a fradychodd Ddafydd, brawd Llywelyn ab Gruffydd, i ddwylaw Edward y Cyntaf. Mab i Robert Salsbri o'r Plas Isaf, oedd Ffowc Salsbri; a bu i hwnw ddau fab, o ferch i * * * Pilstwn o Fon, sef Robert a *Wiliam*. Robert, yr hynaf, a briododd *Lowri*, ferch Syr Robert ab Rhys, Caplan y *Cardinal Wolsey*, ac wyres i Rys ab Meredydd o'r Yspytty, yr hwn ym mrwydr Bosworth a gipiodd i'w afael faniar syrthiedig teulu Lancaster, pan laddwyd Syr Wiliam Brandon, y banierydd, gan law Risiart Frenin, yn ei ymdrech egnïawl i ddyfetha ei wrthwynebydd Harri Tudur, Iarll Rismwnt, ac yn ol buddugoliaeth Bosworth, Harri VII, frenin Prydain Fawr a'r Iwerddon, &c. Bu i Robert Salsbri yr ail, ddwy ferch, Gwen ac Elen. Gwen a gafodd y Berth Ddu yn gynnysgaeth, pan briododd Gruffydd Wynn o Wydir. Elen a briododd Elis Llwyd o Rhiw Goch, hynaif Syr John Wynn o Wynnstay; ac ar ei ol ef, Owain Wynn, brawd y Gruffydd uchod, a bu iddynt fab a elwid Sion Wynn Owain, yr hwn a werthodd Fryn Sylltau a'r Henblas i'w gefnder Syr Tomas Wynn o Wydir; a Chaermelwr, a adeiladasai ei dad Owain Wynn, a werthwyd ganddo i Domas Prys o Blas Iolyn; ac yntau eilwaith i Elis ab Harri; ac Elis a'i gwerthodd i Owain Wynn, y diweddaf o'r enw yng Ngwydir, cyn ei fyned yn Farchog.

Yr hanes rhagflaenawl am Salsbrïaid y Plas Isaf, a dynwyd allan o Ysgriflyfr Mr. John Gruffydd o'r Cae Cyriog, ym Maelawr, hynafiaethydd diwyd a deallus yn ei oes: ond nid hawdd cydsyniaw â'r hyn a ganlyn, allan o'r un drysorfa:—"Wiliam Salsbri, Llên,[1] ail frawd Robert Salsbri, a ddaliawdd y Plas Isaf oddi wrth y ddwy aeres uchod, ei nithoedd, Gwen ac Elen; a'i epil ef a'i piau eto; a buasai yn dal mwy oddi arnynt oni buasai i'r Dr. Elis Prys o Blas Iolyn, ei luddias. Cwtogwyd tiriogaeth y Plas Isaf yn fawr,

[1] Tybia rhai yn amryfus mai offeiriad a feddylir wrth y gair *llên* mewn ysgrifau, ond ni arwyddocâ yn rhagor nag ysgolhaig, myfyriwr, dysgawdwr, &c.

herwydd rhaniadau i'r meibion ieuaf, o oes i oes. Aeth Bryn y Barcud i un; Pant y Gareg Newydd i un arall; arall oedd Tomas Salsbri o Wytherin; arall yn Rhyd Lanfair, hynaf yr aeres a briododd Hwmffrai Llwyd; un arall yn Llan Nefydd," &c.

Gan nad oedd na chyfraith na defawd wladawl yn llesteiriaw i fenywaid etifeddu tir a daiar, yn yr oes dan ein sylw, nid yw debyg y gwnai gwr o gynneddfau addefedig W. Salsbri gymmeryd meddiant ar dir a da ei nithoedd drwy drais. Nid oedd Wynniaid *Gwydir* chwaith y cyfryw fabanod a chymmeryd eu dietifeddu yn ddiymdrech. Eto, ped gwir yr haeriad uchod, ni roddasai Syr John Wynn o Wydir, gwr o ddoniau anianawl mwy na chyffredin, y fath eirda digymmysg i'r "ysgolhaig digymhar o'r Plas Isaf," fel y galwai efe Wiliam Salsbri yn ei ysgrifeniadau, y rhai sydd i'w gweled eto. Pa fodd bynag, o blaid enw da prif gyfieithydd Cymru, gellir dyfalu iddo ef etifeddu y Plas Isaf, ar ol marwolaeth ei frawd hynaf heb fab, trwy rym ammodau priodasawl ei rieni, neu ryw weithred gyfreithiawl arall; ac mai gelyn i ledaniad yr Efengyl, rhyw Babydd neu gilydd, er mwyn pardduo ei enw da, osododd ar droed y chwedl, mai trwy draws anghyfiawnder y daliasai efe diroedd ei ddwy nith.

Gwedi bod fel hyn yn dra helaeth yn y blaenarweiniad, af rhagof yn y llythyr nesaf yn fwy uniawn-gyrchawl at fy mhrif destyn.

RHIF. III.

Ni bu ar yr Hwn sydd Oll-ddoeth ac Ollalluawg erioed ddiffyg offerynau i ddwyn ym mlaen ddybenion ei arfaeth. Cyfodwyd Cyrus i orsedd Babilon i ddychwelyd caethiwed Israel, fel yr afonydd yn y Deheu, pan adlenwid y nentydd sychedig drwy sugnedd awelon dyhyspyddawl y cylchoedd poethgras â llif-ddyfroedd ddigonedd, i adfywiaw bru y ddaiaren wywedig. Cyfodwyd Wicliff, seren ddydd y Diwygiad, a Luther, mebyn y daran, i siglaw colofnau teyrnas Anghrist. Cyfodwyd ŵyr i Owain Tudur o Fon i arwedd coron Prydain, i adferu i'r Cymry gorthrymedig eu rhyddid gwladawl. Ond O! drueni mwy! yr oeddynt eto yn gaethion yn nhywyllwch amryfusedd cadarn, ac yng nghadwynau cyfeiliornadau pabaidd. Wele droell Rhagluniaeth yn gweithiaw, i'w rhyddhau hefyd o'u gefynau ysbrydawl. Yn yr un oes fendithfawr y dychymmygwyd y gelfyddyd o argraffu llyfrau. Ac wedi hirnos faith o anwybodaeth, tywyllwch a allai enaid ystyriol ei deimlaw, daeth llewyrch gwawr y Diwygiad Protestanaidd i dywynu ar foelydd a glynoedd ein gwlad. Cynhyrfwyd ysbrydoedd y rhai oeddynt yn gofidiaw yn ddirgelaidd dros gyflwr eu cenedl; a'r Arglwydd a'u gwnaeth yn ewyllysgar yn nydd ei nerth, i gyfieithu ac i gyhoeddi yr Ysgrythyrau Sanctaidd, fel y clywai y werin anwybodus a choelgrefyddawl, yn eu hiaith eu hunain, fawrion weithredoedd Duw. Blaenred ym myddin yr Arglwydd o gyfieithyddion, cyflëir yn gyffredin *Wiliam Salsbri*. Cynnysgaeddwyd ef ag ewyllys rhydd i lafuriaw yn y winllan efengylaidd, a rhoddwyd iddo bin ysgrifenydd buan.

Yr ydym yn dueddawl i chwennych yr hanes manylaf am enwogion wŷr a fuant yn wasanaethgar i'w gwlad, yn caru eu cenedl, ac yn llafuriaw er llwyddiant

tymmorawl a dedwyddwch tragywyddawl dynawl ryw. Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig. Er eu bod yn hunaw ym mhlith y meirw, trwy eu cyfansoddiadau a'u cyfieithadau y mae eu gweithredoedd da yn llefaru eto, trwy Gymru oll, a llawer parth pellenig o Loegr.

Treiglwyd ach Wiliam Salsbri yn y llythyr diweddaf, o gyff ei genedl yn Nyffryn Clwyd; a sefydlwyd lle ei enedigaeth a'i fagwraeth yn y Plas Isaf, yn Llanrwst. Ysgolion ei fro enedigawl a fuont wasanaethawl i osod sylfaen ei gyfarwyddyd mewn ieithoedd. Mewn oed cyfaddas anfonwyd ef i Rydychain, i yfed yn helaethach o ffrydiau dysg a gwybodaeth. Ni wyddai Antoni Wood, pan gyhoeddawdd ei *Athenæ Oxonienses*, pa un ai yn Athrofa *St. Alban* ai yn *Broadgate* (yn awr *Coleg Penfro*) y cartrefodd tra yn y Brifysgol. Ym mhen ennyd symmudawdd oddi yno i'r brif ddinas i fyfyriaw, ac i fod yn hyddysg yn y deddfau cartrefawl a thramor; ar y cyntaf mewn lle a elwid *Thave's Inn*,[1] ac wedi hyny, medd rhai, yn *Lincoln's Inn*. Ond ni adawawdd Rhagluniaeth iddo ymrwymaw am ei oes yng ngwasanaeth y gyfraith ac elw bydol. Gadawai y rhai hyn i Ddemas a'i deulu, a dychwelawdd i fyw ar ei etifeddiaeth yng ngwlad ei enedigaeth. Helaethrwydd ei wybodaeth, a dyfnder ei ddysg mewn llawer o ieithoedd, a wnaeth i oreugwyr a dysgedigion ei wlad edrych arno gyda pharch a charedigrwydd. Os efe a gyfansoddawdd y Rhagymadrawdd o flaen ei *Egluryn Ffraethineb*, a gyhoeddawdd H. Perri, ar ddymuniad John Salsbri o Leweni, ymddengys ei fod yn hyddysg mewn naw o ieithoedd, heb law Seisneg a Chymraeg; sef Hebraeg, Caldaeg, Syriaeg, Arabaeg, Grywaeg, Lladinaeg, Ffrancaeg, Italaeg, ac Hispanaeg; mwy o rifedi nag "wyth-wawd" ei nai fab cyfyrder, yr awenyddawl a'r hybarch Edmwnt Prys, mydrydd y Salmau cân.

Nid ydwyf yn hysbys o nifer cyhoeddiadau Wiliam Salsbri, nac o'u trefn yn ol amser eu hargraffiad; ond

[1] Sefydlwyd y gymdeithas hon yn y fl. 1519, dilewyd yn 1768.

anturiaf eu rhestru fel y canlyn; a byddaf ddiolchgar i un brawd am ddiwygiad o unrhyw amryfusedd a welir ynddynt; yn enwedig os diwygir mewn ysbryd addfwynder:—

1. Geirlyfr Seisneg a Chymraeg, cyflwynedig drwy genad i'r Brenin Harri VIII. "*Imprynted at London, in Foster Lane by me John Waley*, 1547. *Cum privilegio ad imprimendum solum.*" Rhagflaenir â—"*Johan Waley yprenter yn danfon anerch ar popol Kymry.*" Pe gwelai bachgenyn wythmlwydd rhyw ysgol rad Gymreig yn yr oes bresennawl yr anerch uchod, nis gallai lai na gwenu, gan gymmaint y gwelliant mewn iaith ac ymadrawdd.

2. *Calendr o fisoedd a dyddiau y flwyddyn.*—Rhenir y ddalen yn chwe' cholofn—y 1af a gynnwys yr Epact, a'r Llythyren Sul, yr hon, yn y flwyddyn y cyhoeddwyd, oedd A—yr ail a gynnwys ddosbarthiad Rhufeinaidd y mis i *Nonau*, *Ideau*, a *Chalanau*—yn y 3ydd yr Ymprydiau a'r Gwyliau, hwyl yr haul drwy yr arwyddion, a'i godiad a'i fachludiad—yn y 4ydd y cyflëir dyddiau y mis—yn y 5med yr ail lith blygain—yn y 6ed yr ail lith osber. Yr Esgob Humphreys, gynt o Fangor, ac wedi o Henffordd, a ddywed mai hwn oedd yr Almanac Cymraeg cyntaf a argraffwyd, yn nheyrnasiad Harri yr Wythfed.[1]

3. Cyfieithad o'r *Epistolau* a'r *Efengylau*, yn y gwasanaeth eglwysig, drwy y flwyddyn, a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1551, yn nheyrnasiad Edward VI. Cyn cyfieithad yr Ysgrythyrau i Gymraeg, gorchymmynwyd drwy gydsyniad y Senedd yn y fl. 1563—bod i'r Epistolau a'r Efengylau hyn, yng nghyd â Gweddi yr Arglwydd, Credo yr Apostolion, a'r Dengair Deddf, gael eu darllen yn gyhoeddus yn y llanau bob Sabbath; gan nad allai y llywiawdwyr ymddiried i'r offeiriaid yn gyffredin, y dyddiau hyny, i areithiaw i'w cynnulleidfaoedd, rhag iddynt arwain yr hen surdoes i'w

[1] **[Argraffwyd y gwaith hwn yn Llundain yn 1546, y flwyddyn o flaen ymddangosiad y Geirlyfr, a chyfrifir ef y llyfr cyntaf oll a argraffwyd yn yr iaith Gymraeg.]**

pregethau. I'r un dyben gwyliadwrus y trefnwyd ac y cyhoeddwyd y Llyfr *Homiliau*, yn gyntaf yn Seisneg gan yr Archesgob Cranmer, yn y fl. 1547: ac a gyfieithwyd ac a gyhoeddwyd yn Gymraeg gan—yn y fl.[1]

4. *Rhetoreg*, neu *Egluryn Ffraethineb*, wedi ei adael yn ysgrifenedig gan W. Salsbri, ond ar ddymuniad ei gâr, John Salsbri, aer Lleweni, a adolygwyd, ac a chwanegwyd ato gan y Cymro diledryw, y Parch. H. Perri, B.D. "Y gelfyddyd hon" (medd y cyhoeddwr) "sydd un o lawforwynion gwir ddoethineb. * * * Trwy gymhorth anhyludd hon, y mae doethineb yn ymddangos yn ei glendid; yn dysgleiriaw yn ei hysblenydd oleuni; yn honi ei difethl fawredd; yn dadgan ei nerth anghyfyng; ac megys ffynnon ammhallnant yn tywallt nwydau y galon. * * * Pwy a ddichyn ddeall yr Ysgrythyr Lân, hon yw ymborth yr enaid, heb wybodaeth o'r gelfyddyd yma? Pwy a fedr ddeall ysgrifenyddion tirionddysg, neu ystorïawyr hydalm, heb gydnabod â throellau ymadrawdd? * * Angenrhaid yw dysgu a medru y gelfyddyd yma, i ddeall ereill; i adroddi yn ddeallus, ac i ymwrthod â phob ymadrawdd anhyawdl, syml, wrth ymarfer â'r troellau a'r ffugrau, y rhai, fel ser neu feini gwerthfawr, a wnânt agwedd pob ymadrawdd yn ddysglaer. * * * A rhwydded Duw chwi oll i fod yn Gristianogion diball, yn danlwyddiaid ffyddlawn, yn frodyr anysgar, yn foneddigion hylyw, yn beriglorion hydraeth, yn brydyddion diweniaith, yn *Gymry Cymreigaidd;* a henffych iwch yn y byd yma, ac yn yr uchelnef, llawenydd didranc a'ch goddiweddo.—Yr eiddoch, &c." Cafodd y traethawd godidawg hwn ei ail argraffu yn y *Greal*—Llundain, 1805.[2]

5. *Dymchweliad Allawr Uchel y Pab*—wythplyg—Llundain, 1550.

[1] [Y Cyfieithydd ydoedd un *Edward Iames;* ac yn y fl. 1606 yr ymddangosodd y llyfr, yn gyfrol led dew, mewn pedwarplyg bychan.]

[2] [Argraffwyd ef y waith gyntaf yn Llundain yn y fl. 1595; a'r drydedd waith yn Llanrwst, yn 1829. Y dyddiad ar yr ail argraffiad a ddaeth allan yn Llundain, dan aden y *Greal*, yw 1807.]

6. *Arweinydd hawdd ac eglur i'r Iaith Gymraeg*—Llundain—pedwarplyg, 1550, ac ail argraffiad diwygiedig, &c., yn y fl. 1567.

7. Ond y gwaith penaf o weithiau W. Salsbri, a'r gwaith a rydd beraidd sain i'w enw ym mhlith ei genedl hyd ddiwedd amser, oedd ei gyfieithad o'r *Testament Newydd* i'r Gymraeg allan o'r iaith Rywaeg. Yn y fl. 1563, y deddfwyd yn y Senedd, fod i'r Ddau Destament, yr Hen a'r Newydd, a'r Llyfr Gweddi Gyffredin, gael eu cyfieithu i'r Gymraeg, dan olygiad pump o esgobion, sef y pedwar Cymreig, ac Esgob Henffordd. Penderfynwyd yn y Senedd i'r cyfieithadau hyn fod yn barod i'r Eglwysydd erbyn Gwyl Ddewi, 1566, dan boen deugain punt o ddirwy ar bob esgob yn niffyg cyflawniad: a diffygiaw a wnaethant, heb allu amgen; canys nid gwaith bychan, yn y dyddiau hyny, a roddesid iddynt. Ond pa un a wnaethant ai talu eu dirwyon ai peidiaw, ni wyddys, ac ni waeth. Pa fodd bynag, drwy annogiadau yr esgobion, a'i ewyllysgarwch ei hun, anfonodd W. Salsbri ei gyfieithad o'r Testament Newydd i'r wasg ym mhen un flwyddyn wedi yr amser a benodwyd gan y Senedd; ac ymddangosodd yn llyfr pedwarplyg hardd, yn cynnwys pedwar cant ond un o ddalenau; yng nghyd ag Epistol "Richard can 'rat Dyw Episcop Menew,[1] yn damuno adnewyddiat yr hen ffydd catholic a' golauni Euangel Christ i'r Cembru oll, yn enwedic i bop map eneid dyn o vewn ei Escopawt"—megys rhagarweiniad—a llythyr byr oddi wrth "Eu car o waet yn ol y cnawt, ai brawt ffydd in Christ Iesu, *William Salesbury*." Y mae rhagarweiniad helaeth, dan enw "*Argument*," o flaen y Pedair Efengyl, Llyfr Actau yr Apostolion, pob un o'r Epistolau, a Llyfr "Gweledigaeth Ioan," yng nghyd â chynnwysiad cyfrdo i bob pennod. Ni renir y pennodau yn adnodau o ddechreu Matthew hyd ddiwedd

[1] Ail argraffwyd Epistol yr Esgob Richard Davies at y Cembru, gan Morus Cyffin, yn ei *Ddadseiniad Meibion y Daran*, yn y fl. 1588; a'r diweddar Barchedig Peter Wiliams o Gaerfyrddin a roddodd allan y trydydd argraffiad o hono yn y fl. 1774. [Ymddangosodd hefyd yn *Gwyliedydd* am 1834.]

yr Epistol 1af at Timothëus; ond dosbarthir i adnodau oddi yno i ddiwedd Gweledigaeth Ioan.

Cynnorthwywyd W. Salsbri yn ei gyfieithad gan gan ddau Gymro dysgedig, a llafurwyr diwyd yng ngwinllan eu Harglwydd, sef Risiart, esgob Mynyw; a'r Parchedig T. Huet, cantor Mynyw; a rhaniad y llafur rhyngynt a ddynodir ar ymylau y dalenau yn y drefn ganlynawl:—

O ddechreu Matthew hyd ddiwedd yr ail Epistol at y Thessaloniaid—gan W. S., sef Wiliam Salsbri. Yr Epistol 1af at Timothëus gan D. R. D. M., sef yr Esgob Risiart Davies, Mynyw. Yr ail at Timothëus, Titus, a Philemon, gan W. S. At yr Hebreaid, Epistol St. Iago, a dwy St. Pedr, gan yr esgob. Tri Epistol Ioan ac un Iudas, gan W. S.—a'r Dadguddiad, gan T. H. Cantor.

Yn fy llythyr nesaf, yr wyf yn bwriadu rhoddi ychydig o hanesiaeth y gwir barchedigion hyn; yng nghyd â sylwadau ar iaith a llythyreg y cyfieithad.

---

## RHIF. IV.

### AR HANES CYFIEITHIAD CYNTAF Y TESTAMENT CYMRAEG, A ARGRAFFWYD YN Y FLWYDDYN 1567.

GWEDI hunaw yn hwy nog un o'r saith gysgiadur, wela fi, ar fy neffroad cyntaf, yn adgoffa fy eddewid yn niwedd fy nhrydydd lythyr atoch yn Rhif. Gorph. 1826—sef rhoddi ychydig o hanes y gwir barchedigion a gynnorthwyasent Wiliam Salsbri yng nghyfieithiad y Testament Newydd; yng nghyd â sylwiadau ar iaith a llythyriad eu cyfieithiad. Y parchedigion hyny, fel y soniwyd eisys, oeddynt yr Esgob *Rhisiart Davies*, a'r Parchedig *Thomas Huet*. Yn gyntaf am yr esgob:—

Rhisiart ab Dafydd ab Gronwy oedd fab i uchelwr o swydd Ddinbych, yng Ngwynedd, ac a anwyd o gylch y fl. 1501. Yr oedd iddo enw ym mhlith y beirdd yn ei ieuanctyd. Dywedir ei fod ef a Henri Salsbri yn ddysgyblion cerdd dafawd tan addysg Lewis Dwn, arwyddfardd ac hanesydd cyfarwydd yn ei oes. Pan gynneiliwyd yr Eisteddfod fawr gyntaf yng Nghaerwys, yn y 15fed fl. Harri VIII, yr oedd Risiart Davies yn 22 oed: ac os yn yr Eisteddfod hòno y cyfansoddwyd yr wyth ynglynion i'r EOS gan gynnifer o feirdd, ymddengys bod ynglyn R. D. mor farddonawl a'r goreu o honynt. Nid oes, i'm gwybodaeth i, nemor o'i waith prydyddawl ef ar glawr, namyn ambell ynglyn. Rhoddir yr ynglyn canlynawl iddo, er bod arno nodau oes ddiweddarach. Deallir, mal pe byddai y gareg fedd yn llefaru wrth y darllenydd:—

"Daethost trwy fawr-fost i fyr-fyd—yn noeth
I wneuthur dy benyd;
Ag yn-noeth, er sy genyd,
Ar awr bach yr ei o'r byd."

Mewn oed cymhwys anfonwyd y bardd ieuanc i Rydychain, lle yr ymsefydlodd yn Athrofa y New Inn, a enwyd gynt Gwestty Trelech. Gwedi derbyn urddau offeiriad, ei ddysgeidiaeth a'i cymmeradwyodd i bersoniaethau Burnham a Maidsmorton, yn swydd Buckingham, ac i ganoniaeth yn eglwys gadeiriawl Llan Elwy. Ond gan fod ei dueddiad at y grefydd ddiwygiedig, ac hefyd yn wr priod, gorfu iddo adael gwlad ei enedigaeth, ac ymalltudo i'r cyfandir, yn gystal a duwiolion ereill y Diwygiad, pan ddyrchafwyd Mair a'i Phabyddion i lywodraeth y deyrnas yn y fl. 1553. Ar farwolaeth prydlawn Mair yn y fl. 1558, dychwelawdd i Brydain, yn ol pum mlynedd o alltudedd a chaledi; ac yn y flwyddyn ganlynol, trwy orchymmyn y Frenines Elisabeth, cyssegrwyd ef yn esgob Llan Elwy; ac ym mhen dwy flynedd, trosglwyddwyd ef i esgobaeth Ty Ddewi. Nid oedd ond prinder Biblau Seisneg yn yr oes foreu hon o'r Diwygiad yn

Lloegr. Argraffesid y Testament Newydd cyntaf yn Seisneg, o gyfieithiad Wiliam Tyndal, naill ai yn Antwerp ai yn Hamburg, yn ddienw, yn y fl. 1526: yr oedd y pummed argraffiad o hono wedi dyfod allan cyn y fl. 1534. Daliesid Tyndal, trwy ddichell pabaidd, yn Antwerp, er y fl. 1531; a bu yng ngharchar hyd y fl. 1536, pan ddyoddefodd ferthyrdod am ei ffyddlondeb yng ngwasanaeth ei Arglwydd.

Yr argraffiad cyntaf o'r holl Feibl yn Seisneg, trwy awdurdod breninawl, a fu yn y fl. 1535, tan enw "*Miles Coverdale.*" Cyhoeddwyd *ail* argraffiad o'r Bibl hwn, yn bedwarplyg, yn y fl. 1550; a thrydydd yn 1553. Yn 1560, cyhoeddwyd *Bibl Geneva*, o gyfieithiad y fföedigion Seisnig, pan oeddynt ar herw yn y ddinas hòno, rhag llosgi o sel yn Lloegr, gyda Chranmer, Latimer, a Ridley. Ac ym mhen wyth mlynedd, sef yn y fl. 1568, cyhoeddwyd cyfieithiad newydd, drwy orchymmyn y Frenines Elisabeth, o lafurwaith pymtheg o ddysgedigion cyfarwydd yn yr ieithoedd gwreiddiol. Rhanesid y Bibl yn bymtheg rhan rhyngynt, a phob un i osod dwy lythyren ei enw wrth ddiwedd ei gyfran. Felly yn y Bibl hwn, a elwid yn gyffredin "*Bibl yr Esgobion*," ar ddiwedd Pum Llyfr Moses, gwelir y llythyrenau W. E., sef *Wiliam* esgob *Ecseter*, gan ei fod ef wedi cyfieithu cymmaint: ac yn niwedd Llyfr *Ruth*, gwelir R. M., sef *Rhisiart* esgob *Mynyw*, neu Ty Ddewi, gan ei fod yntau wedi cyfieithu o'r Ebraeg lyfrau *Iosua*, *Barnwyr*, a *Ruth;* ac felly yn y blaen hyd ddiwedd yr Epistol Cyntaf at y Corinthiaid, pan esgeuluswyd y llythyrenau oddi yno i'r diwedd.

Ar yr un pryd, yr oedd yr esgob llafurus hwn yn cynnorthwyo ei wladwr, Wiliam Salsbri, i gyhoeddi y Testament Cymraeg cyntaf yn argraffedig; yr hwn, fel y soniwyd yn fy nhrydydd lythyr, a ddaeth allan yn y fl. 1567, un flwyddyn cyn ymddangosiad y Bibl mawr Seisneg y bu iddo law yn y gwaith.

Nid llawer o'i ysgrifeniadau a gyhoeddwyd, heb law ei gyfieithiad o ran o'r Bibl Seisneg allan o'r Ebraeg—

rhan o'r Testament Cymraeg allan o'r Groeg—ei Epistol at y Cembru o flaen y Testament, a Phregeth Gladdedigaeth yn eglwys St. Petr, Caerfyrddin, Tachwedd 6ed, 1576, ar farwolaeth Walter Devereux, Iarll Essecs, yr hwn a fuasai farw yn Iwerddon, ac hyny, medd rhai, trwy ddichellion gwenwynig Robert Dudley, Iarll Caer Leyr (*Leicester*). Bu y *Rhobert* hwn yn *Rheibiwr* mawr yn ei ddydd, yn Nyffryn Clwyd, Maelor, &c.

Yr esgob clodlawn a hunodd ei hun ddiweddaf yn llawn addfedwch oedran a pharch, y 7fed o Dachwedd, yn y fl. 1581, wedi bod ugain mlynedd yn esgob Ty Ddewi. Ni ddiangodd efe, mwy na llawer o wŷr rhagorawl eraill, heb i enllib genfigenus, yn ol ei farwolaeth, fwriadu pardduo ei enw da, trwy haeru iddo dlodi ei esgobaeth, er mwyn cyfoethogi ei deulu.

*Cenfigen*, cwyna fagad,
I lwys fron, a leisia frad.

Ac fel y dywedodd y bardd digymhar Gronwy Owain—

"*Hi* ni wna dda, ddera ddall,
Ni erys a wna arall."

Yn lle coelio gogan am y marw, gan na wyddom yn drylwyr pwy, gwrandäwn yn hytrach ar dystiolaeth cydoeswr a chymmydog i'r esgob dysgedig, sef George Owen, Yswain, un o raglywyddion swydd Benfro, tan y Frenines Elisabeth, yn y fl. 1588, y pryd yr oedd y llywodraeth yn ofni i'r Hispaeniaid Pabaidd ddyfod i dir yn Aberdaugleddeu. Ym mhlith llawer o wŷr enwog a chanmoladwy, perthynol i swydd Benfro yn hamrai oesau, y mae yn crybwyll Richard Davies, esgob Ty Ddewi—"Gwr nad oedd ddim yn llai parchedig yn ei amser am ei rinweddau anghyffredin, a'i ragoroldeb mewn dysg—nag oedd am ei haelioni a'i syberwyd cyhoeddus; er iddo ddyoddef llawer o hel-

bulon a chroesni, eto efe a ddaeth trwyddynt yn y cyfryw fodd, fel ag i sicrhau iddo ei hun eirda pob dyn cywir, heb gael anghlod gan neb ond gan feib enllib a drygioni."

Cymmerwn dystiolaeth yr un gwr ardderchawg a chydoesydd, am nodweddiad a gwybodau y

PARCHEDIG THOMAS HUET,

ail gydlafurwr â Wiliam Salsbri, fel y mae ar glawr yn y *Cambrian Register*, ii. 210.

"Thomas Huet, Cantor Ty Ddewi—gwr a ymddygodd yn addas i ei alwedigaeth, mewn parch a chymmeriad drwy holl ystod ei einioes, ac a oedd yn gydymdrechwr diwyd â'r esgob rhagenwedig yng nghyfieithiad yr Ysgrythyrau."

Treuliodd T. Huet y rhan fwyaf o'i einioes ym mhlwyf Llan Afan Fawr ym Muallt. Efe a adeiladodd y Ty Mawr yn Llys Dinam, ac a oedd yn beriglor Cefn Llys, a Diserth Glan Gwy, yn swydd Faes Hyfaidd. Bu farw y 19ydd o Awst, 1591, gwedi hwy-oesi ei gydlafurwr yr esgob ddeg mlynedd. Ei nith, merch ac etifeddes ei frawd Rhys Huet, a briodes Richard Jones o Fryn Ioiau; ac Ann, eu hwyres hwy, a fu yn briod â Rhodri Gwyn o Lanfair Cilgydin, yn swydd Fynwy; a'u mab hwynt oedd Hywel Gwyn o Fryn Ioiau, yr hwn a briodes ferch i'r deddf-ynad Gwyn o'r Garth. Trwy ryw ammodau teuluawl, meddiennir y Ty Mawr, a thiroedd ereill yn Llys Dinam, ym mhlwyf Llan Afan, er ys amser yn ol, gan y Gwyniaid telyn-gar o Lan Brân, ger Llanymddyfri.

Gwedi fel hyn roddi cymmaint o hanes Wiliam Salsbri, yr Esgob Davies, a Thomas Huet, ag y sydd yn bresennol o'm blaen—fy mwriad yw myned rhagof, yn fy llythyr nesaf, i sylwi ychydig ar iaith, llythyriad, a theithi ereill eu cyfieithiadau: ac yn gyntaf ar waith Wiliam Salsbri.

## RHIF. V.

### AR GYFIEITHIAD WILIAM SALSBRI.

Pe rhoddid enw un o'r pedwar mesur ar hugain cerdd dafawd ar waith Wiliam Salsbri yn llythyrenu geiriau Cymraeg—*Clogyrnach* a fyddai yr enw cymhwysaf; o herwydd nad yw efe ond ambell waith yn lleddfu geiriau, trwy newid y llythyrenau gwreiddiol i'w deilliaid perthynol; megys *c* wreiddiol i *g*, *ngh*, ac *ch;* *p* wreiddiol i *b*, *mh*, a *ph;* yn ol y gair digyfrwng a fyddo yn blaenori—megys *c*aws, *ei g*aws, *fy ngh*aws, *ei ch*aws; a hyn oll yn ol teithi cynhenid y Gymraeg, ac arferiad cyffredin. Pa beth a allai gynhyrfu yr "Ysgolhaig mawr o'r Plas Isaf" i arferyd y fath Gymreigiad, y mae yn dra anhawdd dyfalu. Ef allai mai ewyllys i ddilyn cynllun yr ysgriflyfrau hynaf, megys *Llyfr Eglwys Teilaw* (Liber Landavensis), yr hwn a ysgrifwyd yn barhaol, o oes i oes, o'r chweched hyd y ddeuddegfed ganrif o oed Crist; a rhan ehelaeth o hono yn y ddull anystwyth a etholawdd W. S. i gyhoeddi ei Destament Newydd ynddi. Y mae yn rhaid addef, mai dull gymhwys ydyw i gynnal ar gof a chadw dadogaeth geiriau unsill, a tharddiad rhai cyfansawdd: ond ar yr un pryd, dull dra anaddas oedd i gyhoeddi newyddion da yr Efengyl ym mhlith y werin anhyddysg yng nghystrawen y gramadegau. Yr ystyriaeth o hyn a arweiniodd y Dysgawdwyr *Morgan*, *Davies*, a *Parry*, i ystwytho y clogyrnaidd eiriau yn ol priodoliaethau yr iaith, yn eu Biblau yn y fl. 1588, a 1620.

Heb helaethu yn bellach ar hyn, rhoddir yma, megys anghreifftiau, rai dyfyniadau allan o Destament W. S., i ddangos ei ddull, i gynnifer o ddarllenwyr y *Gwyliedydd* na welsant mono erioed, gan ei anamled yn yr oes hon.

*Mat.* xvii. 27.—"Y pyscotyn cyntaf a ddel i vyny*dd* * * * ac wedy yt' agory ei eneu, ti a gei ddarn o vgein ceinioc."

*Ioan* xx. 25.—"Any welaf yn ei ddwylo ol y cethri, a' dodi vy-bys yn ol y cethri."

*Act.* v. Cynnwysiad.—"A alwesont y cygcor yn-cyt." [*Adn.* 21.]

*Act.* v. 9.—"I tempto Yspryt yr Arglwydd."

*Act.* xxviii. 20.—"Ac y gytgympwyll a chwi."

1 *Cor.* xv. 8.—"Ac yn ddywethaf oll e welspwyt geny vine hefyt, vegis gan vn antempic."

Rhai ereill allan o'i lyfr Salmau.

*Salm* xl. 2.—"Ac ef am cyfodes o'r pytew anhygyrch, allan o'r pridd tomlyd, ac a osotes vy-traet ar y graic, ac a hwyliodd vy-cerddet."

*Salm* xliii. 1.—"Barn fi Dew, a dadle vy-dadl yn erbyn y popul antrugarawc."

Gwelir uchod fod W. S. y rhan fynychaf yn arferyd y nod cydglwm (-) *hyphen*, i arwyddo lleddfiad y cydseiniaid treigladwy; sef y naw hyn, *c*, *p*, *t*, â *thri* threigliad; *b*, *d*, *g*, â *dau* dreigliad; ac *ll*, *m*, *rh*, ag *un* treigliad bob un. Rhoddwyd enghraifft o'r blaen o dreigliadau *c; p* hefyd a newidir i'w deilliadau—*p*en, *ei b*en, *fy mh*en, *ei ph*en. Yn lle y treigliadau hyn, arferai W. S. y nod cyd-glwm (-) i arwyddo lleddfiad y lythyren wreiddiol i ei modd deilliadawl, fel y gwelir wrth ei eiriau a ganlyn:—vy-traet; vy-gweddion; vy-dwylo; vy-calon; vy-gelynion; vy-bywyt; vy-poen; vy-brawt; vy-bron; vy-cerddet; vy-Dew:—an-cyfion; an-dewiolion; cym-porth; cym-pwyll; ym-porth; ym-plith; y-cyt:—yn lle *fy nh*raed, *fy ng*weddion, *fy n*wylaw, &c.

Hynodrwydd arall yng ngeiriadaeth W. S. oedd efelychu ei Gymreig-air agosed ag y medrai i lythyreniad y gair estronaidd, o ba un y tybiai efe fod y gair Cymraeg yn deilliaw—megys y rhai canlynol o'r Groeg:—

| W. S. | GROEG. | CYMRAEG HEDDYW. |
|---|---|---|
| Eccles | *Ecclesia* | Eglwys |
| Episcop | *Episcopos* | Esgob |

| W. S. | GROEG. | CYMRAEG HEDDYW. |
|---|---|---|
| Angelion | *Angeloi* | Angylion |
| Euangel | *Euangelion* | Efengyl[1] |
| Hypocritieit | *Hypocritai* | Rhagrithwyr |
| Batyddio | *Baptizo* | Bedyddio |
| Parabolae | *Parabolai* | Dammegion |
| Membranae | *tas membranas* | y memrwn |
| (2 *Tim.* iv. 13.) | | |

Y gair Seisneg *parchment*, a fenthyciwyd (fel y dywedir) oddi wrth *Pergamena*, am mai yn Pergamus, dinas yn Asia Leiaf, y dychymmygwyd gyntaf, o grwyn defaid, gan y Brenin Attalus, pan ddarfu i Ptolemy, brenin yr Aipht, wrthod gyru dim chwaneg o bapyr (*papyrus*) i Asia. Nid oedd gan y Cymry na'r Seison air cynhenid am y sylweddau uchod yn eu hiaith eu hunain. Torai y Cymry (meddant) eu llythyrenau ar goed y beithynen ddarfodedig, yn lle ar lechau celyd y creigiau! A'r Seison, heb adnabod llythyren, nes y dysgwyd iddynt yr Egwyddor Rufeinaidd gan Awstin Fonach, a gawsant eu *parchment* o Asia, a'u *paper* o Affrica.

| W. S. | LLADIN. | CYMRAEG. |
|---|---|---|
| Pechat | *Peccatum* | Pechod |
| Discipulon | *Discipuli* | Dysgyblion |
| Prophwyti | *Prophetæ* | Prophwydi |
| Cariat | *Charitas* | Cariad |
| Ffycuspren | *Ficus* | Ffigysbren |
| Temp | *Tempus* | Tymp (amser) |
| Parat | *Paratus* | Parod |
| Commun | *Communio* | Cymmun |
| Defficio | *Deficio* | Diffygio |
| Pytew | *Puteus* | Pydew |
| Destruw | *Destruo* (berf) | Distryw |
| Dew | *Deus* | Duw |
| Popul | *Populus* | Pobl |
| Orribil | *Horribilis* | Erchyll |
| Tristit | *Tristitia* | Tristwch |
| Pericl | *Periculum* | Perygl |
| Lleo | *Leo* | Llew |

[1] Gan mor drylawn yw yr iaith Gymraeg o wreidd-seiniau unsill, nid oes braidd iaith o'r byd, o ba lwyth bynag yr henyw, nas geill Cymro diledryw haeru bod amledd o'i geiriau yn olrheinadwy i iaith ei hynafiaid: er hyny, ai nid trybwyllawg y farn, na chlybuwyd erioed yn Ynys Prydain y geiriau *angel*, *efengyl*, a'r cyffelyb, cyn dyfodiad y cenadon cyntaf drosodd i gyhoeddi newyddion da iechydwriaeth rad? er bod y Gymraeg mor lluosog ac amrywedd ei sill-eiriau ag y gellir ei dyfalu yn fam wen (o leiaf) i bob tafodiaith dan awyr, a bod elfenau y geiriau *angelos* ac *euangelion* yn Gymraeg lân loew.

*Seisnigrwydd yn W. S.*

*Mat.* xxii.—"Llawn *hypocrisi* ac enwiredd."

*Mat.* xxv. 27.—"Vy *monei* at y cyfnewidwyr * * * y cawswn i y mau *vwnei* vi gyd ac elwach."

*Mat.* xxvii. 32.—"O Cyren, a elwit Simon: a hwn a *gompellasant.*"

*Mat.* xvii. 9.—"Ac mal y *descendent* o'r mynyth."

*Mat.* xxii. 46.—"*Ymgwestioni* ddim ag ef mwyach."

*Mat.* xxvii. 26.—"Ac ef a *yscyrsiodd* yr Iesu."

*Philem.* 11.—"*Amprofitiol*, amyn yr awrhon yn *profitiol* y ti ac y minheu."

Er hacred yr ymddengys eiriadaeth W. S. yn yr oes hon, er hyny nid bychan a ddylai fod ein parch i goffadwriaeth blaen-arweinydd y Cymry i winllan yr Efengyl. Efe a dorodd y ia, a dylifodd y dyfroedd bywiol, a attaliesid er oesau trwy ddichell a dallineb gau grefydd. Er mor dueddol oedd ein gwladwr gwiwgof i ganlyn geirluniad estronawl, er hyny y mae ganddo aml adnod o burach Cymraeg nag un argraffiad a fu ar ei ol; megys *Ioan*, xviii. 3: "Ac Iudas wedy iddo gahel catyrfa o wyr a swyddogion gan yr Archoffeiriait a'r Pharisaiait a ddeuth yno a chanthwynt dan-llestri a thewynion ac arvae."

Dilynwyr W. S., er iddynt newid ei ddull o eiriadu, ni wellasant ddim ar ei sain felusber yn rhai manau; megys *Mat.* xvii. 2: "A ei ddillad oedd mor gannaid a'r goleuni." 5med *adn.*: "Nycha wybren olau yn ei gwascodi." *Ioan*, xx. 1: "A'r dydd centaf o'r wythnos yn dechrae gwawrio." *Act.* xxvii. 29: "Gan ddamunaw gwawrio o'r dydd." 2 *Cor.* i. 7: "Y mae ein gobeith yn *ffyrf* am danoch." Yn ymyl y ddalen, ar gyfer *ffyrf*, gosodwyd "dilys, diogel:" ond yn lle yr un o dri gair Cymraeg W. S. y mae genym y gair Seisnigaidd *sicr* hyd heddyw. Yn *Ioan*, xviii. 3, newidiwyd "*tan-llestri*" W. S. i *lanternau*, ym mhob argraffiad gwedi, er mai gair yw hwn yn tarddu o'r Lladin *laternæ.* Yn *Mat.* xxvii. 26, ar gyfer *yscyrsiodd* (o'r Seisneg *scourged*), gosododd W. S. "*ffrew-*

*yllawdd*" ar ymyl y ddalen: ond ym mhob argraffiad arall ymddengys "*fflangellodd*," gair mor anghymreigaidd ag *yscyrsiodd*—yn Lladin, "*Iesum flagellans*." *Mat.* xxiii. 5: "Llydany eu *cadwadogion* a wnant;" ac ar ymyl y ddalen, *phylacterau*, o'r Groeg, gair cyfystyr. *Mat.* xxiii. 15: "I wneythur un o'ch proffes eich unain," a newidiwyd i "I wneuthur un *proselyt*," y gair Groeg ar ymyl y ddalen gan W. S. *Mat.* xxiii. 29: "Yn addurnaw *monwenti* y cyfiawnion;" ond "*beddau* y rhai cyfiawn," sef y gair eglurhaol ar ymyl y ddalen gan W. S., sydd yng nghorff yr adnod ym mhob argraffiad arall. Felly y mae "*beddau*" ddwŷwaith yn yr adnod Gymraeg, er nad yw *tuphous*, y gair cyfystyr yn y Roeg, onid *un* waith: *mnêmeia*, sef *cofiaethau*, sydd yno yn lle y "*beddau*" diweddaf;—"*yn addurnaw cofiaethau y cyfiawnion*." Yn y Bibl Seisneg, 1589, darllenir fel hyn:—"*Yee build* the *tombes* of the prophets, and garnish the *sepulchres* of the righteous;" ac felly ym mhob argraffiad gwedi hyny. Ac yng nghyfieithiad Lladin *Ar. Montanus*, *sepulchra* a gyfetyb i y *beddau* cyntaf yn yr adnod, a *monumenta* i yr ail. Ond nid yw hyn o fawr bwys. Ni soniasid am dano ond er dangos bod y cyfieithiad Cymraeg, yn ol pob argraffiad, onid un W. S., yn sefyll yn unig-wahanol oddi wrth bob cyfieithiad arall drwy holl ieithoedd Ewrob. Oddi wrth y geiriau gwahanryw a arferir ym mhob un o honynt, gellir dyfalu mai wrth y *beddau* cyntaf yn yr adnod, y mae i ni ddeall gwyddfäu, neu domenau (*tumuli*), cyffelyb i y rhai ar Wastadedd Caer Caradog, a manau ereill; ac wrth y *beddau* diweddaf yn yr adnod—llechau neu golofnau cerfiedig; am hyny yr arferir *lliaghtyn* yn y Fanaweg, a *leaghtuighe* yn y Wyddeleg. Felly y darlleniad cywir yn y Gymraeg a fyddai, "Yn adeiladu beddau y prophwydi, ac yn addurnaw beddfëini y rhai cyfiawn." Nis gellir cymhwyso y gair *adeiladu* at feddau cyffredin, nac *addurnaw*, ond at sylweddau addurnadwy—rhyw sylweddau amgen na phridd a thywod.

Tybiaf fod hyn yn ddigon, os nad gormod, ar gyfieithiad *Wiliam Salsbri.* Ond pwy a addurnawdd feddfaen yr enwog gyfieithydd? Pwy a ddyrchafodd goffadwriaeth am yr ymdrechydd llafurus tros oleuni tymmorawl ac iechyd tragwyddawl ei genedl dywyll a choelgrefyddol? Cafodd amrai o helyddion cedyrn y gogynfyd golofnau goruchel gorwychion yn trywanu awyr, a bwäu gorfoleddus yn ymledu ar draws y prif-ffyrdd, i ddwyn ar gof i'r oesau dyfodadwy eu llwyddiant enguriawl yn cynllwyn am waed, ac yn hela eu cydrywiaid i waered i freninllys isaf yr Angeu! Y mae gan *Loegr* goch golofnau er coffäu gwrhydri Rodney, Nelson, a Hill: ond *Cymru* druan, â'i pheithynau a'i breuddwydion, yng nghanol helaethrwydd marmor Mon, gwrdd feini Eryri a Chader Idris, a llechau rhuddleision godreon y Wyddfa, heb gymmaint a llythyren gerfiedig o gofiant am ei Chaswallon, ei Charadawg, ei Llywelyn, a'i Glyndwr—gwroniaid terydd ym mhlaid ei rhyddid *gwladawl;* nac am *Salsbri*, a lafuriawdd gymmaint tros ryddid *ysbrydawl* ei genedl: nid oes ganddo *efe* gymmaint a beddfaen i ddywedyd—"*Yma y gorwedd.*" Cwsg dithau, gan hyny, Salsbri ardderchawg, hyd wawriad y bore mawr, y pryd y croesewir di â yr anerchiad cysurlawn —"DA, WAS DA A FFYDDLAWN."

---

## RHIF. VI.

### AR GYFIEITHIADAU YR ESGOB R. D. A'R CANTOR T. H. YN Y TESTAMENT CYMRAEG CYNTAF, YN ARGRAFFEDIG, B. A. 1567.

YR *ail* gyfieithydd, yn ol helaethrwydd ei lafur, yw Rhisiart, esgob Ty Ddewi; a'i ddosbarth ef, fel y mynegwyd o'r blaen, oedd yr Epistol Cyntaf at *Timothëus*

—yr Epistol at yr *Hebreaid*—Epistol *Iago*—a dau *St. Petr*. Efe a ysgrifenai "*Pawl*" yn lle "Paul" W. S., a *chreddyf* yn lle crefydd. Rhoddir ar glawr ddyfyniadau er mwyn amlygu ei ddull; os yr un, y mae efe yn fwy Cymreigaidd na W. S.

1 *Tim*. iii. 2.—"Rraid ir escob fod yn ddifaiedic, gwr un wraig, gwiliadwr, pwyllog, cymwys, lleteuwr, athrawys; nid gwin-gar, nid ymffustwr, nid chwannoc i fudr-elw; eithr rrywiog, nid ymladdgar, nid cybydd, vn a wyr reoli y dy i hun yn dda."—Ni ranwyd y pennodau yn adnodau hyd yr Ail Epistol at Timothëus.

*Heb*. vi. 20.—"ar ol *ordr* Melchi-sedec." *Heb*. xiii: "Cariad broduraidd triged." *Iago*, i. 17: "Pob roddyat dayonus, a phob rrodd berffaith o ddifynyd*d* y may, ac a ddiscin o iwrth tad y goleuaday, gidar hwn ni does trasymedigaeth, na chyscodiad troedigaeth." Yn ei "*Argument*" o flaen yr Epistol at yr Hebreaid, y cyfieithydd a ddywed:—"A chan vot Yspryt Duw yn awdur yddaw, nid llai dim ei awdurdot, er na wyddam ni a pha bin yr escrivenawdd ef hwn. Pa vn bynac ai Pawl ytoedd (yr hyn nyd yw gyffelip) ai Luc, ai Barnabas, ai Clement, ai vn arall, y bwrpos pennaf ef oedd ddwyn yr Ebraieit i gredu," &c. Ond yn niwedd yr Epistol, dywedir—anfonwyd "o'r Ital trwy Tymotheus:" pwy felly mor debyg o'i anfon a St. Paul? Y mae yr un "*Argument*," air yn air, o flaen yr Epistol yn y Bibl Seisneg, 1589; ond gwedi hyny, y dysgedigion a fuont, ac a ydynt, yn un a chytûn yn eu barn, mai "Apostol mawr y Cenedloedd" yw yr awdwr.

2 *Petr* ii. 1.—"rrain yn ddirgel a ddygant y mewn etholffyrdd enbydus, ïe yn gwadu yr Arglwydd rwn y prynnodd hwynt, yn tynnu arnynt i hunain ddihenydd buan."

Y trydydd gyfieithydd oedd y Parchedig Gantor Huet; a'i ddosbarth, fel y soniwyd, oedd llyfr *Dadguddiad Ioan*. Mynegwyd eisys mai gwr o Fuallt, ym Mrycheiniog, ydoedd, ac felly nid neppell o derfynau Gwent a Morganwg, lle y llefarwyd y Wenhwyseg. Herwydd hyn y dysgwylir nodau o y gainc hòno o

Gymraeg yn y cyfieithiad: ac am hyn y mae ei leferydd yn ei gyhuddo. Y *Dadguddiad* a elwir ganddo ef, a chan y Dr. Morgan ar ei ol, "*Gweledigaeth Ioan y Divinydd.*" Ar ochr y ddalen, ar gyfer dechreuad y bennod gyntaf, fel hyn:—"*T. H. C. M. a translatoedd oll text yr Apocalypsis yn ieith ei wlat.*" Yn niwedd yr "*Argument*" (megys yn y Seisneg, 1589) dywedir—"Darllenwch yn ddiyscaelus, barnwch yn bwyllog, a galwch yn ddifrifol ar Dduw am wir ddyall y petheu hyn."

*Pen.* i. 4.—"ger bron ei *dron*" (*eisteddfa*, ar ymyl y ddalen) Gr. *thronos*—Ll. *thronus*—Seis. *throne.*

xiv. 3. arferir *trwn* yn lle *tron.*

i. 7.—"Dyna (*wely*, y. d.) y may ef yn dyvod gydar nywl (*wybreneu*, y. d.) a phob llugad ae gwyl ef, ar rrei hefyd y brathasant ef tryvvodd; ac wylovain y wnant arno ef holl ceneloedd y dayar, Velly y mae, Amen."

i. 16.—"cleddey llym doy vinioc, a discleiro a wnaeth y wyneb ef mal yr hoyl yn y rym ef."

i. 18.—"allwyddey uffern a myrvolaeth."

ii. 14.—"dysc Balaam, yn yr hwn y dyscoedd Balac, y vwrw plocyn (*rrwystr*, y. d.) tramcwyddys gar bron meibion yr Israel."

iii. 19.—"am hynny y pryssyrgara a gwella."

iv. 1.—"Dabre y vyny*dd* yma."

vi. 8.—"A syna, march a lliw priddlyd (Gr. *chloros*, lluchwin, gwelw, y. d.)"

vi. 14.—"ar nef aeth heybio mal rol-o-papir."

viii. 7.—"ar angel cynta a ganoedd y trwmpet, ac yr ydoedd ceseir a than."

viii. 10.—"yn llosgi mal toris (Gr. *lampas*, ffagyl)"—o'r Seisneg *torch*, argraffiad 1589, ond *lamp* yn y Seisneg 1669, newidiad nid er gwell; a *lamp* hyd heddyw yn Gymraeg hefyd.

ix. 9.—"a lleis y hadeynedd oedd debic i leis siaradey"—rhy debyg mai o'r Seisneg y Cymreigiwyd y gair hwn—*charets* yn argraffiad 1589. Dr. Morgan a newidiodd y gair i "*gerbydau.*"

ix. 12.—"a syna, a may doy wae yw ddyfod rrac llaw."

x. 1.—"Angel—gwedy ei ddillaty or wybren"—Gr. *ex tou ouranou*—pob un yn rhagori llawer ar y Lladin *nube*, a'r Seisneg *cloud*, a'r Cymraeg presennol *cwmwl*.

xi.—"doy fis a deugain—doy dist—doy canwylbren."

xii. Y mae amrafaeliad rhwng argraffiadau mewn amryw ieithoedd yng nghylch dosbarthiad y bennod hon i adnodau. Adnod y tramgwydd yw y ddiweddaf o'r bennod yn ol dosbarthiad Huet, y Dr. Morgan, yr holl Destamentau Groeg a welais, oddi eithr *un* a olygwyd (meddant) gan y Parch. Ioseph Hoare, yn y fl. 1742, ac wedi hyny bu Benaeth Coleg yr Iesu yn Rhydychain: o'r un tu hefyd yw yr argraffiad Seisneg, 1589. Ond o hyny allan, y mae yr holl argraffiadau Seisneg a Chymraeg yn gosod y 18fed adnod uchod i ddechreu y bennod nesaf, a hyny yn gywir ddosbarthiad yn ol rheol cyfiawn gyfansoddiad, os yr Apostol Ioan a *safodd ar dywod y môr*. Huet a ddywed, i ddiweddu y bennod xii., "*ac mi sefais* ar draethey mor." Y Dr. Morgan, yn 1588, a'i dilyna yng ngorsaf yr adnod; ond trwy ryw amryfusedd, rhydd ystyr ammherthynol i y perwyddiad Groegaidd *estathên*, gan gyfieithu—"ac *hi a safodd* ar dywod y môr," gan dybio mai *y ddraig* a safodd: pe gwir hyny, y mae yr adnod yn ei lle. Nis gwn i onid am *un* beirniad yn cydunaw â Dr. Morgan yn hyn, a hwnw yn gyhoeddwr Testament Groeg â nodau Lladin mor ddiweddar a'r fl. 1820. Er bod y ferf Roegaidd *estathên* yn gywir ganddo yn yr adnod—er hyny, yn ei nod ar y gair, gosododd "*Stetit nempe Draco*," *&c.* Pe y *ddraig* a safasai ar y tywod, y gair gwreiddiol a fuasai *estathê*. Hyd heddyw y mae 18 o adnodau yn y xii. bennod ym mhob iaith yn Ewrob, onid y tair hyn—*Seisneg*, *Cymraeg*, a *Manaweg*.

xiii. 1.—"ac ar y beney ef enw dirmigedic."

xiv. 5.—"can ys y maent heb gyffeith gair bron trwn

Dyw." Gwnaeth y Dr. Morgan yr adnod hon yn fwy dirnadwy.

xiv. 20.—"cyd ac vncant ar bymthec o gefnei o dir" —ar ymyl y ddalen, "rhyd mil a chwechant stad."

xvi. 13.—"yn debic y ffrogaed (llyffaint, y. d.)"

xvi. 20.—"a phob ynys a ffoedd ymaith, ac ny chad cwrdd ar mynydde."

xvii. 4.—"a gwisc y wreic oedd pwrpwl a 'scarlla, a goreyred ac aur."

xviii. 6.—"llenwch yddi hi y ddoy ddybllic."

Y mae hyn yn naill ai digon ai gormod, i ddangos anghymreigrwydd y cyfieithiad cyntaf o'r Testament Newydd yn argraffedig. Ond gan iddo ddwyn newyddion da o lawenydd mawr i'r rhai oeddynt yn rhodio mewn tywyllwch a chysgod angeu, ym mhlith ein cyndeidiau—ni ddawr llawer pa mor anghywrain ac anystwyth yr ymddengys y cyfansoddiad i ddarllenyddion y Biblau presennol, y rhai ydynt mor gytunol ag iaith y wlad, mor eglur, fel y rhedo yr hwn a'u darlleno.

Cyn diweddu, bydded ychydig eiriau yn esgusodol, er mwyn diheuraw y cyfieithwyr dysgedig, na fenthyciasant gyfieithiad Thomas Llywelyn, o Regoes, ym mlaenau Morganwg, fel y lled-ogana *Malkin* yn ei *Hanes-lyfr Deheubarth.* Sylfaen ei haeriad ydyw hyn —sef bod iaith Testament Wiliam Salsbri yn fwy cytunol ag iaith Gwent a Morganwg nag ydyw ag iaith Gwynedd, gwlad genedigaeth Salsbri a'r Esgob Davies. Yr ateb i hyn ydyw—na wedir nad oes lawer o eiriau yn y Testament yn ddigonawl i beri i farn fyrbwyll dybio hyny—megys yr ychydig a ganlyn:—

1. *Act.* xiii. 37.—"'rhwn a gyfododd Dew i fyny*dd*, ny welas ddim llwgredigaeth." Y mae y dywediad "*i vynydd*" (i fyny) yn gyffredin yng Ngwent, ac hefyd yn Nhestament W. S.: ond y mae efe yn barhäus, pan arfero y gair, yn gosod yr *dd* yn llythyrenau amrywiol, fel y byddai ystyr y gair yn amlwg i ddarllenyddion y pedair talaeth.

2. *Ioan*, xx. 25.—"Any welaf yn ei ddwylo ol y

cethri." *Cethri* sydd air Gwenhwysaidd, ac arferir y gair yn yr ystyr uchod yn y *Llyfr Gwyn o Hergest;* llyfr, yn ol pob tebygoliaeth, a ysgrifenwyd yng Ngwent. Ond y mae Gwalchmai ab Meilir, bardd Gwyneddig, yn arfer yr un gair—"*er dy dost gethrau,*" &c. Ar gyfer *cethri* yn yr adnod, gosododd W. S. y gair "*hoelion*" ar ymyl y ddalen. Arwydd eglur i'r cyfieithwyr, fel bugeiliaid ffyddlon y braidd wasgaredig drwy Wynedd a Dyfed, Gwent a Morganwg, arferyd lluosogrwydd o eiriau, fel y byddai y naill neu y llall o honynt yn ddealladwy ym mhob un o'r taleithiau hyny. Gwelir enghraifft hynod yn cryfhau y dywediad hwn, yn *Mat.* xxvii. 6, 7. "*Nyd cyfreithlawn i ni ei bwrw wy yn y corbă * * * i gladdy pererinion.*" Ar gyfer *corbā*, ar ymyl y ddalen, gosodwyd "*tresordy;*" y gair a gyfleodd Dr. Morgan yng nghorff yr adnod, gan ei welläu i *tryssor-dy:* ac wedi hyny, yn 1620, yr Esgob Parry a'i newidiodd i *drysorfa;*" felly y mae eto yn parhau. Ar gyfer y gair *pererinion*, ni osododd W. S. lai na phedwar o eiriau cyfystyr ar ymyl y ddalen, fel na byddai trigolion un parth o Gymru mewn tywyllwch am arwyddocâd gair anghynnefin. Y pedwar gair ar gyfer *pererinion* oeddynt—"Ospion, dieithreit, estronion, alltudion." O'r esboniadau ar ymyl y dalenau, y dewisai y Dr. Morgan ei eiriau yn fynych yn lle rhai anghyfiaith neu drysglion yng nghorff yr adnod: ac yma efe a etholodd yr eil-air—"*yn gladdfa dieithriaid.*" Diwygiwyd y gair diweddaf gan yr Esgob Parry yn 1620 i'r dull y mae genym yn awr.

3. *Taw* sydd air sathredig ym Morganwg, a chyfystyr â'r cyssylltair *mai* yng Ngwynedd, &c. Yng *Ngeiriadur* Dr. O. Pughe, dan y gair *Taw*, dyfynir cyfieithiad Wm. Salsbri (*Luc*, xxiii. 7). "Pan wybu *taw* o gyfoeth Herod yr hanoedd." Nid cywir y dyfyniad. "Pan wybu *mae* o gyfoeth Herod" a ysgrifenodd W. S.—gan roddi *taw* ar gyfer, ar ymyl y ddalen, i gyfarwyddo trigolion glanau *Taw*, *Tawy*, *Taf*, ac *Eleirch*, &c. Ni wahaniaethai W. S. rhwng y geiriau

*mae* (berf) a *mai* (cyssylltair), mwy nag y gwnai amrai ereill mwy diweddar, ïe, mor ddiweddar a doe.

Tybiaf nad oes angen helaethu argoelion i wirio mai dyben penaf W. Salsbri a'i gyd-lafurwyr, yn arferyd geiriau ac ymadroddion Gwenhwysaidd, oedd i wneyd eu cyfieithiad mor ddealladwy a buddiol ag y medrent *i bawb*, *ym mhob bro* Gymreig.[1]

Yn fy nesaf, af ym mlaen at Feibl y Dr. Morgan, a argraffwyd yn y fl. 1588.

---

## RHIF. VII.

Y CYMMWYNASWR nesaf i genedl y Cymry, yng nghyfieithiad yr Ysgrythyrau, oedd y Dr. *Wiliam Morgan*, gwr o enedigaeth a magwraeth o Wybernant, ym mhlwyf Penmachno, yn swydd Gaernarfon. Arwyddfeirdd a olrheiniant ei achau o Nefydd Hardd, llwyth Nanconwy. Ond nid ydyw yn ymddangos bod ei dylwyth ef wedi dala eu treftadaeth, o herwydd y dyraniad parhäus rhwng brodyr o oes i oes, fel y diarebir—"o flewyn i flewyn fe ä y llwdn yn llwm." Yr oedd gan Syr John Wynn o Wydir afael ewin eryraidd ar Wybernant y pryd hyn. Pa fodd bynag cafodd Wiliam Morgan ei wreiddio mewn dysgeidiaeth yn ei febyd; a graddiwyd ef yn D.D. (Dysgawdwr Duwinyddiaeth) yng Ngholeg St. Ioan yng Nghaer Grawnt. Gwedi ei urddo yn offeiriad, cafodd, ym mhen ennyd, ficariaeth y Trallwng ym Mhowys, yn y fl. 1575; ac ym mhen tair blynedd symmudwyd ef i Lanrhaiadr ym Mochnant. Anhawdd yn y dyddiau

[1] [Yn *Llythyraeth yr Iaith Gymraeg*, Rhaglith, t. 7, 8, y mae Golygydd y gwaith hwn wedi awgrymu rheswm arall a gwahanol, pa ham y mae y cyfieithad Cymreig o'r Ysgrythyrau yn dwyn cymmaint o nodwedd y Ddeheubartheg.]

hyny oedd i offeiriadau selog tros ddaliadau ac athrawiaethau y Diwygiad ddianc heb enllib a rhagfarn penaethiaid pabaidd eu plwyfau, am eu bod yn traethu iddynt wirioneddau annerbyniol. Ac ni allodd y Ficar Morgan ochelyd "dryganiaeth anwydau" ei blwyfolion; canys dirprwyasant wysiad iddo ymddangos yn llys archesgob Caergaint (Dr. Whitgifft) i ateb drosto ei hun. "Nid gwaeth cywir er ei chwilio." Cafwyd y ficar yn ddieuog o'r achwyniadau a ddygwyd yn ei erbyn: a mwy na hyny, yr archesgob pwyllog a'i hoffodd herwydd ei ddysg a'i ymarweddiad; ac yn ol mynych ymddyddan ag ef ar bynciau crefyddol, a deall ei fod ef eisys gwedi cyfieithu *Pum Llyfr Moses* i'r Gymraeg, efe a'i hannogodd ef i fyned ym mlaen yn y gwaith angenrheidiol a chanmoladwy. Rhodder yma ddyfyniad allan o lythyr Lladin y Cyfieithydd at y Frenines Elisabeth, yr hwn a argraffwyd o flaen y Bibl yn 1588, ac a gyhoeddwyd yn Gymraeg gan Mr. Charles Edwards yn ei lyfr a elwir *Hanes y Ffydd Gristionogol*, yr hwn lyfr a gyhoeddwyd (y 6ed argraffiad) gan y Parchedig Dr. P. Wiliams o Lan Bedrog, yn y fl. 1822. Rhan o Gyffes y Cyfieithydd at y Frenines sydd fel y canlyn:—"Wrth weled mor llesol ac angenrheidiol ydoedd cyfieithu yr Ysgrythyrau ereill (sef yr Hen Destament) i'r Gymraeg (er i adgof o'm gwendid fy hun, a maintioli y gorchwyl, *a dryganiaeth rhai anwydau*, fy nigaloni yn hir) gan gydsynio â dymuniadau y duwiol, goddefais fy annog i ymosod ar y gwaith poenus hwn, a gwaith *tra anghymmeradwy* i lawer. Ac wedi ei ddechreu, diffygiaswn, o ran anhawsdra y gwaith, a maintioli y gost, ac ni ddygaswn onid *Pum Llyfr Moses* yn unig yn barod i'r Wasg—oni buasai i'r Parchedicaf Archesgob Caergaint, achleswr dysgeidiaeth, amddiffynwr y gwirionedd, *a thirion wrth ein cenedl ni*, fy nghynnorthwyo â'i haelioni—â'i awdurdod—ac â'i gynghor i fyned ym mlaen. Ar ol ei siampl ef, aeth gwŷr da ereill yn gynnorthwyol i mi, hyd oni chyfieithiais yr *Hen Destament* i gyd, ac y diwygiais argraffiad y Newydd."

Yn niwedd ei lythyr, gosododd y Dr. Morgan enwau ei gynnorthwywyr a soniasai am danynt uchod—sef esgobion Llan Elwy a Bangor; y Dr. Gabriel *Goodman* (*"vir re et nomine valdè bonus"*), deon Westminster, genedig yn nhref Ruthyn, a seilydd yr Ysgol fawr yno; y Dr. Dafydd Powel, ficar Rhiw Fabon; y dysgawdwr godidog Edmwnt Prys, archdiagon Meirionydd; a'r Dr. Richard Fychan, gwr o'r un wlad o enedigaeth, ac o'r un goleg yng Nghaer Grawnt, â'r cyfieithydd Morgan. R. Fychan a lwyddodd mewn dyrchafiad eglwysig, gan fyned, o fod yn gapelydd i'r frenines, yn esgob Bangor—Caerlleon—a Llundain, olynol: "ond," medd Granger, "nid oedd ei sefyllfa yn uwch na haeddiant ei ddoniau."

Yr oedd y llywodraeth wladawl, ac esgobion Cymru, wedi annog Wiliam Salsbri i gymmeryd mewn llaw gyfieithiad y Testament Newydd: ond nid ymddengys i neb o'r awdurdodau goruchel osod y Dr. Morgan ar waith, cyn iddo gyfieithu Pum Llyfr Moses o'i reddf ei hun, a dymuniad duwiolion gwladaidd—a chael ei wysio i amddiffyn ei gam ger bron yr archesgob. Yn y gwysiad maleisus hwn, nis gallwn weled llai na threfniad Rhagluniaeth goruwch-lywodraethawl yn peri i "gynddaredd dyn foliannu Duw" heb ei amcanu. Fel y bu gwerthiad Ioseph i'r Ismaeliaid gan ei frodyr cenfigenus, yn y canlyniad gwyrthiawl, yn foddion i eu cadw hwynt, y brodyr dideimlad hyny, a miloedd ar filoedd ereill, yn fyw, yn ysbaid y saith mlynedd newyn: felly hefyd, oni buasai i "gecri" ei blwyfolion yru y Dr. Morgan i Lundain i amdiffyn ei gam, a thrwy hyny roddi i'r archesgob (Whitgifft) gyfleusdra i ddeall ei ddoniau, ac i wybod y gorchwyl llesol oedd ganddo mewn llaw—ym mhob tebygoliaeth dynol, gallasai y Dr. Morgan fyw a marw yn *ficar Llanrhaiadr;* ac o'i ddigalondeb, a'i anallu ef i ddwyn y draul o argraffu, buasai y Bibl Cymraeg cyntaf heb ei gyhoeddi am flynyddoedd yn hwy nas gallwn ddyfalu eu rhifedi. Ond Awdwr a Chynnaliwr Rhagluniaeth a droawdd "gecri" rhyw ychydig nifer o drigolion *un*

plwyf, i fod er bendith i filoedd drwy *bob* plwyf yn y Dywysogaeth.

Yr Hen Destament o'i gyfieithiad ef, a Thestament Newydd W. Salsbri, o'i ddiwygiad ef, a gyhoeddwyd yng nghyd yn un *Bibl*, yn y flwyddyn 1588, un mlynedd ar hugain o angen a newyn ysbrydol, wedi cyhoeddiad y Testament Newydd cyntaf, yn y fl. 1567. Er bod y Dr. Morgan, pan ddechreuodd ei lafur hirfaith, yn edrych yn uwch "am daledigaeth y gwobrwy," nag at unrhyw gynneilyddion coronau a theyrnwiail daiarawl; eto ni ymddygodd mor annynol a gwrthod y dyrchafiadau eglwysig a gynnygiwyd iddo yn ebrwydd wedi cyhoeddiad ei Fibl. Cafodd ei gyssegru yn esgob Llan Daf yn y fl. 1595, a'i drosglwyddo oddi yno i Lan Elwy yn y fl. 1601, ond nid er mwy tangnefedd meddwl iddo; canys Syr John Wynn o Wydir a fu yn "ddraen yn ei ystlys" tra bu byw, ac ni bu hyny yn hir. Y cadnaw hwnw a dybiodd y gallai gael elw manteisiol, os medrai gymhell yr esgob newydd yn Llan Elwy, drwy deg neu hagr, i ganiatäu iddo gymmeriad *(lease)* ar ddegymau plwyf Llanrwst (lle agosach at Wydir na gwinllan Naboth at balas Ahab) dros dair o oesau, ac am 40 punt yn y flwyddyn! A chan i'r esgob ymddwyn yn esgobawl, y marchog a ffromodd yn anfoneddigaidd hynod, fel y deallir wrth lythyrau y ddau, a gyhoeddwyd gan Mr. Yorke o Erddig, yn ei Bum-llwyth Breninawl *(Five Royal Tribes)* yn y fl. 1799.

Hunodd yr esgob llafurus gyda'i dadau y 10fed o Fedi, 1604, yn Llan Elwy, heb eistedd onid tair blynedd yng nghadair Asa; a chladdwyd ef dranoeth yng Nghôr yr Eglwys Gadeiriawl: ond er ei *farw* a'i *gladdu* yn ddiaddurn, heb na maen na mynor, na chywydd nac englyn, i goffäu ei enw peraidd—y mae efe yn *llefaru* eto yn Gymraeg loew ym mhob adnod o'r Bibl.

Bu Syr John Wynn byw 22 o flwyddau yn rhagor, ac wedi bod yn llwyddiannus yn y byd—wedi amlhau golud—gorfu arno yntau adael y gweddill i'w blant.

Chwedlau Nanconwy a ddywedent gynt na ddaeth brenin dychryniadau yn dangnefeddus ato—ond bod ysbryd y marchog yn ymdrochi yn beunosawl, os nad yn beunyddiawl, dan *Bistyll Rhaiadr y Wennol!*—ond pe disgynai arno ffrwd yr afon Gonwy ar lifeiriant, ac o uchder *Crib y Ddistyll*, ni byddai effeithiol i newid lliw Ethiopiad, er bod ei enw yn *Wynn!*

Af ym mlaen yn y llythyr nesaf i sylwi ychydig ar lafurwaith yr esgob.

---

## RHIF. VIII.

### SYLWIADAU AR GYFIEITHIAD Y BIBL CYMRAEG, GAN Y DR. MORGAN—A ARGRAFFWYD YN Y FL. 1588.

Yr oedd Testament Newydd Wiliam Salsbri, er mor ddigaboledig yr iaith, yn drysor ammhrisiadwy i ein cyndeidiau yng Nghymru; er hyny yr oeddynt eto yn fyr o'r Salmau a'r Prophwydi yn yr Hen Destament, i gadarnhau eu ffydd yn y "Gwr gofidus a chynnefin â dolur." Y Dr. Morgan a welodd y diffyg, a'i effeithiau ar ei gydwladwyr anwybodus. Nid oes hysbysrwydd iddo gael ei osod ar waith i gyfieithu gan un o'r awdurdodau goruchel mewn gwlad nac eglwys; er bod y rhai hyn, er teyrnasiad y Brenin Edward VI, wedi cryn ddigoni trigolion Lloegr â nifer o argraffiadau y Bibl yn Seisneg; y cyfieithwyr dysgedicaf wedi eu hethol, a rhan pob cyfieithydd wedi ei benodi, a'r Senedd wedi neillduo mil o *forciau*, agos i saith gant o bunnau, tuag at draul cynnaliaeth y cyfieithwyr tra byddent ar waith. Ond ni ofalwyd felly tros *Gymru* ddarostyngedig; ac nid rhy eofn yw tybio nad oedd y llywodraethwyr, yn gyffredin, yn gweled yr angenrheidrwydd o gadw yn fyw chwaneg nag un dafodiaith

ym mhlith trigolion yr un ynys, a deiliaid yr un goron. Ni ddymunai yr ysbryd caethiwol hwn lai na chwbl ddiddymiad yr iaith Gymraeg oddi ar fynyddoedd yn gystal ag oddi ar ddyffrynoedd y Dywysogaeth. A chanfyddir i'r un ysbryd hir barhau yn ei rym i ddirgel weithio: y mae yn awr wedi heneiddio a gwanhau, ond y mae efe eto yn fyw.

Ond nid felly y gofalodd y Penbugail am ei braidd; yr Hwn a fynai i'w Air gael ei lefaru ym mhlith pob llwyth a chenedl, fel y darllenent yn eu hiaith briodol eu hunain "fawrion weithredoedd Duw." A chan dosturio wrth ein cenedl, Efe a gyfododd offeryn, ac a'i gwnaeth yn ufudd ac yn gymhwys i'r gwaith; heb gymhelliad nac addewid gwobr gan neb rhyw ddyn pa bynag. Sylwyd yn fy llythyr diweddaf i'r Dr. Morgan gael ei wysio i lys archesgob Caergaint i ateb i gyhuddiadau ei enllibwyr. Hyn, drwy drefn Rhagluniaeth, a droed yn fendith iddo ei hun ac i'w gydwladwyr; canys cafodd achlysur i ddangos ei gyfieithiad o Bum Llyfr Moses i'r Deon Gabriel *Goodman* ("*vir* valdè *bonus*"), a hwnw a'i gosododd ger bron yr Archesgob Whitgifft. Y gwyrda hyn, ac ereill, a'i cymhellasant i beidio â throi ei wyneb yn ol, gwedi iddo unwaith roddi ei law ar yr aradr efengylaidd. Hyn a'i cefnogodd, trwy gynnorthwyon amrai wŷr dysgedig, i gyfieithu yr holl Hen Destament, ac i ddiwygio yn gelfydd y Testament Newydd o gyfieithiad blaenorol W. Salsbri; ac felly i argraffu y Bibl cyfan, a'r cyntaf yn Gymraeg, yn y fl. 1588. A rhaid i bob ieithydd dysgedig a chywir-farn, a gymharo gyfieithiad y Dr. Morgan â'r ieithoedd gwreiddiol, a chyfieithiadau mewn ieithoedd ereill, gyfaddef ei fod ef yn gyflawn gymhwys i gymmeryd arno y fath orchwyl pwysig.

Can nad ydwyf fy hun yn "Hebrëwr o'r Hebreaid," gofynaf genad, ar yr achos presennol, i sefyll ar ysgwyddau gwr arall, a dir yw bod y gwr hwnw yn Gymro.

Y Dr. Thomas Llewelyn oedd o enedigaeth o Ben

yr Alltau Isaf, ym mhlwyf Gelli Gaer, yn swydd Forganwg, ac am nifer o flwyddau yn weinidog yr Efengyl ym mhlith y Bedyddwyr Sabbatariaidd, y rhai a elwid felly am eu bod yn sancteiddio eu Sabboth ar y seithfed dydd, yn yr hwn "y gorphwysodd Duw oddi wrth ei holl waith." Ond pa fath bynag oedd ei ddaliadau, gwr o ddoniau a chynneddfau canmoladwy ydoedd, ac yn haeddu parch i'w enw gan ei wlad a'i genedl tra byddo dau Gymro yn medru ymddyddan â'u gilydd yn eu hiaith gynhenid. Yr oedd iechydwriaeth eneidiau yn un o'r pethau nesaf at ei galon, fel yr ymddengys wrth ei ymdrechiadau i gael mwy o Fiblau Cymraeg yn rhodd neu ar werth ym mhlith ei wladwyr. Un o'r penaf o'i gyhoeddiadau oedd Traethawd Hanesawl (yn Seisneg) ar holl argraffiadau yr Ysgrythyrau yn Gymraeg, y prinder dirfawr o honynt yng Nghymru, a'r angenrheidrwydd o ddiwallu y newyn ysbrydol. Tybir i'r Traethawd nerthol a Boanergaidd hwn gyffroi haelioni y Gymdeithas er Cynnyddu Gwybodaeth Cristionogawl, i brysuro argraffiad newydd o ddeng mil o Feiblau Cymraeg wythplyg yn y flwyddyn ganlynol i gyhoeddiad y Traethawd, sef yn y fl. 1769. Yn y Traethawd ardderchog hwn, gan son am y Bibl Cymraeg cyntaf yn 1588, dywed yr awdwr (tudal. 58) fod y Dr. Morgan yn ysgolhaig drwyddo, ac yn ddysgedig yn ieithoedd gwreiddiol y ddau Destament. "Nis gallaf (medd yr awdwr) ddarllen y pennod cyntaf o *Genesis* yn *Hebryw* a *Chymraeg*, heb benderfynu yn ebrwydd fod y Dr. Morgan yn gyflawn addas i'r gwaith a gymmerodd yn llaw, ac iddo gyfieithu yn ddigyfrwng yr Hen Destament allan o'r iaith wreiddiol. Pob beirniad, cymhwys i farnu, a fydd o'r un farn, ond iddo yn unig ddal sylw ar y ddull ymadrodd—'a'r hwyr a fu, a'r boreu a fu, y dydd cyntaf,' &c. *adn.* 5, 8, 13, &c. Yn yr adnodau hyn, ac amrai ereill yn yr Hen Destament, y mae y Gymraeg yn debycach i'r Hebraeg nag un iaith arall adnabyddus i mi."

Ni buaswn (medd y Dr. Llewelyn) yn sylwi yma ar

efelychiad cystrawen a theithi y ddwy iaith, Hebraeg a Chymraeg, ond er mwyn diheuraw y Dr. Morgan yn erbyn enllib disylfaen un *Ames*, yr hwn, yn ei *Hanesiaeth Argraffyddawl*,[1] a fynai haeru mai allan o'r Seisneg y cyfieithiwyd yr Ysgrythyrau Cymraeg. Rhaid bod Mr. Ames yn ddyledus i ryw *Suddas o Gymro* am y ffughanes a gafodd i sylfaenu ei gau dystiolaeth arno. Y gair *rhwystr*, wrth yr hwn y tramgwyddodd, yw *Crythau*, yn *Dad.* v. 8, o argraffiad y Dr. Morgan yn 1588; ond y cyhuddwr, yn ei gaddug o anwybodaeth, a ddywedai mai yn yr argraffiad 1567 yr oedd y gair. Gosodir yma yr adnod dan sylw allan o'r ddau argraffiad.

*W. S.* 1567: "Ac yr ydoedd gan bob vn o hanynt *telyney* a *phiolæ* aur yn llawn o erogley."

*Dr. M.* 1588: "Ac yr ydoedd gan bob un o honynt *delynau* a *chrythau* aur yn llawn o arogldarth."

Soniwyd eisys bod W. Salsbri yn dal yn rhy gaeth at yr iaith wreiddiol yn fynych yn ei gyfieithiad: ac yma gwelir na newidiodd y gair Groeg *phialai*, ond i *phiolæ* yn Gymraeg. Ond y Dr. Morgan, y Cymro goreu yn ei oes (a'i gyfieithiad ef yw y puraf o barth iaith hyd heddyw), a welai y gair *phiolæ* yn rhy estronawl, ac a'i newidiodd i *grythau* (O! air anhapus!) Clywsai y *Suddas Cymro* son, ym mro ei fagwraeth, am "*grwth* a *thelyn*," ac efe a esboniodd i'r Sais— "*Crwth—feiol—violin—fiddle.*" "Ho!" eb y Mr. Ames, "y mae yn dra eglur mai o'r Seisneg y cyfieithiwyd yr Ysgrythyrau i'r Gymraeg, ac i'r cyfieithydd, yn 1567 (yn lle 1588) gamddeall y gair Seisneg *vials*, a'i droi i *grythau*, enw arall am *feiolau*, offerynau cerdd." Felly, nid oedd gan y Sais na'r Cymro trwstan, yr un deongliad arall i'r gair *crythau* yn yr adnod uchod; ac, osywaeth, nid oedd gan ein gwladwr dysgedig, y Dr. Llewelyn, yr un chwaith yn ei amddiffyniad, er y buasai yn ddywenydd ganddo gaffael un. Y mae efe, gan hyny, yn difeio W. Salsbri yn

[1] [*Typographical Antiquities*, by Joseph Ames. 4to. London, 1749.]

ebrwydd, gan na soniasai efe am *grythau:* ond nid oedd ganddo esgus gwell dros y Dr. Morgan, na dywedyd mai gair amryfus oedd *crythau*, wedi llithro i'r wasg, na wyddai neb pa fodd! Ond, medd yr ysgrifenydd call yn y *Cambrian Register* (iii. 156), pe buasai y Dr. Llewelyn yn ddyfnach Cymro, efe a welasai fod y gair *crythau* nid yn unig yn Gymraeg diledryw, ond hefyd yn gymhwys i'w sefyllfa yn yr adnod, o barth ei arwyddocâd. *Crw—crwth;* yn fanywaidd, *croth:—crw—crwm—cryman. Crwth cerdd, crwth halen. Crwth*, felly, yw unrhyw *lestr* neu *flwch* o gynnwysiad. Un blisgyn wy a wnai ddau *grwth*, ond ei drychu yn ei hanner. *Crwth* yw pob maneg ellyll yn cynnwys blawd y ffion. *Crythau* (o ran eu llun) oedd *thuserau* Corah a'i holl gynnulleidfa; a *chrwth* oedd *thuser* Aaron, yn llawn o arogldarth, pan safodd rhwng y meirw a'r byw: a pha ham, gan hyny, nad *crythau* oedd *phialau* St. Ioan yn y Dadguddiad? Y mae yr un ysgrifenydd yn fflangellu awdwr arall o Sais, a hwnw yn ddim llai gwr na Phrif-fardd y Gadair farddonawl yn Rhydychain, yr enwog Domas Warton, yr hwn, yn ei *Hanes Prydyddiaeth Seisnig*, a ail dwymodd gawl dwr Ioseph Ames, sef chwedl y *crythau*, heb gyfaddef o ba le y cawsai y ffughanes. Ond nid hawdd i chwilenwr guddio yr hyn a fenthycia yn lledradaidd oddi ar arall. Ames, yn ei floddest, a gamlythyrenasai y gair anhapus *crythau*, gan ei ysgrifenu *crythan*. A pha beth a allai Cadeirfardd Rhydychain wneyd amgen, can na welasai yr adnod Gymraeg erioed, ond ysgrifo *crythan* hefyd! Ni buasai waeth i'r ddau, yr awdwr a'r benthyciwr, ysgrifenu *ysguthan.* Yr Esgob Parry, yn ei ail argraffiad o Fibl y Dr. Morgan, wedi ei ddiwygio mewn llawer o fanau, yn y fl. 1620, a newidiodd y gair *crythau* yn *Dad.* v. 8. i *phialau*—y Groeg-air cyntefig gan W. Salsbri.

I wirio yn helaethach mai allan o'r *Hebraeg* y cyfieithodd y Dr. Morgan yr Hen Destament, gellid dyfynu llaweroedd o dystiolaethau, drwy y cyffelybiaeth amlwg rhwng y ddwy iaith yn eu priodol ddulliau

ymadrodd, y rhai ni chydweddent ond yn drwsgl â'r Seisneg; ac felly *dir yw* mai allan o'r iaith wreiddiol y cyfieithwyd y Bibl Cymraeg cyntaf. Gweler yma rai enghreifftiau, a barned y *Gwyliedydd* diduedd.

*Gen.* xliv. 28.—"Gan larpio y llarpiwyd ef." Dybliad y gair, megys sicrhâd pendant, sydd hanfodol i'r Hebraeg; ac yn y Gymraeg fe'i dilynir yn llythyrenol. Yn y Bibl Seisneg 1589, yr hynaf yn fy meddiant, y ceir—"*of a surety he is torn in pieces;*" ac ym Mibl y Brenin Iago I, 1603, cynllun y Biblau Seisneg presennol—"*surely he is torn in pieces. Ecs.* xix. 13: "Gan labyddio llabyddier ef, neu gan saethu saether ef." —"*He shall be stoned to death, or striken thorowe with darting*"—1589. "*But he shall surely be stoned, or shot thorow*"—1603, &c. *Ecs.* xxi. 20: "Gan ddial dialer arno." 22: "Gan gospi cosper ef." Yn y ddwy adnod hyn, y cyfieithiad Seisneg yw—"*he shall be surely punished*"—heb wahanol eiriau cyfatebol i "ddial" a "chospi." Gan feithed fy llythyr, rhaid lleihau nifer y dyfyniadau: a bydded yr ychydig a ganlyn yn ddigon: —"Gan brynu y pryni"—"gan anghofio yr anghofi"— "gan ddyfetha y'ch dyfethir"—"gan ddyfod y daw"— "gan fyw y bydd efe byw"—"gan farw y byddi farw" —"gan fwyta y gelli fwyta"—yn Seisneg—"*thou mayest freely eat.*" Y mae priodol eiriau, yn gystal a dulliau ymadrodd, yn gwirio pa iaith yw mamiaith y Gymraeg yn y Bibl: megys *Gen.* xxix. 1: "Ac Iacob a gymmerth ei draed." Yn Seisneg—"*And Jacob went on his journey*"—ac ar ymyl y ddalen—*Hebr.* "*lift up his feet,*" yn gytunol â Chymraeg y Dr. Morgan; ond y Dr. Parry, yn ei argraffiad 1620, a'i newidiodd i "Ac Iacob a gymmerth *ei daith.*" Y mae *cymmeryd y traed* yn ddywediad cyffredin—a *chymmeryd y carnau*, pan fyddo yr euog yn ffoi.

Ewyllys y Dr. Morgan, yn gystal a'i flaenor W. Salsbri, oedd cyfieithu yn y cyfryw iaith ag a fyddai fwyaf dealladwy yn holl barthau Cymru. *Sach* sydd air cyffredin yn rhai manau am *ffetan;* mewn parthau ereill, ni ŵyr y *Ffetaniaid* pa beth yw *sach.* Yn *Gen.*

xliv. 11. y gwelwn "bob un ei sach"—"bawb ei ffetan." *Sack* yw y ddeu-air yn y Seisneg.

O'r Groeg hefyd y cyfieithwyd y Testament Newydd; canys y mae y Gymraeg yn cydweddu â'r iaith wreiddiol yn well na'r Seisneg mewn llawer o fanau. Bydded digonol yr ychydig a ganlyn.—

*Math.* vii. 25.—"Ac a *ruthrasant* ar y ty hwnw"—Gr. προσέπεσον. Seisneg, "and *beat* upon that house." *Math.* vii. 27: "Ac a *gurasant* ar y ty hwnw." Gr. προσέκοψαν. Seisneg—"and *beat* upon that house—" eto. *Math.* xvi. 9: "Pa sawl *basgedaid*"—Gr. κοφίνους. Seisneg, *baskets.*—Adn. 10.—"pa sawl *cawellaid*"—Gr. σπυρίδας. Seisneg, *baskets*—eto. Pe cyfieithasid o'r Seisneg, ni soniasid am "*cawellaid*" yn y 10fed adnod. Yn y wreiddiaith cyfyngir κοφίνους i friwfwyd y pum mil, mewn chwech o fanau; a σπυρίδας i weddillion y pedair mil, mewn pedwar o fanau yn y pedair Efengyl. Nid yw y Gymraeg chwaith yn cyfartalu yn hyn, canys yn y deg adnod y mae *basgedaid* mewn naw o fanau, ac ni cheir *cawellaid* onid unwaith.

Y mae gosodiad dilynol geiriau mewn adnod, yn gwirio ym mhellach famiaith cyfieithiad. *Marc*, xi. 10: Gr. "Εὐλογημένη ἡ 'ερχομένη βασιλεία 'εν 'ονόματι Κυρίου τοῦ πατρὸς ἡμῶν Δαβίδ."[1] Cymr.: "Bendigedig yw y deyrnas sydd yn dyfod yn enw Arglwydd ein Tad Dafydd." Seisn.: "*Blessed be the Kingdom of our Father David, that cometh in the name of the Lord.*" Nid yw y Seisneg nac yn gyfrestrawg, nac yn llwyr gyfystyr â'r Roeg a'r Gymraeg. Cyfieithiad Bibl y Brenin Iago (fel y gelwir) yw hwn. Y mae Seisneg y Bibl 1589, yn llawer mwy cydweddol—"*Blessed be the kingdom that cometh in the name of the Lord of our father David.*"

Fe allai y rhoddir chwaneg o'r fath enghreifftiau o'r Bibl Cymraeg yn fy llythyr nesaf, cyn dechreu sylwiadau ar y Bibl a argraffwyd yn niwygiad yr Esgob Parry yn y fl. 1620.

[1] [Y mae y Testamentau Groeg yn amrywio peth yn eu darlleniadau o'r adnod hon.]

## RHIF. IX.

### SYLWIADAU AR AIL ARGRAFFIAD Y BIBL CYMRAEG YN Y FL. 1620.

DILYNYDD digyfrwng y Dr. W. Morgan yng nghyfieithiad a chyhoeddiad y Bibl Cymraeg, yn gystal ag ar y fainc esgobawl yn Llan Elwy, oedd y *Dr. Richard Parry*, mab hynaf neu etifedd John Parry, Yswain, o Bwll Halawg, yn swydd Ddinbych—tylwyth boneddigaidd, o gyff-ach Bleddyn ab Cynfyn. Ganwyd ef yn nhref Rhuthyn, a chafodd ei ddwyn i fyny mewn dysgeidiaeth dan addysg yr hanesydd enwog Wiliam Camden, yn Ysgol Westminster. Pan oedd yn 19 mlwydd oed, etholwyd ef yn Efrydydd Eglwys Crist ym Mhrif Athrofa Rhydychain. Gwnaed ef yn ganghellydd Bangor yn 1592—ficar Gresfford, a deon Bangor yn 1599. Yn y fl. 1595 sylfaenwyd Ysgol fawr Rhuthyn, drwy syberwyd haelionus y Deon Goodman. Y prif athraw cyntaf ynddi oedd y Parch. Robert Gruffydd; yr ail oedd y Dr. Richard Parry; y trydydd oedd y Parch. Gabriel Powel, mab yr hanesydd Cymreig, y Dr. Powel, ficar Rhiw Fabon. Cyssegrwyd y Dr. Richard Parry yn esgob Llan Elwy ar farwolaeth y Dr. Morgan, yn y fl. 1604. Cyhoeddodd yr ail argraffiad o'r Bibl Cymraeg, yn y fl. 1620, yn llyfr helaeth unplyg, a chyda yr hen lythyrenau duon, fel y Bibl a'r Testament rhagflaenol gan y Dr. Morgan a Wm. Salsbri; a thybiaf mai hwn yw y llyfr Cymraeg diweddaf a argraffwyd yn yr egwyddor afluniaidd hòno.[1]

[1] [Cyhoeddwyd argraffiad pedwarplyg o'r *Llyfr Gweddi Gyffredin*, yn Llundain, yn 1664, ac ail argraffiad o Gyfieithad Morus Cyffin o *Ddiffyniad Ffydd Eglwys Loegr*, yn Rhydychain, yn 1671, yn y llythyren ddu; ac hwyrach bod rhai llyfrau diweddarach wedi ymddangos ynddi.]

Gellid dyfalu bod dau achos yn annog yr Esgob Parry i gyhoeddi ail argraffiad o'r Bibl: yn gyntaf, prinder y Llyfr gwerthfawr yn y Dywysogaeth, gan nad oes sail i dybio bod rhifedd yr argraffiad cyntaf yn y fl. 1588, yn fwy na rhif y plwyfau yng Nghymru, os oedd yn gynnifer: yn ail, bod yr esgob, a'i gyd-ysgolhaig, a'i gyd-frawd yng nghyfraith, y Dr. Davies o Fallwyd, yn gweled angenrheidrwydd llyfnhau yr ymadrodd, a diwygio cystrawen yr argraffiad cyntaf. Rhy helaeth oedd y Dr. Morgan yn gyffredin o'r geiriau—*yna*, *felly*, *gan hyny*, &c., yn enwedig yn nechreuad adnodau, y pryd na thybiwyd yn angenrheidiol bod mwy na'r cyssylltair *a*, i gydio yr adroddiad. Rhoddir yma ddau neu dri o enghreifftiau yn lle cant.

*Gen.* xlii. 3. "*Yna* dec o frodyr Ioseph"—1588. "*A* dec brodyr Ioseph"—1620.

*Gen.* xliii. 15. "*Felly* y gwyr a gymmerasant yr anrheg"—1588. "*A'r* gwyr a gymmerasant yr anrheg" —1620.

*Gen.* xli. 17. "Pharao *gan hynny* a ddywedodd" —1588. "*A* Pharao a ddywedodd"—1620.

*Gen.* xl. 10. "Ei gwrysc hi oeddynt addfed [eu] grawnwin"—1588. "Ei grawnsyppiau hi a ddûg rawnwin addfed"—1620.

*Gen.* xli. 5. "Efe a gyscodd hefyd ac a freuddwydiodd"—1588. "Ac efe a gyscodd, ac a freuddwydiodd" —1620.

Tybir mai yr achos penaf am y gwahaniaeth a welir yng nghystraweniad y ddau argraffiad ydyw, bod y Dr. Morgan wedi dal yn gaethach at ddulliau a nodweddiadau yr ieithoedd gwreiddiol na'i ddilynwyr; a'u bod hwy wedi cymmeryd y rhyddid i Gymreigeiddio ei Hebraegiadau ef; fel y gwelir yn—

*Gen.* xli. 40. "Tydi a oruwchwili fy nhy i, ac ar dy fin y cusana fy mhobl oll"—1588. "Tydi a fyddi ar fy nhŷ, ac wrth dy air di y llywodraethir fy mhobl oll"—1620.

Newidiwyd trefn a sefyllfa geiriau ambell adnod gyfa, gan y diwygwyr; mewn manau eraill, gosodent

air cymhwysach yn lle gair a dybient yn anaddas, megys *celaneddau*, yn lle *burgynnod*, yn *Gen*. xv. 11. Yn *Iob*, xl. 15, y Dr. M. a drodd *behemoth* yn *eliphant:* (ond *pen*. xl. *adn*. 10, ydyw yn ei ddosbarthiad ef). Yr oedd y dysgedigion gynt, gan mwyaf, o'r un dyb ag ef; ond yn yr argraffiad 1620, adferwyd yr enw cyntefig, *behemoth*, fe allai o herwydd y dadleuon oedd ar droed. Ym mhen amser, *Bochart* ddysgedig, yn ei waith rhagorol, *Critica Sacra*,[1] a'i gwnaeth bron yn ddiammheuol mai y march afon (*hippopotamus*) ydyw y behemoth, a *chrocodil* yr afon Sihor, &c., yw y *lefiathan;* creaduriaid cedyrn ac ofnadwy, rhy adnabyddus yn ardaloedd creision y dwyreinfyd, lle yr oedd Iob a'i gyfeillion anghysurawl yn cyfanneddu. Dichon y *Mildraethodydd*,[2] pan ddeffry o'i gwsg, osod ger bron darllenyddion y *Gwyliedydd*, pa mor gytunol yw anian a theithi y gwylltfilod hyn â'r darluniad cywrain a roddir o honynt yn *Iob*, xl. ac xli.

Y Dr. Morgan, yn narluniad y behemoth, a gyfieithodd *Iob*, xxxix. 18 o'i ddosbarthiad ef (ond *pen*. xl. *adn*. 23, ydyw yn nosbarthiad y Dr. Parry, a'r Biblau presennol) fel hyn:—"Wele efe a orthrymma afon [fel] na phrysuro hi i [redeg] efe a obeithie y rhuthre Iorddonen iw safn ef"—1588.

Y Dr. Parry a'i newidiodd, yn fwy cytunol â'r Seisneg, &c., fel hyn:—"Wele, efe a ŷf[3] yr afon [ac] ni phrysura, efe a obeithiai y tynnai efe yr Iorddonen i'w safn"—1620. Bochart a gyfieithodd yr un adnod fel hyn:—"Wele, er gwasgu o'r ffrwd-lif arno, ni ddychrynir ef: bydd efe yn ddigyffro pe rhuthrai Iorddonen yn erbyn ei safn."

Y rhagoriaeth mwyaf rhwng y ddau gyfieithiad Cymreig ydyw hyn: y Dr. Morgan a ddychymmyga,

[1] [Tebygol mai yr *Hierozoicon* a olygir, gan na chyhoeddodd Bochart waith o'r enw *Critica Sacra*.]

[2] [Dan y pen neu enw hwn yr ymddangosai erthygl ar hanes creaduriaid, o fis i fis, ac o flwyddyn i flwyddyn, yn y *Gwyliedydd*. Priodolir yr erthyglau hyn, gan mwyaf, i'r diweddar Barch. Rowland Wiliams, A.C., periglor Ysgeifiog.]

[3] Heb. *dreisia*.

gan faint y behemoth, a'i awydd i yfed, ei fod yn ddigonol i luddias ffrwd yr afon i lifo—"Ni phrysura hi"—nid ä yn ei blaen. Y cyfieithiad Seisneg a edrydd—na phrysura y *behemoth*, o herwydd ei nerth a'i eofnder. Y Dr. Parry, &c., megys wedi cloffi rhwng dau feddwl, a gyfieithodd yn y cyfryw ddull fel ag y gellir cymhwyso y gweithrediad nacaol ("ni phrysura") naill ai at y *behemoth*, ai at yr *afon*. "*Efe* a ŷf yr afon [ac] ni phrysura"—ni phrysura y *behemoth* rhag ffrwd a llifeiriant yr afon; neu, ni phrysura yr *afon* lifo gàn gorff a llwnc yr anghenfil. Gan mai yn awenyddol, neu yn ol rheolau barddoniaeth yr Hebreaid, y cyfansoddwyd y darluniadau gorchestol a gynnwysir yn y pennodau hyn, i'm tyb i, y Dr. Morgan a rydd y dychymmyg mwyaf awenyddol, gan ei fod yn priodoli (ar yr achlysur dan sylw) *ammhrysurdeb* i'r elfen difywyd, sef yr *afon*. Dymunwn adrodd hyn gyda mwy o wylder, o herwydd fy sefyllfa anfeddiannol o'r *Septuagint*, y *Vulgate*, a chynnorthwyon ereill—gan fod fy ystafell bron mor ddi-lyfrawg ag un Dewi Wyn o Eifion, fy nghymmydog.

Rhaid cyfaddef, i y dysgawdwyr enwog a anrhegasant y Cymry â'r ail argraffiad o'r Bibl yn y fl. 1620, welläu llawer ar yr argraffiad cyntaf: ar yr un pryd nis gellir haeru bod y cyfnewidiadau *oll* yn welliadau. Gan ein bod eisys ar Lyfr *Iob*, dymunwn dynu sylwiad y darllëydd at *pen.* xxxix. *adn.* 6, lle y sonir am yr "*asyn gwyllt.*"

"[Myfi] yr hwn a osodais yr *anialwch* yn dy iddo; a'r *morfa* yn drigfa iddo ef"—1588. "Yr hwn y gosodais yr *anialwch* yn dy iddo; a'r *diffaethwch* yn drigfa iddo"—1620. Gwelir yma osod *diffaethwch* yn lle *morfa* y Dr. Morgan: nid yw *diffaethwch* ond arallair am *anialwch*, a dichon pob un o honynt fod yn *ddihalenaidd*, yr hyn nid yw *morfa* byth. Y Seisneg am ddiffaethwch yn yr adnod hon, yw "*barren land*," a "*salt places*," ar gyfer yn ymyl y ddalen. Gosododd y Dr. Parry "*halen-dir*" ar ymyl ei ddalen yntau;—pa ham felly y gwrthodwyd *morfa?*

*Num.* xi. 5.—"Cof yw gennym y pyscod y rhai a fwyttawsom yn yr Aipht yn rhad"—1588. "Cof yw gennym y *pyscod* yr oeddym yn *ei fwytta*," &c.—1620. Yma, "*ei fwytta*" a berthyn, nid i bysgod *lawer*, ond i *un* pysgodyn. Y gwall hwn a barhaodd ym mhob argraffiad hyd yr un a gyhoeddwyd yn y fl. 1799: yn hwnw, "*eu* bwytta."[1]

*Salm.* xvi. 6.—"Etifeddiaeth a syrthiodd i mi mewn [lleoedd] hyfryd"—1588. "Y llinynnau a syrthiodd i mi," &c.—1620; ac felly hyd heddyw yn yr argraffiadau ystrydeb. Pwnc a ddadleuir yw hwn, fe allai, ar du y diwygiad.

*Luc*, xxiii. 32.—"Ac fe a ddygwyd dau eraill, y rhai [oeddynt] ddrwgweithredwyr iw rhoi iw marwolaeth gŷdag ef"—1588. "Ac arweiniwyd gyd ag ef hefyd *ddau ddrwg-weithred-wyr eraill*, iw rhoi iw marwolaeth"—1620. Yma, y mae yn dra eglur iddynt waethygu ar gyfieithiad y Dr. Morgan; canys gesyd yr adnod hon ger bron llygad y meddwl fwy na dau ddrwg-weithredwyr yn cael eu harwain i'w dienyddiad! Aeth yr adnod hon drwy y wasg o argraffiad i argraffiad, hyd oni sefydlwyd, yn yr ystrydeb, gan Gymdeithas y Biblau. Ond yn y Testament dwyieithol a argraffwyd yng Ngwasg Clarendon yn y fl. 1826, dan olygiad y Parchedig J. Jones (Tegid), adferwyd yr adnod i eiriadaeth cywirach, fel hyn:—"Ac arweiniwyd gyd âg ef hefyd, ddau eraill, drwg weithredwyr, i'w rhoi i'w marwolaeth." Daeth Testament arall, o'r un wasg, ac o'r un gywirdeb, allan y leni,[2] dan olygiad yr un feirniad cyfarwydd.

1 *Cron.* xii. 8.—Yn yr adnod hon dywed y Dr. Morgan fod y Gadiaid a ymgyssylltasant â Dafydd yn

[1] [Ceir y gwall anafus hwn ym mhob un o'r argraffiadau diweddar y cafodd yr ysgrifenydd gyfleusdra i ymgynghori â hwynt; ac yn eu plith, argraffiad 4plyg hardd y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Gristionogol, Llundain, 1857, yr hwn a arferir yn lled gyffredin yn yr Eglwysi y dyddiau hyn. Cynnwys yr unrhyw argraffiad lawer o wallau dybryd ereill, heb son am anghyssonderau.]

[2] [Hyny yw, 1828. Rhwystrwyd lledaeniad yr argraffiad hwn, am nad oedd y golygydd wedi dilyn llythyraeth yr Esgob Parry!]

ei gyfyngder—"yn wyr milwraidd i ryfel, yn trin *tarian* a *gwaiw-ffon*." Y Dr. Parry a ddywed eu bod "yn medru trin"—nid *tarian a gwaiw-ffon*, ond "*tarian a bwccled;*" hyny ydyw, tarian yn un llaw, a bwccled, neu darian eto, yn y llaw arall! Pe byddai y Rwssiaid, yn yr ymdrech bresennol, yn cael eu harfogi yn ol cyfieithiad y Dr. Morgan, a'r Tyrciaid yn ol cyfieithiad y Dr. Parry, byddai yn hawdd frudiaw pwy a ennillai y fuddugoliaeth. Cyn i *Eiriadur* y Dr. O. P. ymddangos, yr oeddwn o'r farn mai o'r Seisneg *buckler* yr hanyw *bwcled*—y Seisneg o'r Ffrangaeg *bouclier*—ac yntau, ond odid, o'r Lladin gwladaidd *bucularium*, *bucula*, sef *bogail* y darian. Arfau *amddiffyn* ydyw *tarian*, *bwcled*, ac *astalch*, i'w harfer ag un llaw; ac ni byddai y Gadiaid, na neb ereill, "yn wŷr milwraidd," i lwyddo mewn rhyfel, heb arfau *niweidiol—cleddeu* neu *waewffon*, yn y llaw arall. Sylwer yma ar ystyr y gair *astalch*, a arferir mewn llawer o fanau yn y Bibl —o'r cyntaf yn 1588 hyd y flwyddyn hon: *aes* a arwyddocâ darian—ac *aesdalch* yw tarian gwedi ei churo yn *dalch*, yn ddarnau, gan ddyrnodiau galon.

Yn *Gen*. xxvii. 45, lle mae Rebecca yn cynghori ei mab Iacob i ffoi i Haran, rhag dialedd ei frawd Esau, hi a ddywed wrtho ef (yn ol ysgrifenyddiaeth y Dr. Morgan)—"Pa ham y byddwn yn ymddifad o honoch *ill dau* [mewn] un dydd." Y mae "*ill dau*" yma yn feius, o herwydd bod Iacob a'i fam wyneb yn wyneb. Ni lefarir *ill dau*, neu *ill tri*, onid am *ddau* neu *dri* a fyddont yn absennol—Awn *ein* dau; ewch *eich* dau; ânt *eu* dau, neu *ill* dau. Y Dr. Parry a newidiodd "*ill* dau" yr argraffiad cyntaf i "*eich* dau" yn yr adnod uchod; a da y gwnaeth.

*Ezra*, ii. 69.—"Rhoddasant * * chwe *myrddiwn* a mil o *ddracmonau*, a phum mil o *bunnoedd* o arian"—1588. Diwygiodd y Dr. Parry y chwe' myrddiwn uchod, i driugain mil. Y *dracmonau* hyn oeddynt yr un werth â'r *sylltau* a sonir am danynt yn 1 *Cron*. xxix. 7. Y mae yr enw *swllt* ddigon â chamarwain Cymro i dybio mai *arian* oedd eu deunydd: ond

darnau *aur* oeddynt, gwerth o gylch 15 swllt bob un. Wrth y gair *punnoedd* yn yr adnod uchod deallir cynifer o *bwysi*—nid arian rhif: felly eglurach a fuasai—"pum mil o *bwysi* o arian."

Ar hyn terfynaf—darfu y papyr.

---

## RHIF. X.

### PARHAD O SYLWADAU AR AIL ARGRAFFIAD Y BIBL CYMRAEG YN Y FL. 1620.

Yn fy llythyr diweddaf, a gofidus genyf weled ei amseriad mor bell yn ol a rhif. 72, dal. 229, o'r *Gwyliedydd*, gan sylwi ar *Luc*, xxiii. 32, tybiais mai yn y Testament dwyieithol Rhydychain (1826) yr adferwyd gyntaf gyfieithiad cywir y Dr. Morgan yng nghylch "y drwg weithredwyr." Ond gwedi hyny gwelais Fiblyn llogell, argraffedig yng Nghaerfyrddin yn y fl. 1812, yn cynnwys yr adnod uchod yn lythyrenol o'r cywir, yn ol cyfieithiad y Dr. Morgan. Y mae genyf fwy o sylwadau i'w rhoddi ar y ddau argraffiad cyntaf o'r Bibl; ond yn awr rhaid i mi eu hoedi hyd lythyr arall, i roddi lle, ar ddymuniad cyfaill, i ychydig sylwadau ar y ddadl sydd eto ar droed yng nghylch y ddull oreu o ysgrifenu Cymraeg, o barth llythyraeth. Y ddadl hon a gyfododd o gylch y fl. 1804, y pryd yr amcanodd y diweddar Barch. Thomas Charles, o'r Bala, ddiwygio llythyreniad y Bibl a oedd y pryd hyny i gael ei argraffu yng Nghaer Grawnt, dros Gymdeithas y Biblau. Y cynnygiad hwn o ddiwygiaeth a gyffroawdd wrthwynebiad nid bychan yn erbyn Mr. Charles; ac er ei fod ef wedi huno mewn heddwch, y mae y rhyfel yng nghylch llythyreniad geiriau yn parhau eto. Amddiffynwyr yr hen drefniant a haerant

mai llythyreniad Bibl yr Esgob Parry (1620) yw y cynllun safadwy i'w ddilyn byth ym mhob argraffiad o'r Bibl, &c. Y blaid am ddiwygiad a haerant, o'r ochr arall, nad yw yr argraffiad hwnw yn deilwng o efelychiad ddim pellach nag y byddo y geiriau gwedi eu llythyrenu yn gysson â'u tarddiant o'u rhanau gwreiddiol. A diau y dylai pob ieithydd cyfarwydd fod yn gyfymbwyll â hwynt yn hyn: a gormes y dylid cyfrif pob llythyren mewn gair na byddo hanfodol iddo. Nid wyf fi berthynol i un o'r ddwy-blaid mwy na'r llall, am nas gallaf gydfyned ag un o honynt i eithafoedd eu daliadau. Rhag gwneyd fy llythyr yn rhy faith, dynodaf, o hyn yn y blaen, blaid yr hen drefn ag A, a phleidwyr y drefn newydd â B.

*Dadl* 1. "Dylai fod dwy *n* yn y geiriau *calonnau*, *calonnog*, &c., fel y gwelir hwynt yn y Bibl," medd A; "a hyny er mwyn diogelu y pwys aceniad ar *on*." "Na ddylai," llefa B, ar y cras-gywair: "Na ddylai," meddaf finnau, ar yr is-gywair; a hyny o herwydd dau achos. 1. Y gwreiddair yw *calon*, a'r terfyniad lluosog yw *au*—nid *nau*: gwelir hyn yn amlwg yn *tad*, tad-*au*; *mam*, mam-*au*, &c. Dywedwyd a chyhoeddwyd cyn hyn—"os nad ysgrifenid *pen*au, *pren*au, *ton*au, &c., â dwy *n* ynddynt, y byddai perygl o gamseinio y geiriau, drwy eu darllen *pe-nau*, *pre-nau*, *to-nau*." Nac oes ddim. Y mae plant yr ysgolion yn cael eu dysgu i silliadu yn well na hyn. Hwy a fedrant wahanu rhwng y gwreiddeiriau a'u terfyniadau. Hwy a wyddant mai y gwreiddiau yw *pen*, *pren*, *ton*, ac mai y terfyniad lluosog i bob un yw *au*, nid *nau*, un amser. Y mae amryw derfyniadau ereill yn ufuddion i'r un reol, megys, *aeth* yn *pen*aeth, *ydd* yn *brony*dd, &c. Y mae yr aceniad yn sefydledig, heb yr *n* ormes, eisys, wrth reol gyffredinol aceniad, yn yr hyn y mae yr iaith Gymraeg yn rhagori ar laweroedd o ieithoedd y byd.

Geiriau deusill a acenir yn gyffredin ar y sill gyntaf, megys *brén*-in. Yr eithriadau i'r rheol hon ydynt ychydig o nifer, a'r acen ar y sill olaf; megys lleihâu, mwyhâu—parhâd, glanhâd—cyffròi, ymdròi, &c.

Geiriau trisill a acenir ar y sill ganol; megys, bonèddig, trugàrog, &c.; â'r un deulu o eithriadau iddynt —megys esmwythâu, cadarnhâd, canymdòi.

Geiriau pedwarsill, ac o hyny hyd bymtheg, pe byddent, a fynant yr acen yn rheolaidd ar y sill nesaf i'r olaf. Enghraifft a ddengys fel y mae yr acen yn llithro tua y deheu o sill i sill, o'r gyntaf i'r ail, y drydedd, a'r bedwaredd.

**Pèrchen,**
**Perchènog,**
**Perchenògaeth,**
**Perchenogàethau.**

Gwelir ar gyfer reolusrwydd yr aceniad. A a fynai ysgrifenu yr ail air, perche*nn*og, fel y mae yn y Bibl 1620, a hyny er mwyn iawn osodiad yr acen. Ceniader hyny—ond edryched A ar y trydydd air: ac ar ba sill y mae yr acen yno? Nid ar yr *ail*—nid ar *en*, ond ar y drydedd sill—ar *og*. Am hyny ysgrifened A y gair hwn â dwy *g* yn lle dwy *n*, i ddiogelu yr acen! Y rheol hon a gyrhaedd ac a effeithia ar bob gair a dreiglir o'i gyflwr deusill hyd bump a chwe' sill—megys àwdur—awdùrdod—awdurdòdawl—awdurdodòldeb, &c.

Amrafaelir hefyd yng nghylch dwy *t*, yn gystal a dwy *n* yng nghyd. A a haera a dylai fod dwy *t* yn *attoch*, *attynt*, &c. Dymuner arno ddadglymu y ddeu-air hyn o'i lythyraeth ei hun, a'u rhanu yn sillau, i weled pa synwyr a geir yn eu gwreiddiau. Wel! dyma hwynt: *at-toch*, *at-tynt*. Yr ydym yn cyfaddef bod *at*, y sill gyntaf, yn Gymraeg gloew—"Af hyd *at* droed y Wyddfa." Nid *att* droed na phen: ond beth yw ystyr *toch* a *tynt?* Beth bynag ydynt, nid ynt na Chymry na Chymraeg. Gofyner i B silladu ei *atoch*, *atynt*, ac egluro eu rhanau. Efe a eill wneyd hyn yn ebrwydd —atoch—*at-chwi;* atynt—*at-hwynt*. Dyma Gymry glân. Diachos hefyd yw dwy *t* yn bwytta, cardotta, &c., o herwydd bod bwyta, cardota, &c., yn ddifai cyfnewid am *bwyda*, *cardoda*—o bwyd, cardawd, &c. Un

*t* yn cytuno, cytundeb—o ran mai o *cyd-uno*, *cyd-undeb*, y maent. Ac un *m* yn camu, llamu, &c., am fod eu tarddiad o *cam*, *llam;* at ba rai y cyssylltir y terfyniad gweithredol *u*. O'r gair *hynod* y treiglir *hynotach*, *hynotaf;* a phwy a wad nad yw un *t* yn ddigon trom i bwyso *d*, pan osodir yn ei lle, er mwyn grymuso y llafariad? Pan gyferfydd dwy *d* mewn gair cyfansawdd, megys ad-dwf (ail dyfiant gwellt) rhoddir *t* am bob *d*, i barhau y gwreiddeiriau ar gof a chadwedigaeth. Myn A hefyd ddwy *p* yn *happus*, a byddai yn *an*hapus hebddynt. Ond ni ddeil ei air *hap-pus* ef ei ddattod: *hap* a adwaenom, ond pa beth yw *pus?* Pa iaith? Pe byddai dwy *s* hefyd, gair Seisneg a fyddai am gath; ond ag un *s*, gair Lladin yw am grawn briw, neu darddiant poethell. Ac i gloi *pus* a'i gyfeilliaid anghyfiaith, yng ngharchar Noeth ac Anoeth, dalier sylw nad yw terfyniadau ansoddeiriau *(adjectives)* un amser yn dechreu â chydsain, ond â llafarog (*vowel*), megys *a—aw* neu *o—awg* neu *og—awl* neu *ol—aidd—ain—us—ys*, &c. Ni fyn B osod mewn gair yr un llythyren mwy nag a fyddo yn anhebgorol iddo o barth tarddiad a threigliad; ac ni fyn chwaith adael allan yr un a fyddo yn angenrheidiol i ach a charennydd y gair. Am hyny y gwelir dwy *n* yng nghyd yn y geiriau canlynol:—nant, nantau —Nannau, plas Syr R. W. Vychan, A.S.:—tant, tantau, tannau telyn Rhisiart Arfon, Cadeiriog Cerdd Dant Eisteddfod Dinbych: meddian*t*-au, meddian*n*au. Ein hen deidiau a newidiasant y *t* i *n* er mwyn pereiddiach sain, a llithricach ymadrodd. Nid oes achos chwanegu treigl-eiriau o dant, chwant, cant, &c. Annoeth a ofyn ddwy *n*, canys o an-doeth y cyweiriwyd; felly hefyd anniwair, annuwiol, annichell, annhrugarog, &c.

2. *Aceniad geiriau unsill.* Sonia gramadegwyr am dair acen. Nid oes achos trylwyr ond am ddwy yn y Gymraeg, sef yr *hir* a'r *fer;* nac am ond un o'r ddwy hyny, pe cytunid pa un o'r ddwy a gedwid. Mwy o nodau aceniad a fyddai er mwy rhwystr na chyfarwyddyd. Byddai argraffwyr yn debyg o'u cymmysgu yn amryfus; rhoddent ddyryswch i ddysgyblion, a hawdd y geill

athrawon eu hebgor. Y ddadl yw, pa un ai yr acen *hir* ar cân, ai y *fer* ar cán, a roddir heibio. Rhai a haerant, gan fod mwy rhif o eiriau byrion unsill na rhai hirion, y dylid rhoddi heibio yr *hir*. Nid wyf fi yn gytunol i hyny: dynoder *cân* awenyddol, a *glân* fuchedd; a gadawer bara *can* a *glan* Teifi, i ymbwyll y darllenydd. Ymddengys cymhwysder fy haeriad, wrth yr atebiad canlynol:—"I ba le yr ei di?" 1. "Af i dy dŷ di." 2. "Af i dŷ dy di." Yr aceniad cyntaf yw y mwyaf dealladwy; a mwyaf dewisol, am ein bod yn gynnefin ag ef; a pha ham y rhaid rhoddi i fyny gynnefindod am anghynnefindod, os na bydd yr un cynnefin yn feius? Gan hyny, acener bob unsill *hir*—*mân*, *glân;* a gadawer y rhai byrion, megys *man*, *glan*, *can*, &c., a'r rhai canolig, *bref*, *llef*, &c., yn ddinod. Ychydig o gydnabyddiaeth â'r iaith, a rydd ddigon o ysbysrwydd i'r anghyfarwydd i wahaniaethu rhwng acenion byrion a chanolig; a chaniatäer i'r acen *hir* yn unig gael ei pharchu â'i nod hirllaes.

3. *H*, *h*, megys arwydd uchenaid, neu gryf anadliad, a arferir yn rhy fynych gan A; megys yn bren*h*in (brenin). B, i'r gwrthwyneb eithaf, a fyn ei deol o'r manau lle yr ymddengys yn fwy cyfaddas i'w sefyllfa nag un nod arall a ddyfelir yn ei lle; megys yn y geiriau canlynol:—byw*h*âu, marw*h*âu, &c. Y mae gormod o wendid yn ymddangos mewn torf o lafarogion yng nghyd, heb gydsain rhyngddynt; a'r eilun goreu o gydsain yw *h*. Gwan hynod ar olwg yw *bywäau* yn gystal a *marwäau*. Adfered B yr *h* i'w lle arferol; er nad oes ganddi gymmaint o hawl i'r lle hwn, ag y sydd ganddi yn y geiriau, gor*h*offedd, ym*h*yfau. Arferir *h* hefyd yn rhagddod at eiriau yn dechreu â llafarog, pan fyddo achos i wahaniaethu rhywiau, &c.; megys *ei* Harglwydd —a rhifau, megys *ein* Harglwydd.

4. *Au* sydd un o'r terfyniadau amlaf i'r rhif lluosog, megys taran-*au*, coron-*au;* ac o herwydd hyny, ai nid dewisol a fyddai terfynu geiriau, heb fod o'r lluosog-rif, ag *eu* yn lle *au*, megys dechr*eu*, gol*eu*, gor*eu*, ten*eu*, &c.?

5. B a haera fod y blaenddod *dy* yn wastad yn gad-

arnhaol, a *di* yn nacaol; ond A, er ei fod yn addef mai cadarnhaol yn wastad yw *dy*, eto deil bod *di* hefyd yn gadarnhaol mewn ychydig o gyfansodd-eiriau, megys *diben*, *dioddef*, gan olygu ar *alpha* y Groegiaid, ac *im* y Seison. Ond B a hwtia y fath gyfeiriadau at ieithoedd estronol; ac a hona y dylai pob iaith sefyll ar ei gwaelod ei hun. Dywed hefyd mai llygriad sain a ddygodd *diben* i mewn i'n hiaith yn lle *dyben*, ac mai *dyben* a ysgrifenai ac a lefarai Edeyrn Dafod Aur, &c.—bod y Gymraeg yn gywir yn ei diwyg, ac yn ei hegwyddor lythyren drefnus am bob sain, cyn i'r Rhufeiniaid ddwyn i mewn eu hegwyddor ddiffygiol, a'i benthyca i'r Cymry. Da iawn! pe dygid tystiolaeth o'r iaith ddilwgr, a'r egwyddor gyflawn, naill ai ar faen ai ar femrwn. Ni waeth dangos i ni gruglwyth o lwtrach y ser, a haeru iddo ddisgyn o'r blaned Gwener, na dywedyd mai yr egwyddor a elwir "Coelbren y Beirdd" oedd egwyddor gyssefin y Cymry. Pa fodd bynag, os ennill B a'i blaid y dydd, a mynu ysgrifenu *dyben;* gan fod i *y* eisys ddwy sain, megys yn y gair *ystyr*, rhodder iddi yn drydydd sain *i:* ac yna os ysgrifenir d*y*ben—nyni a gawn y rhyddid o'i ddarllen d*i*ben. Yn y to nesaf, dichon y bydd i *ddyben* a'i dylwyth lai o wrthwynebiad, o herwydd bod bechgyn yr oes hon yn cael eu dysgu gan fechgyn ereill i ysgrifenu a llefaru yn ol llythyraeth B. Yn ddiweddar, rhoddais gynllun i hogyn o enw Beniamin ddysgu ysgrifenu: y linell oedd o gynghor iddo, sef, "Ymgais â *di*benion da." Gwelwn ar wên deneu yr herlod, nad oedd fy llythyraeth yn ei foddio; ac yn ebrwydd mi a'i clywn yn sibrwd—"Ni etyb hwn i mi un *dyben* da." Atebais—"Pe baet Sais, mi a ddywedwn, 'I will *dub*-Ben, if not a dunce, a conceited little fellow.'"

6. Y mae llawer o wrthwyneb gan B i *am* negyddol o flaen geiriau yn dechreu â *P;* megys *pur*, *perffaith* —*am*mhur, *am*mherffaith. Nid oes gan B yr un rheswm cadarn o'i blaid ar yr achos hwn. Pe na byddai ond *an* negyddol yn unig yn ein hiaith heb law yr *am*, byddai gan B well esgus i daflu *am* o'i

gorsedd. Ond gan fod negyddion ereill, megys *af* a *di*, nis gwelaf un achos cymhellfawr i ddiorseddu y naill negydd mwy na'r llall. Y mae a*m*mherffaith yn llawn mor olygus i'r llygad, ac yn rhoddi rhwyddach lafar i'r tafod, nag a*n*mherffaith. Gwnaed A, B, ac C fel y mynont; o'm rhan fy hun ni a*m*mharchaf, yn nod a*m*-mharch ei hun, drwy ei ysgrifenu, na'i enwi a*n*mharch. Ac am *af* negyddol, dywedaf—Yr hyn sydd *af*lan bydded *af*lan eto; ac i bob un diragfarn mi a faddeuaf, er ei fod mewn rhai daliadau yn a*m*mhwyllus. Y Parch. Mr. Charles, ym mhlaid *an* negyddol yn lle *am*, a haerai, y gallai rhai gael eu dyrysu rhwng yr *am* negyddol (os arferid) ac *am* arall (*circum*, about). Ond nid oedd y perygl lleiaf o un dyryswch ar yr achos. *P*, yn nechreu gair a newidir deir-modd mewn cystraweniad—*P*wyll; 1, ei *b*wyll; 2, fy *mh*wyll; 3, ei *ph*wyll. *Am* yn negydd i'r gair *p*wyllus, a dry y *p* i *mh*, sef yr ail newidiad—*ammh*wyllus. Ond yr *am* arall, am yr hwn y sonio Mr. Charles, y mae yn rhan arall o ymadrodd, ac a newidia *p* i *b*, nid i *mh*—am-bwyll, heb un ystyr negyddol. Yr *am* hwn a lywia y newidiad *cyntaf* i bob llythyren newidiadwy—megys, carn, amgarn; cylch, amgylch; to, am*d*o. Nid yw *an* negyddol mor rheolaidd; canys o flaen B a G, hi a ddewis y newidiad *cyntaf;* ac o flaen D, C, P, T, yr ail newidiad. Os gorfydd i ni roddi fyny *am* negyddol, teilynged B roddi i ni yn ei lle, *di* yn hytrach nag *an: di*-bwyll, &c.

7. Am derfyniadau geiriau ansoddawl, &c., nid oes genyf le i ddywedyd llawer. Mwy dewisol genyf yr hen ddull, fel y gelwir llythyraeth A—duw*iol*, nid duw*iawl*; annuw*iol*, nid annuw*iawl*. Dichon bod *aw* yn well nag *o; awg* nag *og; awl* nag *ol;* ond fy mwr-iad yw eu gadael i'r sawl a'u hoffa fwyaf, ac i ysgrifen-yddiaeth y cynghaneddwyr; *awg* i gydodli â hawg a chawg, ac *awl* i gyssoni â mawl a chawl.

I ddiweddu—da fechgyn, ymgeisiwch ag eglurdeb ymadrodd yn lle dyeithrwch; pan ysgrifenoch rag-ymadrodd i'ch cathlau, gadëwch allan "*oc eu lle*—

31—II.

*no—noc—nog—idd ei*," &c. Pe ail gyfodai Edeyrn Dafod Aur, ac ymorol ar eu hol, gallech ei ateb—eu bod hwy, a llawer ereill gyda hwynt, ar ben ysburiau geiriaduron, ar gof a chadw; ond nid ar arfer na llafar gwlad. Byddwch heddychlon â'ch gilydd.

# LLYTHYRAU CASSIUS.[1]

## RHIF. I.

FEL yr oeddwn yr haf diweddaf yn cymmeryd fy nhaith hyd y glenydd ac ar draws y moelydd yng ngwlad fy ngenedigaeth, er mwyn adferiad fy nghynnefin iechyd, prif fendith bendithion daiarol, ni chefais ond prin groesi Clawdd Offa nad dyma fi o fewn clyw areithwyr y Cymdeithasau Cymroaidd, y rhai, fel y gwyddoch, syr, ydynt wedi ymgyfodi mor ddisymmwth a llwydrew unnos, ym mhob goror ac ardal o'r wlad. Cefais odfëydd yn fynych o fod yn wrandawydd diwyd arnynt. Weithiau byddai yr araeth yn dylifo mor ffrochwyllt a chornant Craig y Mwyn, ger llaw Hafod Uchtryd, ar gawod o wlaw taranau; bryd arall, llusgid yr araeth mor annyben a phe buasai y llefarydd yn gorfod llyncu eirinen perth rhwng pob gair. O'r diwedd, yn Nhref * * * cyfarfum o ddamwain â hen

[1] [Y Llythyrau dan enw *Cassius* a gyfeiriwyd at y *Gwyliedydd* yn 1824-25, pryd yr oedd y "Cymdeithasau Cymroaidd" neu "Gymreigyddol" yn eu llawn rwysg yn y Dywysogaeth, megys y mae y "Cyfarfodydd Llenyddol" a "Chystadleuol" y dydd heddyw. Byrdwn yr areithiau yn y cymdeithasau hyn ydoedd, gorfoli yr iaith Gymraeg (yr "Omeraeg," fel ei gelwid gan y "Cymreigyddion" hyn), a lladd ar y Seisoneg, ac yn achlysurol ar ieithoedd ereill hefyd. Nid dynion anwybodus ac anhysbys o deithi gwahanol ieithoedd, oedd yr unig rai a gymmerent y llwybr hwn i ddangos eu gwladgarwch; ond yn achlysurol ceid rhai o'u gwŷr dysgedig yn gwneuthur yr un pethau. Gwasanaethed un enghraifft. Nid digon gan un o brif feirdd Cymru yn y dyddiau hyny, ac aelod nid anenwog o Goleg Iesu yn Rhydychain, ein hysbysu mai y Gymraeg, heb ammheu dim, oedd

"Iaith hen Adda gynt yng Ngwynfa,
Iaith ber Efa, iaith boreu-fyd;"

ond rhaid iddo hefyd alw un o'r ieithoedd godidocaf y gwyddys am dani yn yr holl fyd yn—

"Iaith *wael gryg-wael* y Groegiaid!"

Yr oedd ymadroddion bocsachus fel hyn yn lled esgusodol mewn gwladwyr uniaith, fel *Dewi Wyn o Eifion* (a honai nad oedd beirdd penaf Groeg a Rhufain, y rhai ni ddarllenasai erioed, ddim i'w cymharu â beirdd Cymru), ond yr oeddynt yn anesgusodol mewn ysgolor o fath *Daniel Ddu o Geredigion:* ond y cyfryw oedd dylanwad y cyffrawd "Cymroaidd" yn yr amser yr ysgrifenwyd Llythyrau "Cassius at y *Gwyliedydd*."]

gydysgolydd, yr hwn, â'i lygaid yn berwi o wladgarwch, a'm cymhellodd i'w ddilyn i'r areithfa, lle y cefais y parch o eistedd ar ei law ddeheu. Cyn pen hir, gofynodd i mi a glywswn i y fath areithio hyawdl erioed o'r blaen, yn Lloegr neu yr Iwerddon?

Ni roddais ateb uniawngyrch iddo, ond sylwais fy mod wedi clywed yr areithiau hyny gan mwyaf o'r blaen, heb nemor o ragoriaeth. "Pa achos," meddwn, "yn y dyddiau hyn, am 'hidlaw gwaed ein hoedlau' er amddiffyn ein hiaith? Pa achos am yr holl ganmoliaeth yma iddi? Dyma yr un ffregawd a glywais i yr wythnos ddiweddaf yn * * * a chyn hyny yn * * *"

"*Ffregawd,*" ebe yntau, dan laesu ei aeliau, a chau un dwrn, "ai *ffregod* y gelwch chwi ganmoliaeth eich mamiaith odidog?—

Iaith uchel, ac iaith iechyd,
Iaith dda, iaith bena'n y byd!"

"Ië, iaith benaf yn y byd i Gymro uniaith," meddwn innau; "canys heb hon ni byddai ond mudan: yn hon y galwodd gyntaf ar ei fam am fara a 'menyn. A phwy, erdolwg, yw y boneddigion hyn, y mae yr areithwyr olynol, ac ym mhob man, yn pardduo gymmaint ar eu henwau da?"

"*Enwau da!*" ebai yntau, gan ddyrchafu ei lais goruwch yr is-gywair, a chau y dwrn arall.

Ar hyn, dyma y llywydd yn cuchio, a'r ystafell yn diaspedain gan ergyd ei fwrthwyl ar y bwrdd, a'r fanllef "*Dystawrwydd!*"

A dystawrwydd a fu, yn dystiolaeth o ufudd-dod i reolau y Gymdeithas. Ym mhen araeth neu ddwy yn rhagor, a chyhoeddi testyn y cyfarfod nesaf, gollyngwyd ni bawb i'w fan; a'm cyfaill a'm gwahoddodd i'w ystafell, lle yr ail gynneuodd y wreichionen ymrafael rhyngom.

"Ai enwau da," ebai efe, "y gelwch chwi *Dic Sion Dafydd* a *Brutus?*"

"Brutus ab Sylvius?" ebai finnau; "difai cymdeith-

ion i'w gilydd; ysgerbydau dychymmyg Glan y Gors a Sieffrai o Fynwy."

"Nid Brutus o Gaer Droiau," ebai yntau, "y tywysog enwog hwnw a arweiniodd weddill ei wladwyr o Asia i'r ynys hon; ond Brutus o Gymro yn yr oes hon; a gwaradwydd noeth i Gymru hefyd!"

"Gwaradwydd! pa fodd?"

"Y mae wedi difrïo ein cenedl a'n hiaith yn erchyll faleisus. Dyma ei lythyr diriaid ef yn *Seren Gomer;* a darllenwch hwn, os gellwch, heb orlwytho yr ysgrifenydd â phob enw gwael a dirmygus."

"Mi a'i darllenais. Wel, pa achos digofaint yn neb a allai y fath lythyr synwyrlawn a hwn roddi? Os oes fai arno, dywedyd gormod o wirionedd yw hyny; gormod o *gaswir*, chwedl y *Bardd Cwsg;* gormod o wirionedd annerbyniol gan wrthddrychau y sen lemdost. Felly, yn lle rhuthro fel haid o gacwn cynhenus i ben yr ysgrifenydd, a'i bardduo â choeg enwau bustlaidd, dylech, os medrwch, ddymchwelyd ei resymau yn drybwyllog a llariaidd, yn lle gadael i'ch gwaed Cymreig ferwi yn eich gwythi, nes y byddo eich ymenydd yn tori yn gaws ac yn faidd. Bloeddied eich areithwyr nes y crygont eu hunain, ac y pensyfrdanont eu gwrandawyr, ni fedrant byth frych-fritho *gwirionedd* unlliw."

"Ai gwirionedd yw bod holl genedl y Cymry yn lladron, heb feddu cymmaint ag un llyfr yn eu hiaith eu hunain a dâl ei ddarllen, ond clytwaith benthyciedig allan o lyfrau Seisnig?"

"Rhy wir," ebai finnau.

"Ac am ein cenedl ni y Cymry, pa beth ond eu gwroldeb digyffelyb a gadwodd iddynt eu meddiannau yng Nghymru, heb yn waethaf y Seison, y Daniaid, a'r Normaniaid?"

"Nid eu gwroldeb," ebai finnau, "gymmaint a'u creigiau a'u mynyddoedd, eu coedydd a'u siglenydd."

"Pa beth, ynte, a gadwodd iddynt eu hiaith mor ddilwgr tros gynnifer o gannoedd o flwyddi, ond godidawgrwydd yr iaith hòno, a'u serch hwyntau tuag ati?"

"Eu serch at anwareidd-dra yn hytrach; a'u hystyfnigrwydd—serch at hen arferion, fel eu brodyr yn Uwch Coed Celyddon, yn parhau i wisgo hyd heddyw peisiau yn lle closiau glin-gauad, fel dynion ereill."

"A ydych chwi yn dal nad oes nemor o lyfrau gwreiddiol yn yr iaith Gymraeg? A welsoch chwi erioed gyhoeddiadau ein Heisteddfodau clodfawrusaf? —*Y Powysion?*—*Awen Dyfed?*—*Ffrwyth Awen Gwent?*—ac yn ddiweddaf, *Aeron Awen* Caer yn Arfon? Mae y diweddaf yn fy llogell yn awr; a chan ei bod yn dymmor cwsg, myfi a roddaf ei fenthyg i chwi hyd naw y boreu fory, y pryd y dysgwyliaf i chwi i dori eich ympryd yn yr ystafell hon. A gobeithiaf y bydd i chwi erbyn hyny newid eich barn angharedig am eich cenedl a'ch iaith, yn lle bod yn erlidydd unbleidiog â Brutus: a bydded hysbys i chwi, fy nghyfaill, os parhëwch yn eich anian wladgasog, y cewch chwi ac yntau eich maeddu mor chwerw ddibarch ag y cafodd eich cynenwau eu trin gynt ym maes Philippi."

"Yn araf, fy nghyfaill, nyni a ddewiswn ein maes yn nes atom, ar lan Tawy, neu lan Dyfrdwy; ac nid oes ynof gysgodyn digalondid am y canlyniad. Yr wyf yn caru fy ngwlad, fy iaith, a'm cenedl mor gyflawn a chwithau, er nad mor benboeth hunanol. Pa beth a feddyliech am ymddygiad cleiriach a gyhoeddai ym mhob man, ym mhell ac agos, 'Myfi yw y cyfoethocaf yn y byd mawr!' ac yntau heb gael y cyfleusdra i chwilio dim, neu nesaf i ddim, i gyfoethogrwydd ei gymmydogion nesaf? Aswy genyf weled anwybodaeth yn ymddyrchafu, megys i ben twr o bridd y wadd, i bregethu gwybodaeth i'r byd. Nos da'wch; yr wyf yn ddiolchgar i chwi am fenthyg *Aeron Awen* o hyn hyd naw y boreu fory."

## RHIF. II.

FELLY dranoeth y boreu, cyrchais i ystafell fy hen gyfaill, ag *Aeron Awen* yn fy llaw.

"Hawddammor i chwi, Cassius; gobeithiaf eich bod yn Gymro mwy diledryw, ac yn fwy gwladgarawl eich tymmer heddyw nag oeddych neithwyr. Pa beth yw eich barn am *Aeron Awen?* Ai nid oes yna bedair o Awdlau godidog o goffadwriaeth am y Prif Farwn?"[1]

"Oes, yn ddiau; rhoddasant i mi ddywenydd nid bychan. Gwr teilwng iawndda oedd y Prif Farwn o bob parch a ddichonai ei genedl ddangos iddo. Ond y mae y Beirdd yn arferyd rhai trofegau lled helaeth: un a ddywed am y Barwn, ei fod yn 'benaeth holl Lundain!' Mewn man arall—

'Yr oedd ei synwyr addien,
A ffraeth wybodaeth ei ben,
A'i ddiamgen hardd ymgais,
Yn hynod syndod i *Sais;*
Weithian, hawdd tystiolaethu,
Un o'i fath gan *Sais* ni fu.'

Pe byddai fodd i anfon y llinellau hyn ato ef i'r byd draw, ac yntau yn meddu yr un gynneddfau anianol a moesol ag a hardd ddangosai tra ar y ddaiar, nis gallai efe lai na gwenu; canys gwyddai y Prif Farwn yn dda, bod ynadon ereill mor gyfarwydd ag yntau yn y gyfraith; ac nid yw hyn yn lleihau dim ar ei dalent odidog ef. Ni wnaethwn i y sylwiadau uchod, ond er mwyn ymgais i ddiwygio tueddiad y Cymry i ganmol gormod ar eu perthynasau eu hunain, eu gwlad, eu hiaith, a'u gilydd; a hyny er difyrwch nid bychan i'n cymmydogion yn Lloegr. Gyda ni y Cymry—os hardd, harddach na Sanddef Bryd Angel; os hagr,

[1] [Y Prif Farwn Richards, o Gaerynwch, Meirion.]

hacrach na Morfran fab Tegid. Soniaf am un linell eto yn yr ail Farwnad, sef y byddai i'r Prif Farwn, wedi barnu ei gyd-ddeiliaid am fywyd a marwolaeth, "*farnu y byd*," gan gyfeirio at ddywediad yr apostol (1 *Cor*. vi. 2), 'Oni wyddoch chwi y bydd i'r saint farnu y byd?' Yn y dydd hwnw ni bydd onid un Barnwr, y Duw a'r dyn, Crist Iesu. Ni bydd i'r naill ddynion farnu y lleill, ond mewn cyffelybiaeth i wŷr Ninifeh, a brenines y Deheu, y rhai a gyfodant yn y farn i gondemnio y genedlaeth Iuddewig anghred a wrthododd y Messïah. Ond er hyn y mae yr Awdlau yn flodeuog o ddrychfeddyliau awenyddawl—megys yr hwn a ganlyn, lle y dywedir am y Barwn yn ei ieuenctyd:—

'Y gyfraith enwog, uchelog, a chwiliawdd,
* * * *
Yn lwys a didwyll, manwl astudiawdd;
Anolesg ddeddf ban welawdd . . . . . ei charwr
Ar gu Frythonwr *y gyfraith a wenawdd*.'"

"Pa farn a roddwch ar y Cywyddau ar 'Oes Gruffydd ab Cynan?'"

"Ni roddaf fi farn yn y byd; o ran bod y Cywydd buddugol yn dra annealladwy i mi yn ei eiriadaeth, a dull ei gyfansoddiad; ac yn rhagor, y mae y rhagymadroddwr yn senu y sawl a ddywedant air i 'ddrwg liwio cyfansoddiadau Eisteddfod, y rhai buddugol yn anad dim.' Os bydd lliw da arnynt, gresyn fyddai eu drwg liwio; ac ni wnai ond hurtyn hyny:

'Pawb a genfydd, o bydd bai,
A bawddyn, er na byddai.'

Ond y mae gollwng heibio gyhoeddiadau afreolaidd yn ddisylw, yn lluddias cynnyddiad dysg a gwybodaeth; a gellir ei gyffelybu i athraw ysgol diofal, a wrandawai ar febyn yn silladu 'T—a—d, mab!' heb ei gyfarwyddo, ond yn hytrach ei foli, gan ddywedyd, 'Da fachgen, ti a wnai ysgolhaig hynod ryw bryd.'"

"Ond y mae y cyfansoddiadau mwyaf hynod eto yn ol; sef y Traethiadau ar Gyflafan y Beirdd.

"Gwir! un hynod iawn, fel y dywedasoch, yw yr eiddo *Sefnyn;* ac os cyhoeddir byth 'Drioedd Llyfrau,' bydded hwn yn un; sef,

"1. Histori Nicodemus.

"2. Llythyr tan y Gareg.

"3. Cyflafan y Beirdd gan Sefnyn."

"Ai nid ydych yn cydweled â'r cyhoeddwr, 'mai nid aml y derbynir ei ragorach o ddwylaw un o feibion Gomer.' Barnwyd gwaith Sefnyn yn fuddugol o ran ei gyfansoddiad, a'i awduron. Dangosodd awdwr y Traethawd fawr wybodaeth mewn hanesyddiaeth, a nerthol alluoedd i dreiddio i'r cyfryw. Dysgwyliaf i chwithau fod mor foesgar am unwaith a rhoddi cyd-ganmoliaeth i uchel ddysg a diwydrwydd yr awdwr."

"Mi a wnawn hyny yn rhwydd, ac o wirfodd calon dwym, pe gallwn wneyd hyny heb droseddu yn erbyn deddf gwirionedd, a chyfiawn ddedfryd. Yr wyf yn gweled fod y Traethawd hwn yn cael ei ddyrchafu megys yn 'fwbach rhyfeddod gwlad;' ond ni fedraf fi lai na'i gyffelybu i ryw fath ar Dŵr Babel wedi cael ei sylfaenu ar briciau crinion."

"A fedrwch chwi, Mr. Parod i Feio, wneyd eich cyhuddiadau yn dda?"

"Yr wyf yn hyderu y medraf; ond ni ddichon i mi fod mor faith a chanlyn yr awdwr yn ei holl amryfus-eddau; gan hyny ni sylwaf ond ar ychydig o'r pynciau mwyaf disylfaen a chyfeiliornus.

"Yn gyntaf, tudal. 63: 'Y Beirdd, nid yn unig ym mhlith y *Cenedloedd*, ond yr Iuddewon hefyd, oeddynt yr unig ddynion a dderbynient eu talentau a'u cymhelliad oddi wrth y Duw Hollalluog, i fod yn athrawon ac yn *oleuni* i'r *holl fyd* o'u hamgylch, mewn pob gradd o feddyginiaeth ysbrydol a chorfforol. * * * Nid oedd gan neb ond y Beirdd i'w cyfarwyddo at *grefydd*, nac ychwaith at unrhyw wybodaeth am bethau *nefol* na daiarol.'

"Haeriad gwaradwyddus, os nid cableddus, yw hyn oll! Dyma Hesiod, y bardd cenedlig, bum can mlynedd cyn geni Crist, yn derbyn ei dalent a'i gymhelliad oddi wrth 'Dad yr ysbrydoedd'—i ba beth? I gyfansoddi odlau ar achau ac hynafiaeth ei dduwiau gau! A dyma Anacreon feddw, a dagodd ar rawnwinen, yn cael ei osod yn gydraddol â Moses, gwr Duw, ac Esai fab Amos. Am y fath feirdd cenedlig ac eulunaddolwyr o bob rhyw, y dywed yr Apostol (*Rhuf.* i. 21, &c.), 'O blegid a hwy yn adnabod Duw (wrth ei weithredoedd yn y greadigaeth) nis gogoneddasant ef megys Duw, ac ni buont ddiolchgar iddo; eithr ofer fuont yn eu rhesymau, a'u calon anneallus hwy a dywyllwyd. Pan dybient eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid; ac a newidiasant ogoniant yr anllygredig Dduw, i gyffelybiaeth llun dyn llygredig, ac ehediaid, ac anifeiliaid pedwarcarnol, ac ymlusgiaid.'

"Digon boed hyn ar y pwnc cyntaf; a chyn dechreu yr ail, cymmeraf fy nghenad, gan ei oedi nes y cyfarfyddom nesaf."

---

RHIF. III.

"Cyfarfod da i ni," ebe fy nghyfaill; "a gaf fi yn awr glywed eich sylwad ar yr ail bwnc a dybiwch chwi yn wrthwynebadwy yn Nhraethawd Sefnyn?"

"Nid wyf yn ewyllysio dim amgen yn fy sylwadau, na helaethiad gwybodaeth iachus. Os yw anghrediniaeth yn bechod, y mae hygoeledd hefyd yn wendid. Cyn y coeliwn bob athrawiaeth, bydded i ni ei phwyso yng nghlorian y cyssegr, neu o leiaf ym mantoleg syn-

wyr cyffredin. Yr ail bwnc, tudal. 64: 'Gwelais ym mhrif Goleg Dulyn, gadarnhâd, fod yr hen Abraham dduwiol, tad y ffyddloniaid, yn *fardd* a *dewin*, ac yn ysgrifenydd mawr. Yr oedd yn cymmeryd ei egwyddor oddi wrth enwau coed; megys B am Bedwen, D am Derwen, &c. Dysgawdwyr y Coleg uchod a alwant ei egwyddor, *Coed Abraham.*'

"Pa beth yw hyn oll ond breuddwydion rhyw hen Wyddel, yn oesau y tywyllwch dudew, er mwyn ceisio i'r byd goelio, fod yr egwyddor (neu Goelbren y Beirdd) Wyddelig, a elwir *Bethluisnion*, filoedd o flwyddau yn hŷn nag ydyw. Dyfalwyd yr enw uchod oddi wrth dair o'r llythyrenau, meddant; sef B *Beth*, Bedwen; L *Luis*, Cerddinen; a N *Nion*, Onen. A diammheu mai hon o roddodd hanfod i'r egwyddor a elwir *Coed Abraham*, filoedd o flwyddau wedi i'r patriarch huno gyda'i dadau. Yn nhudal. 70, ceir Sefnyn yn dyfynu 'Llyfr a ysgrifenwyd o gylch 50. o flwyddau cyn Crist gan *Fforcharu*, bardd a philosophydd i un o freninoedd yr Iwerddon.' Y dysgedigion mwyaf pwyllog yn y ddwy ganrif ddiweddaf a farnant, nad oedd gan y Gwyddelod yr un egwyddor cyn i Badrig ab Mawon fyned ag un iddynt, gyda'r Efengyl, yn y bummed ganrif. Y blaid Wyddelig a ffromant yn aruthr yn erbyn hyn, ac a haerant mai yr egwyddor Rufeinaidd, yr hon sydd genym ni heddyw, a ddygodd Padrig i'r Iwerddon; a bod ganddynt hwy yno hen egwyddor laweroedd o oesau cyn hyny. Y Milwriad dysgedig *Vallancey*, er hyny mor lawn o ofergoeledd ag un yn Ynys y Delyn, sydd ym mhlith y rhai cadarnaf o'r blaid, a ddywed fod yn ei feddiant ef ysgrif Ladin, â'i llythyreniad yn ol y brif egwyddor, mor hen a'r ganrif nesaf i oes Padrig; sef o gylch oes ein Taliesin ni. Ond gwedi y cwbl, beth yw yr hen egwyddor Wyddelig hon, ond yr hen egwyddor Brydeinaidd a ddygodd Padrig gydag ef i'r Iwerddon; canys nid oes nemor o ragoriaeth rhwng llythyreniad hen lyfrau Gwyddelig a hen ysgrifau Cymreig, megys Llyfr

Llandaf, Gorchanau Aneurin a Thaliesin, &c.; a phob un yn amlwg darddedig o'r egwyddor Rufeinig. Y mae *Astle*, y Sais, yn tystio, yn ei *Hanes Ysgrifyddiaeth*,[1] na chafodd efe, er chwilio yn fanwl, yr un ysgrif Wyddelig hŷn na'r ddegfed ganrif.[2] Pa Gymro bynag a fedro ddarllen y *Llyfr Du o Gaerfyrddin*, neu unrhyw lyfr Gymreig o'r unfed ganrif ar ddeg, neu ddeuddegfed, efe a fedr hefyd ddarllen unrhyw ysgrif Wyddelig a osodir o'i flaen ef, gan mor debyg ydynt i'w gilydd, fel dwy efell o'r un groth. Yr un achau sydd i'r egwyddor Seisnig hefyd; canys gan bwy y gallai y Seison anllythyrenog dderbyn egwyddor, ond gan y bobl a ddysgasant iddynt ddarllen gyntaf. Ond nid yw hyn gredadwy gan *Vallancey*, ac ereill, a freuddwydiant fod yr egwyddorion Gwyddelig a Seisnig yn darddedig oddi wrth egwyddor *Phenicia* neu *Scythia!* Coelied a fyno!

'Masnach wael, a'i chyrchu o bell,
Tra byddo gwell yn agos!'"

"Arafwch beth, fy nghyfaill; oni welwch chwi yr awduron dysgedig y mae Sefnyn yn eu dwyn ym mlaen yn dystion o wirionedd ei haeriadau? Yn rhodd, Pwy yw y *Rabbinicals*, a'r *Cabala* hyn? Ai Iuddewon ydynt?"

"Ië, ysgrifeniadau Iuddewig, mwy diweddar na'r caethglud Babilonaidd, gwedi i'r Shecinah, yr Urim a'r Thummim, ac ysbryd Duwfol brophwydoliaeth, ymadaw o Israel; ac os pwyllwch ychydig, myfi a roddaf beth o'u hanes i chwi.

"1. *Touro*[3] y geilw yr Iuddewon y gyfraith ysgrif-

[1] [*The Origin and Progress of Writing*, by Thomas Astle: London, 1784.]
[2] [Ni wyddid yn amgen hyd yn dra diweddar: ond dengys Zeuss, yn ei waith gorchestol ar yr Ieithoedd Celtig (*Grammatica Celtica*, 8vo. Lipsiae, 1853), fod rhai o'r Ysgriflyfrau Gwyddelig cyn hyned a'r wythfed ganrif. Ysgrif o'r 12fed ganrif yw y *Llyfr Du o Gaerfyrddin*.]
[3] [Yn hytrach *Thorah*.]

enedig, a gynnwysir ym Mhum Llyfr Moses; ond haerant i Dduw gyflwyno i Moses yn Horeb, gyfraith draddodiadol, megys esboniad ar, a chwanegiad at, y gyfraith ysgrifenedig. Moses a'i traddododd i Iosua, ac yntau i'r henuriaid: ac felly y parhaodd ar gof a chadw o'r henuriaid i'r barnwyr, o'r barnwyr i'r prophwydi, o'r prophwydi i'r athrawon, ac felly ym mlaen hyd ddyddiau Rabbi Iudah, a gyfenwid *Haccodosh*, neu Sanctaidd. Hwn, gan ragweled y collid y ddeddf draddodiadol drwy gaethiwed yr Iuddewon mewn gwlad estronol, a llygredigaeth cyffredinol y genedl, a'u casglodd yng nghyd mewn un llyfr, yr hwn a enwid ganddo y *Mishna*.

"2. Gwedi hyn cyfansoddwyd y *Gemara*, sef esboniadau amryw athrawon ar draddodiadau y *Mishna*.

"3. Y *Talmud*, sef crynodeb o'r *Mishna* a'r *Gemara* yng nghyd.

"4. Y *Cabala*, neu ddirgeledigaethau ysgrythyrol.

"5. *Rabbinegion*. (*Rabbinicals*), sef casgliad o ysgrifeniadau, dadleuon, a phenderfyniadau Rabbiniaid diweddarach na Rabbi Iudah, a gasglasai yng nghyd y *Mishna*.

"Chwi a wyddoch farn ein Hiachawdwr am y *Corban*, a thraddodiadau ereill yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Megys dangoseg o'r chwedlau ofergoelus a gynnwysir yn ysgrifeniadau amrai o'r Rabbiniaid, cymmerwch yr hanes canlynol a roddant am Adda. Dywedir ynddynt, i Dduw droi ei hun ar lun *dyn*, megys portreiad iddo Ef lunio Adda wrtho. Bod Adda o faintioli anfeidrol, ei ben hyd entrych awyr, a'i ddwy law yn gallu cyrhaedd eithafoedd cyferbyniol y ddaiar. Gwedi ei gwymp, yr angylion, naill o ran ei ofn, neu o genfigen ato, a ddymunasant ar Dduw leihau ei gorffolaeth; ac felly, meddant, byrhawyd ein cyndad i gant o latheni cyfelin. Dywedant hefyd, y gallai dreiddio ar ei draed trwy y moroedd dyfnaf; ei fod ar y cyntaf yn wryw ac yn fenyw, neu o ddau gorff cyssylltedig yn yr ysgwyddau, ac i Efa gael ei rhyddid drwy wahaniad y ddau gorff oddi wrth eu gilydd. Dy-

chymmygir hefyd mai Efa ei hun oedd y ffrwyth gwaharddedig; ac mai ei hetifedd hi o'r sarff oedd Cain. Ar fyr, nid yw llawer o'r chwedlau Rabbinaidd yn llai plentynaidd ac ofergoelus na'r chwedl yn y Coran am daith Mahomet yn esgyn ar gefn ei fules wen o Mecca, yn Arabia, hyd borth y drydedd neu y seithfed nef, y pryd y darfu i oerni llaw yr Hwn sydd â'i enw yn Iah, beri ias o fferdod drwy fer ei esgyrn!

"Y mae yn yr hen lyfrau Gwyddelig hefyd hanesion lled debyg, o ran gwerth, i'r rhai uchod. Dywedir ynddynt i Seth fab Adda, a thair o ferched Cain, forio rywbryd i'r Iwerddon; i dri o bysgodwyr o Hispaen gael eu gyru yno gan dymmestl yn y flwyddyn o flaen diluw Noah, ac i Cesar, ferch Baioth, fab Noah, a thri o ddynion, a deg a deugain o ferched, hwylio i'r Iwerddon rhag ofn y diluw."

"Rhag y fath lyfrau, gwarchod ni, Arglwydd daionus!" ebai fy nghyfaill. "Amen," ebe finnau. Digon yw hyn am awdurdod y *Rabbinicals*, a hanesion *Gwyddelig*, fod 'yr hen Abraham yn fardd ac yn ddewin.'

"Ni waeth un pwnc yn rhagor na chant: ond gadawaf hwnw hyd y pryd yma efory, os iach a fyddwn; yn y cyfamser, fy ewyllys da gyda chwi."

---

## RHIF. IV.

"Y MAE fy rhagfarn i," ebai fy nghyfaill, "yn siglo fel dail yr aethnen ar wynt, drwy effaith eich sylwiadau diweddaf: a rynga fodd i chwi fyned rhagoch at y pwnc nesaf a ddarfu i chwi addaw?"

"Tudal. 65: 'Yr oedd Moses' (medd Sefnyn) 'yn fardd enwog a *dewin*.' * * *—66: 'Y mae yn ei wneyd

ei hun yn *ddewin* pan y dywedodd ei fod yn ddysgedig yn holl ddoethineb yr Aipht, yr hyn oedd ddewiniaeth.'

"Yma meiddiaf ofyn—ym mha lyfr y ceir fod Moses, 'y gwr llarieiddiaf o'r holl ddynion oedd ar wyneb yr holl ddaiar,' yn honi iddo ei hun y fath ddysgeidiaeth? Ai yu y *Cabala?*

"Caniatäwn fod yr hen Aiphtiaid yn blaenori ar y rhan fwyaf o genedloedd y byd ym mhob medrusrwydd celfyddgar; ac o hyn y mae y gweddillion hynafiaeth, a ddygwyd i'r goleu gan Belsoni, ac ereill, yn dystion: ond nid hawdd coelio bod yn oed Iannes a Iambres yn ddewiniaid, yn ol ystyr y gair gan Sefnyn, sef, yn perchen galluoedd i dreiddio i ddirgeledigaethau y byd anweledig, mwy na *Lee Sug*, neu unrhyw hudolwr crwydraidd arall yn ein dyddiau ni. Byddai credu bod dewiniaeth y Cabala, yn ol ystyr Sefnyn, yn syrthiad i gyfeiliornad Zoroaster a'i ddilynwyr, y rhai a ddalient fod dau hanfod neu ysbryd anymddibynol yn rheoli y byd, un yn ddaioni perffaith, a'r llall yn ddrygioni digymmysg; a'r ddau hyn yn ymdrechu yn wastadol yn erbyn eu gilydd. Ond ein cred ni ydyw—nad oes ond un Iehofah, ac na rydd hwnw 'ei ogoniant i arall, na'i fawl i ddelwau cerfiedig;' nac i unrhyw egwanbwyll dychymmyg dyn. Nid oedd y *ddewines* o Endor yn dysgwyl y mymryn lleiaf y cyfodai Samuel wirioneddol i ymddyddan â Saul. Ei dewiniaeth hi a fuasai gosod cydweithredydd i ddynwared Samuel, ac, fe allai, i addaw i Saul fuddugoliaeth gelwyddog ar fynyddoedd Gilboa. Ond daliwyd yr hudoles yn ei rhwyd ei hun. Cyffelyb hudoliaeth a arferwyd yn yr holl oraclau paganaidd—yn Dodona, yn Delphi; ie, yn Ffynnon Elian, a manau ereill. Twyll ac ofergoel yn gorfoleddu tros wendid synwyrau dynion.

"Yr oedd Moses mor ddysgedig ag Aiphtiaid ereill yn ei oes, mor gyfarwydd swynwr, fe allai, ag un o ben-hudolion Pharo; ond gwedi iddo weled yn Horeb y berth yn llosgi, ac heb ei difa, fe aeth holl ddoethineb

yr Aiphtiaid yn ffolineb yn ei olwg ef. Gwedi myned yn genadydd Iehofah at Pharo, yr aeth efe yn 'nerthol mewn geiriau ac mewn gweithredoedd.'

"Gwelwch farn Duw, ac yn ganlynol, farn Moses hefyd, am ddewiniaeth yr Aipht a'r Cabala, yn *Deut.* xviii. 9: 'Na ddysg di, Israel, wneuthur yn ol ffieidd-dra y cenedloedd. Na chaffer ynot a wnelo i'w fab, neu i'w ferch, fyned trwy y tân; neu a arfero ddewiniaeth, na phlanedydd, na daroganwr, na hudol, na swynwr swynion, nac a geisio wybodaeth gan gonsuriwr, neu frudiwr, nac a ymofyno â'r meirw.'

"Pe buasai Balaam mor ryfygus a rhegu Israel oddi ar uchelfëydd Baal, ni buasai hyny ond hudoliaeth geiriau ac amneidiau, i siomi Balac anwybodus. Ni thardda gallu i wneuthur dim sydd oruwch-anianol, ond oddi wrth ffynnon pob gallu, y Iehofah ofnadwy. Ni waeth heb alw ar Baal, na Micob, nac Oberion; canys ni ddichon i'r cysgodion gau nac 'ateb nac ystyried'—y maent yn cysgu, ac nis gellir eu deffro. Cysged pob ofergoel gyda hwynt.

"Rhedais i fwy helaethrwydd ar 'ddewiniaeth Moses' nag a fwriedais ar y cyntaf; yn wir, ni buasai achos i mi ddywedyd un gair, o herwydd bod Moses yn alluog i amddiffyn ei hun yn ei ysgrifeniadau.

"Af ym mlaen ychydig eto. Tudal 65: 'Oddi wrth eiriau Pliny yr Hynaf, gallwn feddwl fod *dewiniaeth* gan yr *hen Gymry* mor gynted, neu gynt nag un genedl arall dan y nefoedd; o blegid y mae efe yn dywedyd, mai yr *hen Gymry* a ddysgodd ddewiniaeth i'r Persiaid. Ac oddi wrth hyny yr ydys yn gweled yn dra eglur, fod yr *hen Gymry* yn *ddewiniaid* dewrion cyn erioed i'r Israeliaid wybod am y fath beth.'

"Arwyddnod rhyfeddod, o faintiolaeth anghyffredin, a fyddai yr ateb teilyngaf i'r fath ddaliadau!! Y mae yr awdur wedi urddo 'yr hen Abraham, y cyntaf o genedl yr Israeliaid,' eisoes yn *ddewin*. Ym mha wlad, gan hyny, yr oedd Cymry Pliny yn cyfanneddu pan symmudodd Abraham allan o Ur y Caldeaid?

"Tudal. 66: 'Mae Ammianus yn dywedyd bod y

ddawn brophwydoliaethol gan yr *hen Gymry.* Fe ymddengys bod y ddawn nefol hòno wedi parhau yn eu mysg hyd *y bymthegfed ganrif ar ol Crist*, i ryw raddau.'

• "Y mae yr awdur yn amryfuseddu ychydig yma yn ei amseryddiaeth—gan ei fod yn galw y blwyddau yn ol 1500 o oed Crist, yn bymthegfed ganrif; ac eglur yw mai yr unfed ar bymtheg ganrif yr oedd efe yn ei feddwl: o herwydd mai yn yr oes hòno y diffoddodd y 'ddawn nefol,' neu 'brophwydoliaethol' ym mhlith yr *hen Gymry*, pan wadodd Harri yr 8fed awdurdod y *Pab*, a phan newidiodd Edward y VI. a'i chwaer Elisabeth y grefydd *Babaidd* am y Brotestanaidd; ac felly, ym marn yr awdur hwn, newid goleuni am dywyllwch, a cholled o'r 'ddawn nefol' o 'brophwydoliaeth' yn y fargen! Gallasai, er na feiddiodd, chwanegu, bod y ddawn eto yn parhau yn yr Eglwys Rufeinaidd, gan mai tystion byw o hyn yw yr offeiriedyn Carrol, yn yr Iwerddon, a'r Tywysog Hohenloe, ym mha wlad bynag y mae yn crwydro i chwilio am broselytiaid.

"Ni cheisiaf onid un sylwiad ym mhellach, 'ar y colledion a fu i'r byd am lyfrau dewiniaeth, &c., yn yr ail ganrif gan Lucius (Lleirwg), yr hwn frenin a osododd Esgobion Cristionogol ar y Brytaniaid, a'u swyddau yn benaf oedd, yn ol ei archiad, i ddinystrio pob peth allan o'r wlad oedd berthynol i orchestion yr hen Gymry, mewn *prophwydoliaeth* ac anianyddiaeth, &c., fel y gallent yn ganlynol adael y bobl yn *dywyll* am weithredoedd eu cyndadau. Gwelir yn y Testament Newydd, *Act.* xix. 19, bod *Paul* wedi gorchymmyn yr un fath, i losgi holl orchestwaith y Philosophyddion cenedlig. Tudal. 67: 'A'r un aflwydd a ddygwyddodd i'r Gwyddelod yn y bummed ganrif, y pryd y darfu i Padrig, y Cymro, fyned i bregethu iddynt, gorchymmynodd losgi 4 mil o'u hysgriflyfrau, y rhai oedd yn cynnwys barddoniaeth, anianyddiaeth, a *phrophwydoliaeth* yr hen Wyddelod.'

"Am y cyhuddiad trwm uchod yn erbyn yr *Apostol*,

y mae yn hollol ddisylfaen. Effaith yr Efengyl ar y troiedigion cenedlig, a barodd iddynt, o'u gwir fodd eu hunain, losgi ei llyfrau difudd ac ofergoelus. Ni ymddengys yn y maen prawf (*Act.* xix.), bod yr un gorchymmyn arnynt i wneyd hyny oddi wrth na Phaul nac Apolos. Am y cyhuddiad yn erbyn Padrig, danggoser yn gyntaf dystiolaeth ddïwrthryn, fod gan y Gwyddelod lyfrau i'w llosgi yn nechreuad y bummed ganrif. Ni soniaf air am waith Lleirwg, neu Lles, a'r Lleufer Mawr, a Chystenyn Fawr, yn llosgi llyfrau prophwydoliaethau cenedlig, nac am 'lyfr Enoch a ysgrifenwyd rai cannoedd cyn geni Crist.'

"Nid o anian gynhenus, fy nghyfaill, yr adroddais y sylwiadau blaenorol ar destynau y llyfryn a fenthyciasoch i mi; ond o ewyllys diragrith i helaethu cyfyngder meddyliau fy nghydwladwyr, fel na byddo iddynt gael eu 'cylcharwain â phob awel dysgeidiaeth, drwy hoced dynion.' Ac na byddo iddynt dybio yn rhy uchel o'u cenedl, eu hiaith, a'u doniau eu hunain, ar draul geirda un genedl arall. Dywedwyd, fel y sylwais eisoes, am y Prif Farwn parchwiw, bod ei ddoniau ef—

'Yn hynod syndod i Sais.'

Hyn a ddwg yn awr i'm cof, a ddywedwyd gan awdwr yr Awdl fuddugol yng Nghaerfyrddin, yn y flwyddyn 1819, am y milwriad enwog, Syr Thomas Picton:—

'T'rawai ergyd trwy wir-gais,
Rhyfeddu, synu wnai Sais.'[1]

Paham yr holl ddifrïaeth yma i'r Seison? A ddarfu i'w cyndeidiau hwy ddifuddio ein hen deidiau ni o frasdir Lloegr? Bai pwy a fu hyny? Meddaldra, hygoeledd, ac anian gwerylus y Cymry yn eu plith eu hunain. Mawrdda iddynt o'u hanffawd. Hwy a dderbyniasant eu cyflog gyda llog. Y mae y Seison Prydeinig heddyw yn genedl mwyaf galluog, mwyaf

[1] [Gweler *Cyfrol* i. 88.]

celfyddgar, mwyaf doniol dan haul. Ymaith gan hyny â'u difrïaeth hwynt. Gadawer pob iaith anweddus, hoced hunanol, a 'balchder heb droed' i sefyll arno, i anwariaid y diffaethwch, ac i * * *"

"Aro! yn wir, fy nghyfaill, yr wyf mewn petrusder mai *Seisnes* oedd eich mam—o ran * * *"

"Nid felly—yr oedd gan fy mam i donen mor felen, llygad mor ddu, a cherddediad mor anwastad, ag sydd gan un Gymräes o fewn terfynau Gwrtheyrnion."

Ar hyn, terfynodd y Gynnadl, drwy anynadrwydd fy nghyfaill ac * * *

# YMDDYDDANACH GWYDDON A CHANHEBON.

## Y SER LLOSGYRNOG.

---

### YMDDYDDAN I.

CANHEBON. Cyfarfod o hedd i ni, fy nghyfaill; a hoff a fyddai genyf glywed eich barn am y *Ser Llosgyrnog* y mae cymmaint o son am danynt yn y misolion, wythnosolion, a dyddiaduron yr oes. I ba le yr aeth y seren hòno a brophwydwyd am dani yr ymddangosai yn Hydref a Thachwedd diweddaf?[1] Yn y misoedd hyny mi a ddringais bob nos oleu wybr-lasog i ben Bryn y Castell, gan ddysgwyl ei chanfod y naill nos ar ol y llall; ond ni welais i, heb law y ser arferol, gymmaint a llygedyn o dân ellyll. Pa fudd ydyw i rith-ddoethion hudo a siomi y gwerin anwybodus fel hyn?

GWYDDON. Gwelwyd dwy o'r ser hyn yng nghorff y flwyddynd diweddaf, gan gyflawnu y brophwydoliaeth am danynt.

CANHEBON. Gan bwy? ac ym mha le? Nid oddi ar ben Bryn y Castell, mi a wnaf fi hyny yn dda.

GWYDDON. Arafa, fy nghymmydog, a gwybydd nad oes yr un o'r ddwy seren yn weledig i'r llygad moel, oddi ar ben Bryn y Castell, nac oddi ar ben un bryn arall ar wyneb ein daiaren.

CANHEBON. Pw! pw! Ond a oes gan y doethion enwau ar y ser hyn, fel ar y Twr Tewdws a Llathen Fair?

GWYDDON. Oes: un o'r ddwy uchod a alwant Seren *Encke*. Canfuwyd hi gyntaf gan M. Pons, Tachwedd

[1] [Hydref a Thachwedd, 1832.]

6ed, 1818; ac un *Encke*, sywedydd cyfarwydd ar y cyfandir, eglurydd penaf ei pherthynasau, a gafodd yr anrhydedd o fod yn dad bedydd iddi; fel *Americus Vespucius*, yn lle *Columbus*, am enw y byd newydd, *America*. Seren Encke a gyflawna ei chylchdaith hirgrwn o amgylch yr haul mewn tair blwydd a phymtheg wythnos: amseriad ei hagosrwydd mwyaf at yr haul y llynedd oedd y pedwerydd dydd o fis Mai, a gwelwyd hi y pryd hyny ym Mhenryn Gobaith Da, gan Mr. Henderson. Yr ail o'r ddwy a elwir Seren *Biela*, gan mai swyddog milwraidd o'r enw a'i canfu gyntaf yn Awstria, ar yr 28fed o Chwefror, 1826: ei chylchdaith o amgylch yr haul a gyflawnir mewn chwe' blwydd, a 38 o wythnosau: ei *pherihelion* oedd ar y 27fed o Dachwedd diweddaf, y pryd yr oeddych chwi yn llygadrythu yn ofer ar ben Bryn y Castell.

CANHEBON. Digon bellach am y ser anweledig i mi a'm math; ond a wyddys am amseriad neu dymp cylchdeithiol y ser cynffonog gweledig i'r llygad noeth, sef ym mha nifer o flwyddau y cyflawnant eu teithiau wybrenol drwy yr eangder anfesuradwy?

GWYDDON. Nid oes sicrwydd, medd rhai, am amser cylchdroad yr un o'r ser gweledig i'r llygad, ond yr hon a enwir Seren *Hali*, a alwyd felly oddi wrth y sywedydd dysgedig *Dr. Halley*.

CANHEBON. Byddwch mor fwyn, atolwg, a rhoddi i mi beth o hanes y seren hon.

GWYDDON. Soniaf yn gyntaf am un seren neu ddwy o flaen un Hali, o herwydd iddynt ei blaenori. Ymddangosodd un o'r rhai hyn ym mis Mawrth, yn y flwyddyn 1402, ac y mae genym dystiolaeth a darluniad *Cymreig* am dani, yng *Nghywydd y Seren*, gan *Iolo Goch*. Sonia y bardd yn ei gywydd am dair o ser hynod: y gyntaf a arweiniodd y doethion o'r Dwyrain i Bethlehem Iudea:

"Yr ail a fu oreu-lamp
I Uthyr gynt, aeth â'r gamp;
Gwr rhwydd, gwnaeth gwaew rhudd-ddellt
Gwaed ei elynion i'r gwellt.

"A'r drydedd, cymmyredd ced,
I *Wynedd* wiw a aned,
Yn anian fawr, yn un fodd
Unsail, ac yn un ansodd;
Yn gànaid ruddel felen,
Yn gadr ei phaladr a'i phen;
Ni bu er talm, wiw-salm wedd,
Ser iawn i sir o *Wynedd*,
Ond y seren y leni
Y sydd o newydd i ni!
* * * * * *
Uchel y mae uwch law Mon,
Yng ngolwg yr angylion:
Piler o aur gorau-ryw,
Post o gwyr o'r awyr yw.
Y naill a gawn, gwiw-ddawn gwŷr,
Ai *Pab*, ai *Brenin* pybyr—
Breain, hael am win a medd,
Dewr a gawn o dir Gwynedd," &c.

Deallir wrth y cywydd hwn mai seren dra hynod oedd—*euraid* ei lliw, ac yn y *gorllewin:* ond nid athrylith serydddawl a annogai y bardd i ysgrifenu, ond yn hytrach awydd i chwanegu calondid Owain Glyndwr a'i bleidwyr yn y gwrthryfel aflwyddiannus yn erbyn Harri y Pedwerydd, gormesydd coron Prydain. "Coel hen wrach yn ol ei hewyllys," medd yr hen ddiareb; a mynai Iolo i'w wladwyr gredu bod y seren yn arwyddo llwyddiant iddynt: ond gwaeth, ac nid gwell, a fu ar y Cymry gwedi yr ymdrech aflwyddiannus.

CANHEBON. Ai nid ydych yn coelio bod Iolo Goch yn fardd ac yn brophwyd?

GWYDDON. Coeliaf ei fod yn fardd, ac yn un o brophwydi Baal.

CANHEBON. Ai nid ydych yn credu bod Duw yn anfon y ser hyn o flaen rhyw ddygwyddiad hynod ar y ddaiar? Mi a ddarllenais yn y *Gwyliedydd* am y mis Tachwedd diweddaf yn y byd, i "seren gynffon" ymddangos yn y fl. 1456, o flaen daiargryn yn Itali, lle y collodd deugain mil o bobl eu bywyd; ac un arall yn y fl. 1607, o flaen tymmestloedd mawrion, a gauaf caled; a llawer o'r fath wedi hyny.

GWYDDON. Nac wyf fi yn coelio dim o'r fath freuddwydion ofer.

CANHEBON. Beth! ai ni choeliwch bod "y Mawredd" yn anfon i ni rybuddion o flaen ei farnedigaethau?

GWYDDON. Coeliaf: bod yr Arglwydd yn ein rhybuddio ni trwy ei Air dadguddiedig, trwy gynhyrfiadau ei Ysbryd, a llewyrch cydwybod y fynwes; ac oni chredwn Moses a'r prophwydi, ni chredem chwaith ped ysgydwai seren ei fflangell losgyrnog uwch ein penau ni yn flynyddol. Nid yw ymddangosiad seren gynffonog yn arwyddo dygwyddiadau i ddyfod, mwy na diffygiadau yr haul a'r lleuad: y maent oll yn gweini mewn ufudd-dod i'w Crëydd mawr Ollalluog, heb fod yn arwyddion tyngedfenol mwy na chodiad yr haul, a newidiad y lloer.

CANHEBON. Wel! os nad yw y ser llosgyrnog yn arwyddion o ddaiargrynfäu, haint y nodau, gauaf caled, a rhew mawr,—fe gredir yn gyffredin eu bod yn dwyn gyda hwynt *haf* a *chynauaf* sych a gwresog: beth yw eich barn chwi am hyn?

GWYDDON. Ofergoel yw hyn hefyd. Yr oeddynt gynt yn coelio, ac yn eu plith yr enwog Syr Isaac Newton, bod y ser llosgyrnog o sylwedd llawer mwy durfing na'n daiar ni, ac o ganlyniad, bod rhai o honynt yn cynnwys gwres anghyffredadwy. Bwriodd Syr Isaac Newton ei amser i ddyfalu bod y seren 1680, pan oedd agosaf at yr haul, ddwy fil o weithiau yn boethach na haiarn gwynias. Ond cyfaddefir yn yr oes hon, nad oes gan y doethaf o ddynion sail i wybod pa un ai brwd ai oer yw y ser llosgyrnog eu hunain; a haerir nad ydynt o sylwedd durfing; canys trwy wydrddrychau darganfyddir rhai o'r ser sefydlog sydd yn eithafoedd yr eangder mawr, nid yn unig drwy ganol llosgyrnau rhai o'r ser hyn, ond trwy eu penglogau hefyd: dir felly mai casgliadau o ddefnyddion awyrol tryloewon ydynt. Ac os dygwydd i seren losgyrnog ymddangos ar haf sych a phoeth, ni ddylem gyfrif mai y seren yw achos y gwres; ond yn hytrach mai eglurder yr awyr ar y fath hinon, a fu achlysurol i ganfod y seren, yr hon a allasai fyned heibio yn ddisylw, pe buasai yr haf yn llaith a'r awyr yn niwlog.

CANHEBON. Rhoddwch hanes y seren nesaf at "*Seren Owain*," fel y galwai y beirdd hi.

GWYDDON. Y nesaf a soniaf am dani, a elwir Seren *Olbers*, oddi wrth enw y sywedydd a sylwodd fanylaf arni, yn y fl. 1815, er iddi ymddangos bum gwaith cyn hyny; sef yn y blwyddau 1456, 1528, 1600, 1672, a 1744. Y mae hi ddeuddeg a thri ugain mlynedd yn myned o gylch yr haul. Nid wyf yn gwybod am sylwad arni cyn y fl. 1456. Yn y flwyddyn hòno canwyd iddi gan Ieuan ab Rhydderch ab Ieuan Llwyd o Ogerddan. Yn y fl. 1744, hi a barhaodd yn amlwg drwy y misoedd Rhagfyr, Ionawr, a Chwefror. Os chwanegir blwyddau ei chylchdro (72) at 1815, hi a ymddengys eto yn y fl. 1887. Bydd llawer dyn ffroenuchel â'i ben yn isel cyn hyny.

Y nesaf yw Seren *Hali*, a grybwyllwyd o'r blaen; ei chylch a ofyn 76 o flwyddau i'w gyflawnu. Ei hymddangosiad cyntaf a sylwyd arno, a fu yn y fl. 1531; yr ail yn 1607; y trydydd yn 1682, y pryd y sylwodd, y myfyriodd, ac yr ysgrifenodd *Hali* arni yn helaeth; ac wedi penderfynu tymp ei chylchdro, efe a ragfynegodd y byddai ei hymddangosiad nesaf yn y fl. 1757. Bu farw *Hali* yn 1742, heb gael aros i weled cyflawniad ei brophwydoliaeth. Y fl. 1757 a ddaeth ar olwyn amser, ac a aeth heibio at y blwyddau cyn y diluw, heb i'r seren dramwy i'r golwg. Ond chwareu teg i'r prophwyd; efe a rybuddiasai ei ddarllenwyr y byddai llwybr y seren yn dra chyfagos i'r planedau mawrion Iau a Sadwrn, ac y gallai y rhai hyny, yn enwedig Iau, ei lluddias i hwylio mor gyflymwyllt ag arferol, ac o'r achos y gohirid ei hymddangosiad. Yn y fl. 1758, sywedydd cyfarwydd yn Ffrainc a fwriodd alluoedd y rhwystrau ar ffordd y seren, ac a'u cafodd yn gyfatebol i 618 o ddyddiau, gan holi caniatâd o ddeng niwrnod ar hugain ar gyfer camgyfrifiaeth. Y 618 o ddyddiau a gyrhaeddent i ganol Ebrill, 1759; ond y seren a amlygwyd o fewn y 30 dyddiau, gan gyrhaedd ei *pherihelion* ar y 13 o Fawrth, 1759. Chwaneger at rif y flwyddyn hon, gylchdro y seren, sef 76 o flwyddau; a dysgwylir ei

*pherihelion* nesaf a ddygwydd ar yr unfed dydd ar bymtheg o Dachwedd, yn y fl. 1835—dwy flynedd i'r hen galan gauaf nesaf; a hwn a fydd ei phummed ofwyad i'n bydyn ni, ar gof a chadw.

Y mae genym dystiolaeth Cymreig am y seren hon yn y fl. 1531: Risiart Davies, dysgybl barddonol i Lewis Dwn, ac wedi hyny esgob dysgedig Ty Ddewi, a anfonodd yr holiad canlynol at Syr Lewys, gwr cyfarwydd, o Langyndeyrn, ger llaw Caerfyrddin:—

"Syr Lewys weddus, chwi wyddoch—y son
Am *Seren* a welsoch;
Mae'r synwyr mawr sy ynoch?
Pam mae i hon *gynffon goch?*"

ATEB.

"Ysywaeth, *marwolaeth* mawr yw,—tyb agos,
Tebygol mae heddyw;
Marcia'r *haf* nesaf naws-wyw—
Ni bydd hoew-wedd Bonedd byw!"

Ymddangosodd yr Englyn holiad uchod yn y *Greal*, tudal. 166, a dau ereill dan rith ateb, a rhoddir yno y tri i Ieuan Llwyd Sieffrai, uchelwr o Landderfel ym Meirion; ond haws yw coelio mai Esgob Dewi, fel uchod, a anfonodd yr Englyn at Syr Lewys; canys yr oedd Risiart Davies yn ddeg ar hugain oed pan welwyd y seren â'r gynffon goch yn 1531. Yr oedd Ieuan Llwyd Sieffrai yn byw yn fwy diweddar, yn nheyrnasiad y Frenines Elisabeth.

---

## YMDDYDDAN II.

CANHEBON. Rhoddasoch swrn o addysg i mi am y ser gwibiog; o rhynga bodd i chwi, ewch ym mlaen; y ddiweddaf yn eich rhestr oedd Seren *Hali*.

GWYDDON. O ewyllys fy nghalon. Yn y fl. 1680, ymddangosodd "seren losgyrnog fawr" o'r trydydd dydd o Dachwedd hyd y nawfed o Fawrth. Y mae hanes Cymreig am hon hefyd yn *Llyfr Melangell* fel y canlyn:—"Yr Englynion canlynol a anfonwyd i Lundain at Thomas Jones, *Astronomer*, i gael ei wybodaeth am a ddygwyddai ar ol y seren â'r *gynffon fawr* oedd yn ymddangos yn y fl. 1680." Y Thomas Jones hwn a gyhoeddodd yr Almanac Cymraeg cyntaf a argraffwyd erioed, am y flwyddyn o'r blaen, sef 1679. Nid oedd efe ddim ysgolhaig, ond teiliwr wrth ei gelfyddyd, ac o enedigacth o Dref y Ddôl, ym mhlwyf Corwen, yn Edeyrnion. Syr Rhys ab Cadwaladr, o'r *Coleds*, yn nhref Conwy, a yrodd ato ef yr Englynion hyn.

Y pum englyn cyntaf a dreulir mewn canmoliaeth i'r sywedydd; yna y canlyn—

"Llafuriaist, gyraist o'r gorau—dy lyfr,
Er dylifaw gwyrthiau,
Ni wnai undyn cyndyn, cau,
Fyth bythol y fath bethau.

Beth yw'r *wen seren* y sydd—yn dangos?
Rhyw dynged a ddygwydd?
Dywed rywbeth—dod rybudd
O'th gelfyddyd—pa fyd fydd?

Ai arwydd yw hon a yred—ddyeithr iawn,
Oddi wrth Dduw gogoned?
Ai piler sy'n crynu Cred?
Ai post i ostwng Papistiaid?

Ai *nodau* dychrynedig—rhy afiach?
Ai *rhyfel* gwenwynig?
Ai gloes ar wŷr eglwysig?
Ai *newyn*—tân, hynod dig?

Ai arwydd o lwydd i lin—gwr oesawl
Ein grasusaf frenin?
Aed pob mab megys Iabin
Fyddo bla iddo Ef blin.

Ai rhyw amldra *bla* i blith—da carnol?
Ai *cornwyd* yn dewfrith?
Ai llawnder dichwerwder chwith
A dyf undeb da fendith?

Coded Siarls Eilfed, sy sylfaen—y grefydd
Yn gryfach na Rhufain;
Na bo i drist Babist ben,
Na llawen-dai yn Llundain.

I'r *Coleds* llon yn Nhref Gonwy,—Thomas,
Tan ammod dyladwy,
Gyrwch ateb a garwy'—
Cewch anfarwawl fawl fwy."

SYR RHYS AB CADWALADR *a'i cânt.*

CANHEBON. Dyma Syr Rhys, a Syr Lewys o'r blaen, gadarn eu cred bod y ser llosgyrnog yn arwyddion blaenorol o farnedigaethau; pa fodd, gan hyny, yr haerwch mai ofergoelus yw y fath gred? Ai marchogion urddol oedd y ddau hyn?

GWYDDON. Nag e; offeiriaid dan urddau oeddynt, ond heb dderbyn graddau yn y prif athrofäu; Syr Lewys yn offeiriad pabaidd, a Syr Rhys yn offeiriad diwygiedig.

CANHEBON. Nid wyf fi o'r farn bod y diffyg graddau hyn, yn arwydd o ddiffyg gwybodaeth.

GWYDDON. Na minnau chwaith.

CANHEBON. Yr oeddynt, meddwch, yn offeiriaid, ac felly yn wŷr o ddysg, yn weinidogion yr Efengyl; ac a feiddiwch chwi gyfrif y fath ddynion yn ofergoelus?

GWYDDON. Beiddiaf! heb yr ammharch lleiaf i ddysg a dawn, os dalient egwyddorion cyfeiliornus eu hynafiaid Paganaidd a Phabaidd. Ac, ysywaeth, y mae yn ein hoes ni, chweithach yn yr oesau tywyll gynt, bregethwyr yn gystal a gwrandawyr y Gair mor ofergoelus ar bynciau anianyddol, ag yw gweledyddion y *cyhyraeth* yn Nyfed, neu yr *ail olwg* yn Ucheldiroedd yr Alban.

CANHEBON. Nis gwyddwn i o'r blaen eich bod mor gyndyn mewn anghrediniaeth; ef allai nad ydych yn credu y medr Idris Cybi,[1] neu yr athraw o Ben y Ffordd Wen, ragfynegu y tywydd a'r hinon, y gwres a'r rhew, yn ystod y flwyddyn nesaf, oddi wrth dremiadau gwgus neu degweddol y planedau.

[1] [Y diweddar Robert Roberts, o Gaergybi, awdur y *Daiaryddiaeth*, &c.]

Gwyddon. Poed diogel i chwi nad ydwyf yn coelio y medrant, mwy na'u cyfeillion—"*Paddy's Watch*," neu y "*Northern Witch*." Ac fe ŵyr Idris hyny yn dda, ond ei fod yn gweled yn angenrheidiol ddywedyd rhyw beth ar amcan, i foddio ei brynwyr anwybodus, bydded gwir, bydded gelwydd. Y mae ganddo ef a'i gydfrodyr y brudwyr, yr un fath ergyd ar ddis, ar eu tu, ag y sydd gan fachgenyn pan floeddio "*King*" o hyd ei ben, y pryd y teflir dimai i fyny i'r awyr gan ei gydchwarëydd: damwain yw y cwbl yn y naill fel y llall.

Canhebon. *Anghred* eto! Ni choeliwch, ef allai, bod dynion a merched yn cael drygu eu hiechyd hyd angeu, o waith pobl ddrygionus yn eu hoffrwm i Ffynnon Elian.

Gwyddon. Na choeliaf, mwy nag y coeliwn chwi, pe dywedech mai caws gwyn yw defnydd y lleuad.

Canhebon. Chwi a adwaenech fy modryb, Elen Evan o'r Glyn, a rhyw wrach o gymmydoges iddi, na ŵyr neb am ba beth, a'i hoffrymodd i Ffynnon Elian, a hi a gollodd ei hiechyd, ac a fu farw o wendid ysbryd.

Gwyddon. Gwir! hi allasai farw o wendid ysbryd, ond ei choel ei hun a'i lladdodd, heb ddim bai ar Ffynnon Elian, mwy nag ar Ffynnon Gwenfrewi, neu Glochdy Pawl yn Llundain, neu Rys y Crythor sydd yn llwch a lludw er ys dau can mlynedd. "Yr *hai* a laddodd yr hwch," medd y ddiareb; felly ofergoel a gwendid ysbryd sydd yn nychu yr afiach a dybio ei hun yn rhegadwy ac yn rhegedig i Ffynnon Elian.

Canhebon. Ni waeth tewi; ond gofynaf eich nawdd am eich tynu yn amryfus oddi ar destyn y *Ser Llosgyrnog*. Pwy a welodd gyntaf y seren hynod hòno yn y fl. 1680?

Gwyddon. Y Dr. *Hali*, ar y môr rhwng Lloegr a Ffrainc.

Canhebon. Pa ateb a roddodd Thomas Jones, *Astronomer*, i Syr Rhys ab Cadwaladr?

Gwyddon. Chwi a'i gwelwch yn ei Almanac am y flwyddyn 1681. Diammheu iddo ddarogan hylldod o

ddamweiniau cyffröus, cyffelyb i rai Ffransis Mŵr, y Meddyg.

CANHEBON. Wrth i chwi son am y *meddyg*, ef allai na choeliwch, gan faint eich anghrediniaeth, y medr dynion "fwrw dwfr," a dywedyd wrth graffu arno, pa anhwyl sydd yn nychu yr afiach.

GWYDDON. Na choeliaf byth! Ni ŵyr y swynwr, pe dywedai y gwirionedd, ddim rhagoriaeth rhwng dwfr dyn a dwfr un o bedwarcarnolion y ddaiar. Myn y meddyg gwybodus a dysgedig *weled y claf* cyn y rhoddo ei farn am ei glefyd, ac y cyfaddaso ei gyffyriau i'w iachäu, os bydd iechyd yn gyrhaeddadwy; ond y cyfrwys-ddyn, na fedr ond prin ysgrifenu ei enw, na silladu yn gywir dri gair yng nghyd, nac yn Gymraeg nac yn Seisneg, a ryfyga brophwydo clefyd yr afiach, drwy lygadrythu ar ei ddwfr mewn gwydryn; ac a enfyn iddo am goron neu chweugain o arian gyffyriau o werth ychydig geiniogau, os, yn wir, y byddant o werth yn y byd. Pa bryd y deffry ein cenedl o gwsg anwybodaeth? Nid ydym yn gwella nemor mewn dealltwriaeth, er amled ein hysgolion, ein cymdeithasau Cymreigyddol, ein misolion, ein *Penny Magazines*, a'u cyfieithiadau, lluniau llewod a chathod, i beri i blant ryfeddu.

CANHEBON. Wel! wel! y mae fy ofergoeledd i yn dechreu gwanhau; ond goddefwch i mi ofyn i chwi un holiad eto. A ydych chwi yn credu yn Nadguddiadau y Bibl?

GWYDDON. Bydded yn ddiogel genych fy mod yn credu ynddynt, ac ar hyny yr ydwyf yn sylfaenu fy *an*ghrediniaeth mewn ofergoelion: ac y mae cymhwylliadau ystyriol yn fy nghadarnhau yn fy *nghrediniaeth* yn un a'm *an*ghrediniaeth yn y llall. Nid oes ond yr ynfyd a ddywed yn ei galon, "Nid oes un Duw." Ac os oes, y mae Efe yn gyfiawn: ac ni byddai gyfiawn pe caniatäi allu i annuwiolion ddrygu iechyd eu cymmydogion diniwaid, trwy unrhyw swyn, na chyfaredd, nac offrwm; trwy ddwfr na thân, na ffynnon na mynydd. Pa amryfusedd cyfeiliornus, gan hyny, yw i

ddyn a ymhono gredu yng ngwirioneddau y dadguddiadau Duwfol, goelio bod y fath beth ag iachäu neu ddrygu neb drwy unrhyw swyngyfareddion. Darllenwch eich Bibl—*Deut.* xviii. 10, 11, 12; *Lef.* xix. 31; *Act.* xiii. 10, 11; *Gal.* v. 20; *Dad.* xxi. 8.

CANHEBON. Well wel! digon yw hyn; chwi a'm gorchfygasoch â rheswm. Ewch ym mlaen eto ar y "*Cometau*," fel y galwai yr hen Ficar o Lanymddyfri y ser llosgyrnog. Pa rai a ymddangosodd nesaf i un Syr Rhys ab Cadwaladr?

GWYDDON. Seren *Hali*, ym mhen dwy flynedd, sef yn 1682. Cofiwch i mi ei chrybwyll eisys, gan enwi blwyddau ei chylchdro o'r fl. 1531, bob 76 o flwyddau, hyd fl. 1759: ac os byddwch byw yn Nhachwedd a Rhagfyr, 1835, ewch i ben Bryn y Castell, ac ond odid chwi a gewch olwg ar Seren *Hali*. Y seren hynod nesaf a ymddangosodd yn y fl. 1770. Barnai sywedyddion yr ymwelai â'n daiaren drachefn ym mhen pum mlynedd a hanner; ond hi a'u siomodd. Tybir iddi, ar ei llwybr, nesäu mor agos i'r blaned bwysig *Iau*, fel ag y bu sugn-dyniad y blaned arni anhwylio ei chylch a'i danfon na ŵyr neb i ba le. Bernid iddi hefyd ddyfod yn nes at y ddaiar nag un seren arall a fu o'i blaen; a llawer a ofnent ei dychweliad ar ei heil-gylch, rhag dygwydd iddi ddyfod yn gymmydoges *rhy* agos.

CANHEBON. Pa nifer o flwyddau sydd er pan welwyd y seren ryfeddol hon?

GWYDDON. Rhwng 62 a 63 o flynyddau.

CANHEBON. Ho! yr wyf yn ei chofio; y seren walltog *gyntaf* a welais i erioed oedd hi, a'r *ddysgleiriaf* hefyd. Yr oeddwn yn wyth oed, a chan faint y son am y seren, mi a godais oddi ar fy ngobenydd ddau o'r gloch y boreu i'w gweled, ac ni bu edifar genyf. Yr wyf yn cofio ei dull a'i gorsaf; yr oedd yn y deddwyrain, ychydig o raddau goruwch y terfyngylch.

GWYDDON. Bu hon cyn fy ngeni i; y rhai dysgleiriaf a welais i oeddynt yn y blwyddau 1811 a 1823. A oeddych chwi yn gweled y seren 1770 yn hynod o'r llosgyrnog?

CANHEBON. Oeddwn, yn hynod o barth ei dysgleirdeb, a'i llosgwrn, tybiwyf, ychydig yn hwy na hyd y *Llathen Fair*, fel y gelwir tair o'r ser sefydlog. A ydyw eu llosgyrnau yn gyffredin yn hwy na Llathen Fair, neu lathen teiliwr?

GWYDDON. Dywedir fod Seren Syr Rhys ab Cadwaladr yn 1680, yn hynod o ran hyd ei llosgwrn. Pan y byddai ei phen yn ymachludaw is dibyn daiaren, byddai ei llosgwrn yn parhau i gyrhaedd y nenbwnc uwch ben, deg a phedwar ugain o raddau; a hyny, medd y cyfarwydd mewn rhif a mesur, yn saith ugain ac un o filiynau o filltiroedd.

CANHEBON. A welwyd llawer o'r gwibiaid awyrol hyn yn ddiweddar?

GWYDDON. Rhwng y blwyddau 1803 a 1831, gwelwyd pedair a deugain.

CANHEBON. Rhyfeddol!

GWYDDON. Ië! Rhyfeddol yn wir yw holl waith, threfniant, a rhagluniaeth y Creawdwr Oll-ddoeth ac Ollalluog! Pa fodd y geill dyn, a grewyd allan o lwch y ddaiar, syrthio yn ddigon isel ger bron gorsedd y Perydd mawr a drefnodd nifer anghyfrifadwy o fydoedd dysglaer i redeg eu cylchau yn yr eangder anfesuradwy, ac i wibio drwy eu gilydd er eu crëedigaeth hyd y dydd heddyw, heb beri yr annhrefn na'r anghyssondeb lleiaf yn eu plith; ac a barhânt i weinyddu i ogoniant eu Creawdwr, nes y gwelo Efe achos i wneyd cyfnewidiad yn ei waith ei hun!

## ATEBION BACH BUDDUGRE.[1]

SYLWAIS fod eich Rhifyn diweddaf yn dra llawn o ofyniadau ar destynau amrywiol; ac o ran bod genyf awr hamddenol, rhoddwch genad i mi eu hateb olynol, yn ol eu cyflead.

I. Gan *Alarch Tegid*, yn gofyn—

"Pa ragoriaeth sydd rhwng *Cromlech* a *Charnedd?*"

1. *Cromlech* y gelwir maen mawr, neu lech, yn gorphwys ar ddau, tri, neu ragor o golofnau; megys y rhai ger llaw y Plas Newydd ym Mon, ac yn agos i Bentref Ieuan[2] yn Nyfed, ac amryw fanau ereill. Y goel fwyaf coeliadwy am danynt ydyw—iddynt gael eu gwneuthur gan y Derwyddon, i ddyben crefyddol, cyn geni Crist. Y mae arwyddocâd yr enw, *cromlech*, a'i gwasanaeth crefyddol neu wladol, wedi peri ymrafael nid bychan ym mhlith ysgrifenyddion; ond rhaid cyfaddef, eu bod hyd yn hyn, yn lle goleuo, yn hytrach yn tywyllu gwybodaeth.

2. *Carnedd* ydyw casgliad neu bentwr o geryg, ar lun mwdwl penisel, wedi eu taflu yng nghyd yn yr hen oesau, ar ryw achos penodol; ond amlaf, er coffâd am ryw benadur urddasol, a roddasid i orwedd dan y cruglwyth. "A hwy a gymmerasant Absalom, ac a'i bwriasant ef mewn ffos fawr yn y coed, ac a osodasant arno *garnedd* geryg fawr iawn" (2 *Sam.* xviii. 17). Wrth agoryd carneddau yn amryw barthau o'r ynys y ceir ynddynt gistfeini, yn cynnwys esgyrn a lludw, sef gweddillion y rhyfelwyr llosgedig. Parch i ddyn oedd cael carnedd arno gynt; ond wedi derbyniad Cristionogaeth i'r ynys, aeth y parch yn ammharch; ac o hyn y tarddodd y dywediadau—"Carn-lleidr," "Carnbutain," "Carn ar dy wyneb," &c.

[1] [Dan y ffugenw *Bach Buddugre* yr atebodd yr Awdur swrn o ofyniadau yn y *Gwyliedydd* am y flwyddyn 1824.]

[2] [Ym mhlwyf Nanhyfer, nid neppell o Drefdraeth, yn swydd Benfro.]

3. *Tomen*, yn ystyr cyntefin y gair, a arwyddocâ bridd-glud, ar lun hanner wy, ac a gyfodwyd ar amrafael achosion. Weithiau yn wyddfa, neu gladdfa i fawrion y ddaiar—ac ynddynt, fel yn y carneddau, y ceir cist-feini, esgyrn, a lludw. Ereill a wnaed yn amddiffyn-fëydd rhag gelynion gormesol, â chloddiau dyfnion, a chaerau o'u hamgylch; megys *Tomen Rhodwydd* yn Ial, ac, fe allai, *Tomen* y Bala hefyd. Y mae crybwyll am adfeiliad *Castell* y Bala, gan un o'n hen dywysogion. Nis gwn ym mha le y gallai y Castell hwnw fod, os nad oedd, o waith coed, ar ben y Domen; yr hwn, pan adfeiliwyd, ni adawai weddillion neu furddynau, megys hen gestyll cedyrn o feini, y rhai ni ellid eu llosgi.

II. Gofyniad *Brithyll* am *Geubren yr Ellyll.*

Dywedir i Owain Glyndwr, pan oedd mewn gwrthryfel yn erbyn Harri IV, brenin Lloegr, fyned hyd Nannau i gymhell ei gâr Hywel Sele i ddwyn arfau gydag ef. Ond ar i Hywel wrthod hyny, Owain a'i denodd i'r goedwig dan ymddyddan, ac ni welwyd mo Hywel yn fyw gwedi hyny. Ym mhen hir ennyd cafwyd ysgerbwd gwr o faintiolaeth Hywel wedi ei guddio yn ei syth sefyll mewn bol hen geubren: a hawdd oedd i'r gwerinos yn y dyddiau hyny ddychymmygu bod ellyll neu ysbryd yn damsang neu yn gwibio o ddeutu y ceubren, lle y gwnaed y fath gyflafan anfad. Gwr boneddig o Sais,[1] a darluniedydd cywrain, a ddaeth i Nannau ychydig o flwyddau yn ol, ac a gymmerodd ddarlun o'r ceubren yn gyfamserol hynod; canys yn y nos hòno y dymchwelwyd yr hen Ellyll-bren i'r llawr gan wynt mawr. Ac o barch i Hywel Sele, yn hytrach nag i Owain Glyndwr, defnyddiwyd coed y pren gan ei berchenog clodwiw, yn ddodrefn addurnawl, blychau,[2] &c.

III. *Carwr Cywirdeb*, ar *Rhuf.* xi. 33.

"*A'i* ffyrdd" mewn rhai argraffiadau o'r Beibl; "*a'u* ffyrdd," yn ereill. Cyrcher i'r iaith wreiddiol i bender-

[1] [Syr R. Colt Hoare, yn 1813.]
[2] [Cymharer Cywydd y "Blwch," *Cyfrol* i. 117.]

fynu ar hyn. Yno y cawn—*τὰ κρίματα αὐτοῦ,—καὶ αἱ ὁδοὶ αὐτοῦ:* h. y., "ei farnau Ef—a'i ffyrdd Ef," sef Duw. Cyssylltiad cyfansawdd unigol yw *a'i*, ac un lluosog yw *a'u*. *A'u* ffyrdd a gyfeiria y meddwl at ffyrdd barnau Duw, yr hyn sydd anghywir; er nad yw yn dwyn ym mlaen un ystyr niweidiol. Y mae y cyfieithiad yn gywir ym mhob argraffiad o'r Beibl, o un yr Esgob Parry yn y flwyddyn 1620, hyd un Rhisiart Morys yn 1746. Nid yw ei argraffiad yn 1752 o'm blaen yn bresennol; ond fy nhyb ydyw, ddarfod i R. M. amryfuseddu yn hwn, a dodi *a'u* yn lle *a'i;* gan fod yr argraffiad 1809 felly, a phob argraffiad ystrydeb Cymdeithas y Beibl gwedi hyny, a bod y golygwyr yn rhwym i ganlyn argraffiad 1752, megys cynllun.

IV. Y mae *Gwilym ab Ioan* yn holi yng nghylch rhyw *blanedau*, ac yn dywedyd,—"Gwelwyd tair o'r cyfryw yn ddiweddar." Y mae yr hen saith blaned, yn ol y rhai y gelwir saith diwrnod yr wythnos mewn amryw ieithoedd, yn *tramwy* yn yr awyr: ond gan fod Gwilym yn dweyd mai *ehedfan* yn yr awyr y mae ei blanedau ef, gellir meddwl nad yr haul, lleuad, Iau, &c., y mae efe yn holi yn eu cylch; ond yn hytrach rhyw luchedau awyrawl, sydd yn ffaglu, yn rhedeg, ac yn diffoddi yn ebrwydd. Awyr gyfansawdd yw yr awyr yr ydym ni ddaiarolion yn anadlu ynddi. Y mae awyryn ennynawl (*inflammable air*) yng nghudd yng nghroth y ddaiar, ac yn ysgafnach ei bwys o lawer na'n hawyr ni. Pan gaffo hwn ei ollwng yn rhydd yng ngwaelod pyllau glo, y mae yn ennyn yn fflam las, yn llosgi dynion fyddont o fewn ei gyrhaedd, ac yn eu lluchio yn engyrth ar i fyny, neu yn hytrach megys corwynt yn eu dwyn gydag ef. Chwythodd ddynion yng Ngwaith Glo Mostyn, ger llaw Treffynnon, flwyddau pell yn ol, o waelod y pwll, i fyny drwy ei eneu i'r awyr; a drylliwyd hwy yn erchyll ar eu codwm eilwaith at y ddaiar. Ysgafnder yr awyr hwn sydd fanteisiol i lenwi chwysigenau mawrion (*balloons*), y rhai o anian a esgynant i'r awyr, gan ddwyn gyda hwynt, yng ngherbyd y gwynt, ddynion, bwydydd,

diodydd, tywod balasarn, &c., i bellder ac uchder rhyfeddol. Yr awyryn ennynawl hwn yw *canwyll cyrff* y Deheudir a'r Alban, a *Will 'wisp* a *Jack 'Lanthorn* y Seison. Gwelir ef ar brydiau yn esgyn allan o fawnog wlyb fel post o dân, ond yn diffodd yn ebrwydd, naill ai trwy ymgymmysg â'r awyr gyffredin, ai trwy ei gyfnewid ei hun trwy losg i awyryn arall.

Y mae mor naturiol i'r defnydd hwn ennynu, pan ymddydolo, ac y cyffyrddo eilwaith â'r awyr gyffredin, ag ydyw i ganwyll wer gynneu pan roddir ei phen mewn tân. Nis gwn yn awr a ydyw yr anianyddion yn cyfrif hwn yn un o achosion y pistylliau dwfr a welir yn esgyn i fyny o'r môr; pa un bynag hyny, y mae yn dra diogel genyf mai hwn yw ansawdd planedau Gwilym ab Ioan.

V. *Ateb i Iorwerth* ar *Robin Ddu a'i Frudiau.*

Mae yn ofidus ystyried bod cenedl y Cymry yn dal ofer draddodiadau eu henafiaid mor wallgofus ag y maent: ond hwyrach nad ydynt yn fwy ofergoelus na chenedloedd ereill dan gyffelyb amgylchiadau; sef, eu bod yn cyfanneddu mewn gwlad fynyddig anghysbell, lle nad oes nemor o fasnach rhyngddynt a'r byd gwybodus i loewi eu meddyliau. Y mae ofergoel y nain yn cael ei gadw yn ofalus yng nghof ei hwyres; ac felly ym mlaen o genedlaeth i genedlaeth, neu o ddyddiau Robin Ddu hyd y dydd heddyw. Nid oes cenedl dan haul, fe allai, yn darllen mwy yn yr Ysgrythyrau na y Cymry ym mhlith eu creigiau a'u mawnogydd. Darllenont gan hyny y Gyfraith yn gystal a'r Efengyl; canys "y ddeddf yw ein hathraw ni at Grist." Ac yn y ddeddf hòno darllener *Deut.* xviii. 10, 11: "Na chaffer ynot . . . . . a arfero ddewiniaeth, na phlanedydd, na daroganwr, na hudol, na swynwr swynion, nac a geisio wybodaeth gan gonsuriwr, neu frudiwr, nac a ymofyno â'r meirw." A *Lef.* xx. 27: "Gwr neu wraig a fo ganddynt ysbryd dewiniaeth, neu frud, hwy a leddir yn farw: â cheryg y llabyddiant hwynt: eu gwaed a fydd arnynt eu hunain." Rhag bod yn euog o'r fath farwolaeth, o hyn allan, gwared genedl y

Cymry, Arglwydd daionus! Canys pe lleddid yng Nghymru bob un sydd yn rhoddi cred a choel i swyngyfaredd, i offrwm yn Ffynnon Elian, i ddarllenwyr tesni i ieuenctyd penchwiban, i hudoliaeth y gau feddyg yn "bwrw dwr" yr afiachus—byddai mwy lladdfa yn ein gwlad nag a fu yng ngwersyll Senacherib, pan laddwyd 185 o filoedd o Assyriaid mewn un noswaith. Darllened y cyfryw hefyd yr hyn a ddywedir am y brenin annuwiol Manasseh, 2 *Bren.* xxi. 6: "Efe a arferodd hudoliaeth a brudiau, ac a fawrhaodd swynyddion a dewiniaid: efe a wnaeth lawer o ddrwg yng ngolwg yr Arglwydd, i'w ddigio Ef."

Y mae prophwydoliaethau a brudiau yn arwain yr un arwyddocâd i'r meddwl: ond wrth eu cymharu, a chwilio i'w hansoddau priodol, mawrygir yr Hollwybodol Dduw o un tu, ac iselir wendid synwyrau dyn o'r tu arall. Prophwydoliaethau a ragfynegent ddygwyddiadau mawrion, a amlygent drugaredd neu gyfiawnder Duw i aneirif filoedd o'i greaduriaid Ef; megys ymddangosiad y Gair tragywyddol mewn agwedd dyn—dychweliad caethglud Israel—cwymp Babilon fawr—dinystr Ierusalem, &c., &c. Ond na ammharchwn ogoniant a mawrhydi IEHOFAH, drwy feddwl yr ymostwng Efe i roddi rhagfynag i freuddwydiwr brudiau, o syrthiad maen allan o fwa porth Eglwys y Wyddgrug, ar ben gwraig feichiog; neu y byddai y byd ar ben pan nythai brân ym mrig onen ar heol y Bala. O! ddiffyg pwyll! O! wendid synwyr dyn! A phe haerid mai o ddiafol y mae brudiau, na rodder y coel lleiaf arnynt, canys "ni safodd yn y gwirionedd, o blegid nid oes wirionedd ynddo ef." Gan hyny, dyger achau brudiau, a phob twyll ac hudoliaeth, at eu gwir rieni, sef tywyllwch y meddwl, ac hygoeledd dynolryw. Y mae yn dra chwith meddwl bod pobl a gyfrifir yn grefyddol, y rhai a fedrant siarad yn hyddysg am ffydd achubol, a gweithredoedd o ufudd-dod, er hyny mor fabanaidd, ac amddifad o reswm cyffredin, a myned at hudol neu hudoles, i gael dadguddio iddynt ddirgelion seliedig. Y mae cariad, sef gwir grefydd,

"yn credu pob dim;" ïe, dadguddiadau Duwfol, a pherthynasau iechydwriaeth enaid. "Na chredwch bob ysbryd, eithr profwch yr ysbrydion, ai o Dduw y maent." Ond cyn diweddu; pe dywedai brudiwr yr ymlusgai anghenfil anferth ei lun, a dirfawr ei faint, allan o'r môr i fro Prestatyn, ac y gorwanciai y Graig Goch, yn y Ddiserth, ar un boreubryd—byddai hyn, fe allai, yn ormod o gamel i'w lyncu gan y werin hygoelus. Ond nid felly am ragwybodaeth awdwr yr *Almanac* bach, y *Cyfaill* o bob enw i bawb, yr hwn a fynega ac a gyhoedda yr hinon a'r tywydd flwyddyn rhag llaw; neu am gelfyddyd y bwriwr dwr, yr hwn, wrth ei ffroen a'i lygad, heb holi dim, a ddywed oed, a chlefyd, a hanes yr afiach, ac a rydd o'i haelioni werth dwy geiniog am goron i'w iachäu ef.

Rhoddir peth o hanes brudwyr a'u brudiau—Robin Ddu ac ereill—yn y rhifyn nesaf.

VI. Af rhagof bellach, yn ol dymuniad Iorwerth, i roddi ychydig o hanes Daroganwyr Cymru a'u Brudiau: ac yn gyntaf, *Merddin Wyllt*. Y mae cerdd dribanog o saith ugain o bennillion wedi eu cyhoeddi gyda'i gyfansoddiadau ereill ef, dan enw *Cyfoesi Merddin a'i Chwaer Gwenddydd*. Dichon i hanner y gerdd fod yn dra hen, ond llaweroedd o'r pennillion a ysgrifenwyd, y mae yn ddiddadl, o dri i bedwar cant o flynyddoedd wedi i Ferddin huno cwsg marwolaeth. Eglurir hyn, gan eu bod yn enwi tywysogion Cymru olynol, yn eu gwir ddilyniad, o Faelgwn Gwynedd, hyd at Rodri Mawr, yr hwn a laddwyd gan y Seison yn y fl. 877; er bod Merddin yn gydoeswr â Thaliesin o gylch canol y 6ed ganrif. Ni bu diffyg seiri a gwëyddion i lunio brudiau, yn enw Merddin, hyd yn oesau diweddar iawn. Prophwydir gan un o honynt fel hyn:—

"Bydd yna Gymry i ymlid alltudion,
Bydd oed Iesu Fab Morwyn wenfron,
Bydd *pymtheg* a *phedwar ugain* union,
Bydd *pymtheg cant*, gwarant gwirion (1595),
Bydd yn ol hyny Gymry yn gryf ffyddlon,
Bydd i'r rhai hyn feddiant ar eu tir a'u coron."



Gwelir bod lleferydd yr adyn a ysgrifenodd y pennill hwn yn eu gyhuddo o dwyll. Efe, neu arall o'i fath, a frudiodd i'r un flwyddyn, sef 1595, yn enw Taliesin:—

"Pan fo oed Ior, Creawdwr pob moliant,
Yn union *pymtheg cant, pymtheg, pedwar ugain* ânt
* * * * *
Brython a'u treulia, penaf fyddant."

Aeth y flwyddyn hon heibio heb nemor o ddygwyddiadau hynod. Erbyn hyn yr oedd yn angenrheidiol llunio cân neu frud newydd i Ferddin.

"Pan fo oedran Mab Duw mewn cyfri',
Yn *fil a chwe' chant*, gwarant egori,
Y bydd ofn ar Frython
Ac y diflana y Seison."

Yn ddiweddarach fyth, dynwaredwyd *Cyfoesi Merddin a'i Chwaer Gwenddydd*, yr hon a ofyn i'w brawd,—

"Pwy a wladycha
Yn ol Harri bena'? (Harri 8fed.)

Merddin a ateb:—"Egin dau Harri, ni bydd hir eu trwydded." Gwir yw hyn! ond yn ol marwolaeth Edward VI. yr ysgrifenodd y Merddin ffugiawl hwn. Yna y brudiwr a chwanega:—

"Fe fydd lluoedd anguriol,
A phobl annosbarthol,
A wnânt ryfel ac afrol;
Fe gyfyd un o'r chwech
A fu dan y llech,
Ar *Loegr* y rhydd orthrech!"

Diammheu mai yn oes O. Cromwel y brudiwyd hyn.

2. Awn yn nesaf at *Adda Fras*. Yn Llyfr Gwercys y ceir yr hanes hwn:—"Yn amser Gruffydd ab Seisyllt, tywysog Cymru, yr oedd *brudiwr*, a elwid Adda Fras, yn trigo yn y lle a elwid Aber Llechog, yn Is-Conwy; ac yno y peris ei gladdu mewn corlan defaid: i'r man a'r lle y gwnaeth efe ganeuau i ddangos y byddai yno Fonachlog. Yr oedd yr Adda Fras yma yn byw o gylch y flwyddyn 1060." Mynachlog Lechog, yr un

yw â Maenan, ger llaw Llanrwst. Yn hon y claddwyd Llywelyn ab Iorwerth. Am ei hadfeiliad y dywedodd y bardd:—

"Aethost o fewn i wyth-awr,
Fonachlog Lechog, i lawr."

I. Ll.

Yr oedd Adda Fras, fel Merddin, yn brudio gantoedd o flwyddau gwedi ei farwolaeth; canys tybid yn yr oesau tywyllion iddo ragfynegu fel hyn am Harri IV:—

"Ac yng nghastell y *Folallt* yr ymguddia,
Yn *Hwnslo Heth* y bydd cadarna',
Ac yn *Siring Cross* yr ymgadarnhâ,
I fyn'd i'r *Bryn Gwyn* i gael eisteddfa."

3. *Robin Ddu o Fon*, neu *Robin ab Siancyn Bledrydd*, a ysgrifenodd rai brudiau rhwng y flwyddyn 1340 a 1370. Yr oedd yn gydoesydd â Dafydd Ddu o Hiraddug, a thadogwyd ar y ddau amlder o frudiau a chwedlau celwyddog yn yr oesau canlynol; a pha gyntaf yr anghofir hwynt, goreu oll. Un o frudiau R. Ddu a ddechry,—

"Y ddwy ddraig oedd ddarogan,
Dwrf tost gwnânt dyrfau tân;
Y ddraig *wen* a ddaroganwyd,
Yw un â'i rhawn yn y rhwyd;
Y ddraig *goch* gynddeiriog hir
I ninnau a ennynir—
* * * * *
Aer y trillu i'r Trallwng
A dry'n flaidd, a dery'n flwng.
* * * * *
A'r brawd hen o'r Brytaniaid
Eglur o *Dudur* ei daid;
O'r gogledd yr â, deca' dal,
I rodio gwlad yr *Eidal*.
* * * * *
Un gwr a wna iawn i gyd,
Ac ef o farw a gyfyd;
Tirio er lles, tori'r llw,
Tynwn i gyd at hwnw."
* * * * *

Y mae sail i ammheu mai nid Robin Ddu oedd awdwr y brud hwn, o ran ei fod yn amneidio yn dra eglur at

Harri VII, yr hwn oedd ŵyr i Owain Tudur o Fon; a'r Harri hwn oedd heb ei eni yn amser R. Ddu.

4. *Dafydd Llwyd ab Llywelyn ab Gruffydd*, o Fathafarn, ger llaw Machynlleth, bardd, a gwr boneddig, yn amser Edward IV. a Harri VII, a fu yn helaeth ac yn hael o'i gywyddau darogan. Ieuan ab Gr. Leiaf a ofynai i'r Wyddfa, pa fyd a fyddai; a Dafydd Llwyd a ymgynghorai â'r wylan.

"Dydd da i'r wylan, leian lwyd,
Coel fydd edn, celfydd ydwyd;
Ferch wiwlan ar farch heli,
I ffrisio ton ffres wyt ti.
* * * * *
Moes dy gynghor o'r môr maith,
A ges im' o gysymaith,
Sy'n ofni trueni trwch,
I Frydain anhyfrydwch."

YR WYLAN.

"Wrth ddarllen y sen y sydd
O waith *Robin* ddoeth rybudd,
*Taliesin* y dewin doeth,
A *Merddin* bur-ddysg mawr-ddoeth,
Ac *Adda Fras*, gyhoedd frud,—
Didwyll y maent yn dywedyd;
Prophwydoliaeth maeth i'n mysg,
O waith *Ddewi* ddoeth wiw-ddysg:
Eu gaddaw hwy, hir guddhâd,
Yn siwr ddiau sy ar ddwad—
E welir yn aml elawr,
A helaeth farwolaeth fawr."
* * * * *

Gwaith ofer yw helaethu dyfyniadau o'r fath. Mewn wyth o'i gywyddau brud, y mae yn lled eglur bod y bardd â'i olwg ar Iarll Rismwnt, ŵyr Owain Tudur o Fon, gwedi hyny Harri VII, pan oedd ar alltudaeth yn Llydaw; ac mai dyben penaf y brudiwr oedd annog cenedl y Cymry i godi i fyny ym mhlaid eu gwladwr. Yr un ddichell a barodd i Iolo Goch ac ereill frudio yn nyddiau rhwysg Owain Glyndwr. Ac ym mhob oes, o Ferddin i Ddafydd Llwyd, casineb gwreiddiedig at eu gorthrymwyr y Seison, oedd yr ysbryd a gynhyrfai brydyddion yr oesau i gyhoeddi brudiau, yn addaw buddugoliaeth i'r Cymry, ac adfer-

iad iddynt i wlad a choron Lloegr. Dyma y deongliad tyneraf, a'r esgus goreu a ellir wneyd trostynt. Arferai y brudwyr enwau anifeiliaid y maes, ymlusgiaid y ddaiar, ac ehediaid yr awyr, o'r wadd i'r llew, ac o'r gwybedyn i'r eryr, i ddynodi yr amrywiol ddynion a fyddent dan eu sylw. Breuddwydient bod Arthur yn cysgu, ond y deffroai ar ryw amser penodol, a'r "*prif yn bump!*" i ail feddiannu unbenaeth Prydain. Weithiau y galwent yr arwr hwn yn *Owain*, Owain *Lawgoch* —dro arall *Cystenyn*—ac yn ddiweddar Harri y *Nawfed!* Ac nid Arthur ei hun oedd yn hepian, ond ei hen filwyr ef hefyd, Trystan, Gwalchmai, &c. Yr oedd rhyw goel tebyg i hyn mewn bod, pan ganodd H. J., Llangwm, gerdd, yn amser y rhyfel Americanaidd, ac ynddi y ban hwn:—

"O Eryri daw dynion â ffyn o gyll gwynion,
A gurant y dewrion, rai dwys," &c.

Digon bellach: wfft i'r fath sothach! I dir anghof â hwynt! Nythed y frân lle y myno; ac os syrth maen allan o fwa y porth, gosoder arall yn ei le.

Deffröer *ieuenctyd* yr oes, drwy addysg prydlon, rhag canlyn brisg eu rhieni ar hyd llwybrau ofergoeledd dyrys: ond nid oes fawr o obaith llwyddiant pe pregethid deirgwaith yn y dydd i henaint pengaled, a fyddo gwedi unwaith ymddyrysu ym mherthen cyfeiliornad. Tynwch hwynt, trwy y rhesymau cadarnaf, allan o Ffynnon Elian yn y boreu, deg i un nad ânt yn ol iddi, megys o'u gwirfodd, cyn ymachludd haul.

VII. Cwn Cynddeiriog.

*Ateb i holiad Philanthropos.*

Yr ydych yn holi am "fath o gareg ym meddiant boneddigion Gwaen Ifor, sir Gaerfyrddin, ag sydd feddyginiaeth anffaeledig rhag y damweiniau marwol ag sydd yn aml yn dygwydd i ddynion drwy frathiadau y creaduriaid niweidiol hyn; ac yn dymuno rhyw hysbysrwydd yng nghylch y gareg ragddywededig, er boddlonrwydd i chwi ac ereill."

Am gareg Gwaen Ifor, nid oes genyf yn awr ddim

i ddywedyd, ond a gasglwyf oddi wrth hanes ceryg a honir iddynt rinwedd cyffelyb mewn parthau ereill o'r Deheudir. Nid wyf yn gwybod i Wynedd gael erioed ei bendithio ag un anrheg wyrthiol o'r fath.

Ym Medi, 1822, dygwyddodd i mi gydymdeithio â phererin gwladaidd, blinedig, ond er hyny, fel y Cymry yn gyffredin, yn barablus a hynaws ddigon. Gan fod ei leferydd yn ei gyhuddo, nad oedd drigiannol yn y fangre hòno, cymmerais yr achlysur i'w holi yng nghylch ansawdd ei daith, a pha can belled y teithiasai allan o'i breswyl gynnefin. Ac yntau yn hyrwydd a adroddodd i mi yr hanes a ganlyn. Ei fod, er y boreu ddoe, wedi teithio *boytu* deugain milltir, o achos bod cymmydoges iddo wedi cael ei brathu gan *gi* a dybid ei fod yn gynddeiriog; ac iddo yntau, o dosturi dros gyflwr ei meddwl, fyned can belled a Maes y Ffynnon ym Maelienydd, i ymbil am ychydig o lwch y gareg rinweddfawr oedd ym meddiant y teulu yno. Y foneddiges a'i derbyniodd yn ei hymddyddanfa *(parlour)* gyda phob mwyneidd-dra a thiriondeb; ac wedi deall ei neges ef, hi a grafellodd gymmaint o lwch oddi ar garegan wen fechan, ag a ellid ei ddal rhwng bawd a bys. Maint y gareg oedd ffyrfder pen ei fawd, ac o 1½ i 2 fodfedd o hyd. Yr oedd y foneddiges yn gwbl hyderus o effaith iachaol y llwch, pan gymmerid ar lefrith; a'i dymuniad diweddaf oedd, na chyhoeddai efe rinweddau y gareg, rhag i ormod o gais arni ei lleihau i'r dim. Nid oedd yn y wraig foneddig hon ddim twyll o ran budrelw; canys nid yn unig na chymmerai arian ei hun, ond hi hefyd a'i gorchymmynodd yn gaeth na roddai efe ddim i un gweinidog o gylch ei hannedd.

Y negesydd a chwanegodd, iddo ymofyn yn y gwestty, lle y llettyasai y nos o'r blaen, yng nghylch y modd y cafwyd y gareg ryfeddol hon gyntaf; a dyma yr hanes a gafodd:—"Dyn cynddeiriog, yn yr hen amser, a ddiangasai oddi ar ei geidwaid, a ganlynwyd ganddynt, ac a oddiweddwyd yn cysgu ar fryn. Hwy a'i cymhellasant i ddychwelyd; ond efe a archodd iddynt gyrchu iddo gaib a phal, o ran ei fod wedi cael

addysg yn ei freuddwyd, fod meddyginiaeth i'w anhwyl ef yn gudd yn y ddaiar oddi dan ei ben lle yr hunasai. Ei archiad a ufuddhawyd, a chafwyd dwy gareg wen, y rhai sydd ym mherchenogaeth ei deulu ef hyd heddyw; un ym Maes y Ffynnon, a soniwyd am dani, yn cael ei chyfranu yn rhad, ac heb leihau, er a grafir oddi arni! a'r llall, gan frawd, yn Llwyn Madog, ym Mrycheiniog, yr hon sydd yn treulio yn ffest, o ran bod ei pherchenog yn holi pum swllt oddi ar bob ymofynydd."

Dyma'r hanes a gafwyd yng nghymmydogaeth y ceryg; a barned *Philanthropos* am danynt fel y gwelo yn oreu.

Cymmaint ag a gesglais i wrth glybod a darllen am ansawdd cynddeiriogrwydd ci, yw hyn: Nad oes un creadur arall yn myned yn gynddeiriog o hono ei hun ond efe; a'r achos o hyn, meddant, am nad oes rwyddyllau (*pores*) yn ei groen ef, i'r gwres tufewnol ddianc allan drwy chwys, fel creaduriaid ereill. Dywedir hefyd, mai perthynol i'r ynys hon yn unig yw cynddeiriogrwydd ci. Y mae poer, neu ysnafedd geneu ci cynddeiriog, drwy gael ei ollwng gyda y dant i'r briw, fel brathiadau seirff gwenwynllyd, yn effeithioli ar lyn neu nodd (*lymph*) y corff a frethir, pa un bynag a fyddo ai dyn ai anifail. Y mae gradd benodol o gynnyddiad y gynddaredd yn peri yn y creadur *ofn dwr* annirnadwy a rhyfeddol; ac o'r achos hwn y cafodd y clwyf ofnadwy hwn yr enw *hydrophobia*, yn yr iaith Roeg. Byddid yn y dyddiau gynt yn mygu y brathedig rhwng gwelyau pluf; ond nid oes achos am alanas o'r fath; canys y truan ddyn a fyddai marw drwy nerth gwenwyn ei anhwyl, mewn ychydig ddyddiau, wedi iddo unwaith ddechreu ofni dwr, gwin, neu unrhyw wlybwr arall.

Llawer o feddyginiaethau a gyhoeddwyd i'r byd y naill ar ol y llall, a phob un o honynt, meddent, yn anffaeledig. Ond, och! y maent oll, fel tarth neu niwl ar ben Morgeiliau, yn diflanu oddi ar y cof. Rhathu y briw yn ddiattreg ac yn barhäus â halen bras, wedi ei olchi

yn gyntaf yn ddwys â dwr a sebon, a gymmeradwywyd. Gollwng gwaed y dyn agos i'w farwolaeth, fel y lleihëid y llyn niweidiol. Haera y werin wybodus, y dylai yr hwn a frethir fyned i'r môr cyn y cysgo. Ond gwedi y cwbl, os bydd y brathiad mewn man cnodig ar aelod, goreu pa gyntaf yr arferer ellyn lem, a thori ymaith olwyth helaeth; canys gwell pob dyoddef daiarol na dyoddef cynddeiriogrwydd. Dichon i unrhyw gau feddyginiaeth gael yr enw o beri iachâd; ond hawdd iachäu lle ni bo clefyd! Nid oes, fe allai, gynnifer ag un o ddeg o'r cŵn a helir ac a leddir yn enw cŵn cynddeiriog, yn ddiau felly; a llwch careg Gwaen Ifor, penwygyn hallt, neu lonaid gwnïadur o flawd ceirch coch, gydag eli Treffynnon ar y briw, a ddichon iachäu brathiad ci na fyddo yn heintiol o gynddaredd. Ond rhag effeithiau ofnadwy brathiad ci a fyddo yn wir gynddeiriog, na ymddirieder i unrhyw swyngyfaredd, na choeg feddyginiaeth aneffeithiadwy; ond yn hytrach, arferer y gyllell lle y gellir; a phan nas gellir, gwaeder yn ebrwydd ac yn helaeth; golcher y briw â dwr sebonaidd; a rhather â halen glân, y naill ar ol y llall, am awr o amser. Meddyliwn hefyd y gallai sugn-wydr (*cupping glass*) fod yn effeithiol ar y briw, drwy dynu nodd y cnawd i wrthredeg allan, cyn i'r gwenwyn dreiddio neppell i bibau y noddlyn, ac oddi yno i'r gwaed. Dylai meddwl y dyn hefyd gael ei sirioli drwy bob moddion achlysurol i'r dyben. Pe bai dwr Lethe yn gyrhaeddol, da a fyddai iddo gael traflwnc o hono; canys ofn parhäus o'r canlyniad a allai fod er niwed mawr o hono ei hun. Yn hyn yn unig fe allai y dichon hyd yn oed i swyn fod yn llesol, drwy adfywio gobaith o iachâd yn y brathedig; ond y drwg a fyddai, rhaid iddo gredu yn y swyn, ac nid eill neb ond y tywyll anwybodus wneyd hyny.

VIII. *Chwanegiad ar Robin Ddu, a Chŵn Cynddeiriog.*

Er nad yw gwybod y flwyddyn neu yr oes y bu Robin Ddu y Brudiwr fyw ynddi, o werth draen i y rhan amlaf o'ch darllenyddion, eto y mae y dau can

mlynedd rhagoriaeth rhwng fy amseroni i a'r eiddo G. Peris, yn eich rhifyn Tachwedd, yn ormod o amser i'w ollwng heibio heb ychydig o sylw. Myfi a ganlynais y Dr. O. Pughe, yn y *Cambrian Biography*, pan ddywedais fod Robin Ddu yn gydoesydd â Dafydd Ddu o Hiraddug, o'r fl. 1340 i'r fl. 1370. Y Dr. Davies, yn y Rhestr o Feirdd yn ei *Eirlyfr*, sydd unair am oes D. Ddu, ond y mae yn gosod Robin ganmlwydd yn fwy diweddar, sef 1460. Yr wyf fi yn cyfrif y Dr. Davies yn awdurdod o bwys yn hyn, er lleied yw; canys pe buasai R. Ddu yn byw mor ddiweddar ag o gylch 1570, buasai yn anhawdd i'r dysgawdwr gofalus hwnw gam gyfrif cymmaint a chanmlwydd yn ei rifeg, ac ar amser y gallasai aml henfab neu henferch ddywedyd iddo eu bod yn cofio Robin Ddu yn prophwydo hyn a'r llall. Ym mhellach, yr oedd rhyw achosion gwladol yn peri i Robin Ddu ac ereill frudio; ond pe buasai yn byw o gylch y fl. 1570, nid oedd achos o'r fath i'w gymhell, canys yr oedd epil Owain Tudur o Fon ar orsedd Prydain, ac yn degweddol eu hymddygiad at genedl y Cymry. Ond gan bod G. Peris yn dywedyd i Robin Ddu "ganu llawer yn amser yr Iorciaid a'r Lancastriaid, heb enwi neb," &c., y mae lle i ammheu mai cam argraffiad yw "1570;" canys ymladdesid y frwydr *ddiweddaf* rhwng y teuluoedd hyny yn y fl. 1485, gwedi rhyfel ffyrnig o 30 mlynedd o barhâd. Y mae hyn yn cywiro amsereg y Dr. Davies, sef bod Robin Ddu yn llwyd flodeuo o gylch y fl. 1460.

Dywedais yn fy ail lythyr at Iorwerth, "na bu diffyg seiri a gwëyddion i lunio brudiau yn enw Robin Ddu, &c., hyd yn oesau diweddar iawn:" gallaswn chwanegu, *hyd yr oes hon!* canys wrth ddyfod o Borth Aethwy i Fangor, soniais wrth gyd-deithydd, y byddai y bont haiarn dros Fenai, pan orphenid, yn wythfed rhyfeddod Cymru. "Gwae y byd pan orphenir hi," atebodd yntau: "y mae Robin Ddu Ddewin wedi prophwydo am dani fel hyn:—

'Pont ar Fenai a fydd,
Dwy flynedd cyn byd aflonydd,'" &c.

Cryn nifer o flwyddau yn ol, yr oedd deiliaid boneddigwr yng Nghymru yn dra esmwyth arnynt o herwydd ardreth isel: ond o'r diwedd daeth Sais o enw *Vernon* i brisio yr holl dyddynod, ac i—

"Dynhau y cenglau ym mhob conglydd,
Os oedd milyn â rhwymyn rhydd."

Y Cymry a'i galwent, nid *Vernon*, ond *Uffernol;* a dywedai rhywun fod Robin Ddu wedi prophwydo ei ddyfodiad:—

"Bydd edifar i Gymru,
Pan ddaw *Vernon* i farnu."

Ond daeth gwaeth Vernon ar ei ol.

"Gwely ni chawn, nac aelwyd,
Petai ar llaw Petr Llwyd"—

meddai deiliad.

* * * * * *

Yn fy ateb i *Philanthropos* ar frathiad ci cynddeiriog, rhoddais gyfarwyddyd i olchi briw o'r fath i dynu y gwenwyn allan o'r cnawd. Gwedi hyny dygwyddodd i'm llaw bapyryn a ysgrifenasid gan y meddyg dysgedig y Dr. Haygarth, o Gaerlleon ar Ddyrdwy, ac a gyhoeddasid ar yr achos gofidus o farwolaeth tri o ddynion o'r ofn-dyfr-glwyf (*hydrophobia*), yn y misoedd Hydref a Thachwedd, 1788, yn ardal Gwrecsam, swydd Ddinbych. Dyma sylwedd cyfarwyddyd y meddyg:—"Dylai fod yn foddlondeb cysurus i unrhyw ddyn a frather, gael gwybod bod modd diogel, hawdd, ac effeithiol, i ragflaenu y gwenwyn. Cytuna meddygon yn y farn, mai poer, neu ysnafedd geneu ci, neu unrhyw anifail cynddeiriog, yn cael ei ollwng i'r briw, yw yr *unig* achos, a wyddir eto am dano, a effeithia i gynddeiriogi dyn. Nid yw y gwenwyn yn gyflym yn ei weithrediad, ond fe'i cymmerir i fyny i'r gwaed

yn araf; a rhoddir digon o amser i'w symmud ymaith, cyn y byddo perygl. Cynted ag y brather dyn, sycher y briw â lliain, ac yna golcher â dwr oer, nid yn ysgafn a diofal, ond yn ddwys a pharhäus; ac os bydd y briw yn fawr, dros amrai oriau yng nghyd. Gwedi golchi felly yn helaeth â dwr oer, gellir arferyd dwr twymn gydag effaith da. Y ffordd oreu a fyddai, bwrw y dwr drwy big crochan te, a rhoddi i'r dwr ddigon o ddisgynfa. Ni olchir y gwenwyn allan drwy olchiad ysgafn. O hyn y bu prawf rai gweithiau, yn ymgais pobl ieuainc penweiniaid yn ceisio golchi ymaith wenwyn y frech wen, pan osodid ar eu breichiau; ond o herwydd ysgafnder y golchiad, y frech wen a effeithiai arnynt wedi hyny. Rhybudd yw hyn, pan olcher brathiad ci, fel na fliner yn gwneuthur daioni, trwy roddi heibio y dwr yn rhy fuan.

"I esmwytho meddwl y brathedig, ni ddylid esgeulluso galw llawfeddyg ato; canys llawer a ddichon cyfarwyddyd ac ymadroddion gwr pwyllus, synwyrol; er y gallai y claf ei hun, cymmydog, neu weinidog, arferyd dwr yn gystal a'r meddyg. Os bydd y briw yn ddwfn, y mae meddyg yn llwyr angenrheidiol, fel y chwilio ac y meddyginiaetho i'r gwaelod. Os gwneir hyn oll, nid oes yr ammheuaeth lleiaf na cheidw y brathedig ei iechyd arferol."

Y mae yr anian ddynol yn ddarostyngedig i anhwyl arall, sef cynddeiriogrwydd ysbryd, pan fyddo y corff yn ddifriw—cynddeiriogrwydd nwydau ehudwyllt, yn tarddu, nid o frathiad deintiol, ond o ffynnonell llygredigaeth gwreiddiol: a rhag y cynddeiriogrwydd hwn hefyd, y mae meddyginiaeth rhad a diffael yn cael ei gynnyg o'r ffynnon a agorwyd i bechod ac aflendid. Yfwn o'r dwfr hwn: pa ham y byddwn feirw?

## BRWYDR Y GWELLTYN.[1]

GAN holi rhyw ychydig o gyfathrach â chwi, goddefwch i mi ymbil am ryw swyddau danoch, i roddi i chwi yn awr ac yn y man, olygiadau ar helyntion y bedyssawd a ddygwyddo i mi selu arnynt. O herwydd eich bod chwi eich hun, y rhan amlaf, yn gwylied o amgylch y caerau, rhoddwch genad i mi, eich câr isel, i fyned weithiau i heolydd y ddinas, dro arall i ddyffrynoedd a moelydd y wlad, i bigo allan a weinyddo, parth ansawdd a theithi, i fritho gwisgoedd amryliw eich cenadau misol.

Fel yr oeddwn ar foreu teg a heulog o Fehefin, â'm bryd ar hela i chwi ryw newyddedd, i brofi fy addasrwydd, dos neu na ddos, i'r swydd yr wyf yn ymgymhell fy hun iddi, dygwyddodd i mi, mewn syn fyfyrdod, grwydro i goedwig faith anhygyrch, llawn o ddyrysni a chorsydd. Yn ol hir droi a throsi, a myned a dychwelyd, llawenydd a fu imi ganfod brisg rhyw ymdeithyddion, gan obeithio yr arweiniai y llwybr hwn fi i ryw annedd ddynol, lle y cawn orphwyso fy aelodau lluddedig, tra yr ysgrifenwn atoch chwi yr hyn a sylwais arno yn fy nghrwydr, ar adar asgellog, a llysiau blodeuog: ond ebrwydd y canfuais fy siomedigaeth, wrth y fforddolion oeddynt yn tramwy y fathrfa. "Nid yw y morgrug" (meddai mab Iaceh) "yn bobl nerthol, eto y maent yn darparu eu lluniaeth yn yr haf." Gellir chwanegu, eu bod yn genedl ddarostyngol i ddeddfau llywodraeth ddinesig. Rhyfeddais, nid yn unig at eu dichlynrwydd, ond hefyd at eu cywirdeb yn eu dull o ymdaith. Yr oedd y mynedigion cargychwyn yn dilyn eu gilydd yn llinyn o'r tu haul i'r heol, a'r dyfodedigion carddychwel yn diflin deithio ar yr ystlys ogledd iddi, heb na rhuthro i

[1] [Cyfroddedig i'r *Gwyliedydd* yn y fl. 1824.]

mewn, na myned allan. Tybiais hefyd fod ganddynt swyddogion, neu feistriaid gwaith, un yma ac arall draw, i ofalu bod pob aelod o'r gymdeithas yn ymddwyn yn addas i'w orchwyl. Deallais, wrth sylwi, mai cywain defnyddion yr oedd y genedl hon o fywion i adeiladu castell—un cyfuwch, fe allai, yn eu golwg hwy, ag oedd Tŵr Babel ym marn preswylwyr Sinar. Bwriedais estyn fy nhaith, i weled pa fath seiri oeddynt yn eu hadeiladaeth; ac wrth bellder eu tref oddi wrth y lle y croesais eu cynniweirfa gyntaf, daeth i'm cof yr hen goel y byddai Gorphenaf ac Awst yn drasych hinon, o ran y dywedir fod gan y diwydion hyn argoel reddfol ynddynt eu hunain o hyny, pan anturient can belled o'u castell i gyrchu defnyddion. Pa fodd bynag hyny, attaliwyd fy nhaith gan ddygwyddiad anghyffredin. Gwelwn ddau o'r brodyr ddeiliaid yn ymrafaelio ar y ffordd, a phob un o honynt yn arddel hawl i'r un dodrefnyn, sef trawst o welltyn, o gylch modfedd o hyd; a thynu y dorch y buont â holl nerth eu haelodau, un ym mhob pen i'r trawst, dros hir amser; er mawr rwystr a chyffro i ddeiliaid llonydd y llywodraeth. Yn ol hir ddysgwyl terfyn ar y ffrwgwd, y ddau, megys o gydsynied, yn gweled eu ffolineb, a ollyngasant y trawst i orphwys, gan duthio bob un i'w daith yn ddifaich: y ddau yn eu colled, heb i'r un ennill! Erbyn hyn, ni fedrwn lai na gweled yn yr ymdrech hon ddarluniad rhy gywir o amryw ymdrechiadau a welir, ac a glywir son am danynt yn y byd; a hyny rhwng y deudroedogion a ymhonant fod yn arlwyddi y grëedigaeth. Gwir yw, i'r ddau fywionyn golli ysbaid o'u hamser gwerthfawr, a ddylasent dreulio i ddiogelu eu tref erbyn fferdod chwerw auaf, a hyny i ymrafaelio am fodfedd o welltyn! Ond gwedi i'r ymdrech fyrbwyll ddarfod, nid oedd fymryn o arwydd digofaint rhyngynt; dim ymgais i dynu na gwallt na llygadon eu gilydd. Faint mwy rhesymol a chanmoladwy (meddwn), a fu ymddygiad y bychanigion hyn, na dau ffwl pen ffair, a ymdrechant i dori aelodau eu gilydd, am ddim mwy achos, fe allai, na

bod y naill ffwl yn methu deall gair mwys y ffwl arall? Faint mwy rhesymol, meddaf, nag ymddygiad dau uchelwr a osodant naw neu ddeg o gyfreithwyr i ddadlu ac ymddanneddu am lathen o raiandir, na pherthyn o gyfiawnder, fe allai, i yr un o honynt?

Pan oeddwn uwch ben y ddau forgrugyn, ni fedrwn lai na'u dyfalu yn gyffelyb i'r ddau ryfelwr hynodol a fuont yn ymryson am unbenaeth Ewrop; sef yr arth mawr o'r Gogledd, a'r llew bychan o Ffrainc; ac wedi iddynt, o falchedd a gwrhydri, achlysuraw merthyrdod cantoedd o filoedd o'u cydgreaduriaid, y rhai a yrwyd â'u gwaed ar eu penau tu hwnt i'r wal ddiadlam, hwy a ymadawsant fel y ddau fywionyn, gan adael y gwelltyn ar eu hol—un i fferdod Trebedr,[1] a'r llall i ddihoeni yn Ynys Helen. Felly y palla gogoniant a rhwysg daiarol!

Bwriedais unwaith gymharu Brwydr y Gwelltyn â'r brwydrau presennol sydd rhwng epil Gomer a'u gilydd, yng nghylch eu Hiaith, eu Barddoniaeth, eu Heisteddfodau, a'u Cymdeithasau Cymreigyddol. Mi a osodaswn yr ymbleidwyr yn ddwy restr gyferbyniol, a'r gwelltyn yn y canol rhyngynt, fel y canlyn:—

| I. | | II. |
|---|---|---|
| Cymro yng Ngwlad y Sais. | GWELLTYN. | Carwr Rheol. |
| D. W. | | Tegydon. |
| Powysydd. | | Bangorwr. |
| English Friend. | | R. E. |
| Brutus Darian Wellt. | | Garmon. |
| X pro Cambria. | | Areithyddion ac Eisteddfodwyr. |
| Dic Sion Dafydd, | | Beirdd, Derwyddon, Ofyddion, &c., &c., &c. |
| &c., &c., &c. | | |

Rhag chwyddo fy llythyryn hwn i ormodedd maint, ni ryfygaf yn awr ddarlunio ergydion a phicellau y

[1] ["Trebedr"=St. Petersbwrg, prif ddinas Rwssia.]

brwydrau hyn, a barant fwy o golled inc na gwaed, ac o hyny yn ddiniweitiach: ond cyn terfynu, cymmeraf y rhyddid o roddi gair o gynghor heb ei ofyn i wŷr y blaid aswy, i ymbwyllo, ac i gofio dammeg Madyn a'r grawn surion. Ac fe allai, pe rhith-gilient o faes y ddadl hesp, y cyrhaeddent eu dyben yn fwy effeithiol, ac mewn llai o amser. Am hyny gadawont i dadmaethod a mammaethod yr eisteddfodau a chymdeithasau areithiol i chwareu eu "buarth paban" eu hunain yn ddiwarafun am ennyd: canys "y mae amser" (medd Selyf) "i bob peth; amser i bob amcan dan y nefoedd;" ac ar yr un pryd, nid oes i ddim daiarol ond ei amser.

# YR AWDL FRAITH.

SYLWIADAU ar Lythyr *Hywel Lygaid Effro* ar Awdl Fraith Taliesin, yn y *Gwyliedydd* am Ebrill [1823], tudal. 246.[1]

BU yr *Awdl Fraith*, fel y gelwir, ym meddiant Hywel *Lygaid Cwsg* a'i dylwyth dros gynt-hun maith o gantoedd o flwyddau: am hyny, dywenydd genyf weled *Hywel* arall, un mwy llygadgraff, yn crybwyll ei ammheuon mai nid Taliesin, yn y 6ed ganrif, oedd ei chyfansoddydd. Yr wyf fi o'r un farn ag ef yn gwbl; ac os gwn ragoriaeth rhwng goleuni a thywyllwch, rhwng ïe a nag e, ni welodd Pen Bardd y Gorllewin mo'r Awdl Fraith erioed. Fe'i cynnwysir mewn hen gasgliad a elwir "*Hen Lyfr Bodhenlli*," ac yno dywedir mai gwaith un *Ionas Athraw*, o Fynyw, duwinydd a phrydydd o'r unfed ganrif ar ddeg, oedd yr Awdl Fraith. Ond fy marn ydyw mai amryfusedd un o dylwyth Hywel Lygaid Cwsg oedd hyn hefyd. Yn yr oesau nesaf ar ol Ionas Mynyw yr ysgrifenodd llawer o feirdd godidog, megys Gwalchmai, Cynddelw, Hywel ab Owain Gwynedd, Llywarch Brydydd Moch, ac ereill; ond y mae iaith yr Awdl Fraith yn llawer mwy diweddar a dealladwy i Gymry cyffredin nag yw iaith yr egluraf o'r beirdd hyny: ac os caniatëir i mi farnu yn ol nodau amrywiol yr Awdl mewn dadl o barth ei hiaith a'i theithi, tybiwn mai rhyw fonach ofergoelus, hydwyll, a'i hysgrifenodd yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, os nid yn fwy diweddar na hyny, ond rhyw nifer o flwyddau wedi derbyniad yr athrawiaeth o drawssylweddiad i Gredo Eglwys Rhufain. Y monach dichellgar a osododd

[1] [Achoswyd yr ysgrif hon ar yr "Awdl Fraith," fel y canfyddir, gan sylwadau ar yr un pwnc, ac o'r un duedd, gan ohebydd dan yr enw *Hywel Lygaid Effro*, yn y *Gwyliedydd*, i. 246. Y dydd heddyw nid oes nemawr o amrywiaeth barn am ddiweddarwch cyfansoddiad yr Awdl hon, yn gystal ag amryw ereill o'r merinion a dadogir ar Daliesin; ond nid felly y credai ond ychydig yn y flwyddyn gyntaf o oes y *Gwyliedydd*.]

enw Taliesin wrth ei Awdl, gan ei chymmeradwyo felly i sylw a chred y Cymry o'r oes hòno. Ac yn hyn fe lwyddodd y twyllwr, gan i holl "ddysgedigion Cymru," fel y dywed Hywel, syrthio i'w fagl ef. Ym mhlith y rhai hyn y ceir Syr John Prys, awdwr *Darluniad Cymru*, yn nheyrnasiad Harri VIII; y Parch. D. Jones, o Lanfair Dyffryn Clwyd, yn nheyrnasiad y Frenines Elsbeth, yr hwn a gyfieithodd yr Awdl Fraith i'r Lladin; awdwr *Drych y Prif Oesoedd*, ac ereill; ac mor ddiweddar a'r flwyddyn 1819, darfu i awdwr un o'r Traethodau Seisneg a anfonwyd i Eisteddfod Caerfyrddin gofnodi y pennill—

"Eu hiaith a gadwant,
Eu tir a gollant
Ond gwyllt Walia,"

megys diweddglo.

Mae sail i goelio nad ydyw rhan dra helaeth o'r caniadau a roddir yn gyffredin i Daliesin, yn eiddo ef. Yr oedd Mr. Ed. Lhwyd o'r farn hon; gan grybwyll Taliesin y dywed (*Arch. Brit.* 263):—"*Hujus extant varia opuscula, quamvis nonnulla ei falso tribuantur.*" Ym mhlith y caniadau ffugiawl dan enw Taliesin, heb law yr Awdl Fraith, gellir dynodi amrai.

1. "Bustl y Beirdd, a gânt Taliesin," medd Hywel Lygaid Cwsg, "yn llys Maelgwn Gwynedd, yn y chweched ganrif, ger bron 33 o feirdd Maelgwn, ac am yr hon orchest y cafodd yr enw *Pen Beirdd.*" Gweler *Myvyrian Archaiology*, i. 26. Am feirdd Maelgwn y dywed pwy bynag a'i dywedodd,—

"Cler o gamarfer a ymarferant
* * * * *
Gorch'mynau deddfau Duw a dorant
* * * * *
A goelio iddynt a g'wilyddiant
* * * * *
Pob pechod marwol a ganmolant
* * * * *
A phob glothineb nis arbedant;
Gormod o fwydydd a diodydd a fynant;
*Degwm* ac *offrwm* teilwng nis talant."

Digon bellach! Ai iaith yr hen Daliesin yw hon? Pwy bynag a haera mai e, rhaid iddo haeru bod Taliesin nid yn unig yn fardd ac yn brophwyd, ond ei fod hefyd â dawn i ysgrifenu mewn dull iaith nad oedd mewn *bod* yn ei oes ef, nac am fil o flwyddau gwedi hyny. Y mae yn debycach o lawer i iaith ac i fesur Dyri un Rhobin Cludro, o Lan Elwy.[1] Nid oedd awdwyr ffug-ganiadau Taliesin yn meddu digon o'i iaith ef i'w ddynwared yn orchestol. Llawer gwell y llwyddodd y prif-fardd Goronwy Owain, pan ddynwaredodd Feilir Brydydd, bardd o'r 12fed ganrif.

"Iolaf Naf o nef i'm noddi,"[2] &c.

Dylid ammheu awdurdodiad odlau Taliesin a'i gyfoeswyr, os cynnwysant ofergoeledd Pabaidd, "eiryawl seinhiau"—cerydd am attal degwm ac offrwm, &c., &c. Ac o'r tu arall, os cynnwysant wrthwynebiad i athrawiaeth Eglwys Rhufain; megys yn "Nifregawd Taliesin" (*Myv. Arch.* i. 98):—

"Gwae offeiriad byd,
Ni anghreifftia gwyd,
Ni phregetha;
Ni warcheidw ei gail,
Ac ef yn fugail,
Nis areilia;
Ni ddiffer ei ddefaid
Rhag bleiddiau Rhufeiniaid,
A'i ffon gnwpa."

Digon eto! Ai nid iaith Sion Cent, neu un o'i blaid, yw hon, yn oes Harri y Vmed, &c., pan oedd y Llywodraeth yn erlid Arlwydd Cobham a'r Lolardiaid?

Caniatäwn fod Taliesin yn fardd ac yn Dderwydd; nid oedd er hyny yn brophwyd; canys nid wyf fi yn coelio bod yr un gwir brophwyd wedi yr oes apostolaidd: ac os oedd yn brophwyd—yn gwybod tynged

[1] [Gweler nodyn yng nghylch y rhigymwr hwn, *Cyf.* i. 166.]
[2] *Dyddanwch Teuluaidd*, tudal. 125. 2 argraff. [*Gronoviana*, *t.* 128.]

cenedl y Brython "*hyd ddydd ultima*"—yn rhagweled y gelwid Cymru yn *Walia* ym mhen ysbaid tri chan mlynedd wedi i'r ysbryd ei gynhyrfu; er hyny y mae yn anhawdd amgyffred pa fodd y gallai gyfansoddi mewn dwyiaith Gymreig mor llwyr annhebyg i'w gilydd, ag ydyw y cynlluniau uchod, a'r rhai a ganlyn, a ddyfynwyd allan o waith diammheuol Taliesin. Gweler "Marwnad Cunedda" (*Myv. Arch.* i. 71).

> "Marw Cuneddaf a gwynaf a gwynid,
> Cwynitor tewdor tavdun diarchar,
> Dychyfal dychyfun dyfnveis,
> Dyfyngleis dychyfun."

Os nad yw yr iaith hon yn ddigon anhawdd ei deall i wŷr a welant wraint drwy wrych, dyma iddynt un arall, allan o "Wawd Lludd y Mawr"—gwaith Taliesin eto (*Myv. Arch.* i. 74):—

> "Oranant oniant,
> O brithi brithoi,
> Nuoes nuedi
> Brithi brithanai[1]
> Sychedi edi euroi
> Eil coed cogni
> Antaredd dymbi
> Pawb i adonai
> Ar weryd pwmpai."

Rhoddaf un cynllun arall o ddiweddarwch iaith, allan o "Yrymes Dyddbrawd" a roddir i Daliesin (*Myv. Arch.* i. 88):—

> "I daw tan pob tuedd
> I losci'r mynyddedd;
> Llefain anghlaear
> A fydd ar y ddaiar."

Barned y call, yn hytrach na'r "dysgedig," ai gwaith Taliesin Ben Beirdd yw yr amrywiaethau uchod oll? Chwareu teg i ereill yn gystal ag i Daliesin. Amlygodd

[1] [Gweler nodyn ar yr ymadrodd hynod hwn, *Cyf.* i. 106.]

y Parch. T. Prys,[1] yn Eisteddfod Aberhonddu, Alban Elfed diweddaf—nad oes ond *un* Gorchan o'r pedair a roddir i Daliesin yn y *Myvyrian Archaiology* yn perthyn iddo, sef *Gorchan Maelderw;* ac mai Aneurin piau y tair ereill, sef "Gorchan Tudfwlch," "Gorchan Cynfelyn," a "Gorchan Adebon." Dywedir yn rhagfynag "Gorchan Maelderw" fel hyn:—"Taliesin ae cant, ac a rodeis breint y dau cymmeint ac odleu y *Gododin* oll ae *dri Gwarchan ygcerdd amrysson.*"

Dyma dystiolaeth anwrthddadladwy fod y *Gododin*, a thair Gorchan o'r pedair, yn eiddo Aneurin. Sylwed Hywel Lygaid Effro ym mhellach ar waith Myrddin, Heinin Fardd Maelgwn Gwynedd, Misoedd Aneurin, &c.

[1] [Carnhuanawc.]

# LLYFRAU AC AWDURON CYMREIG.[1]

Y MAE un tro da yn haeddu arall. Nid oedd *Darllenwr*[2] yn deilyngach o ddiolch am hanes Dechreuad Argraffu, nag ydyw *Pant*[3] am alw ein sylw at gymmwynaswyr ein cenedl. Yn ystod y can mlynedd a hanner diweddaf, yr oedd yn y winllan Gymreig lawer o weithwyr difefl fel gweinidogion, ac ni phetrusent fod yn awduron, cyn belled ag yr annogid hwynt gan awydd ddarllengar yr oes: ond gwell oedd gan y Cymry bob amser glywed â'r glust, na darllen â'r llygad. Rhoddent gynt, a rhoddant eto, fwy o annogaeth i'r areithfa nag i'r wasg. Y canlyniad ydyw, digaloni awduron yn eu bywyd, a'u hanghofio wedi eu marw. Hunasant wedi tymmor llafurus, ac os gwlychwyd eu helor â deigryn, buan y sychwyd ef ymaith, a phrin y meddyliwyd am danynt mwyach. Y mae'r awelon yn sïo trwy y glaswellt hir a orchuddia feddau llawer o honynt; ac ni roddwyd cymmaint a chareg ben i ddynodi eu gorweddle, nac i gynhyrfu uchenaid yr ymdeithydd a'i sanga. Ond cymhwysach na galaru yn swrth uwch ben y colliant, ymdrechu ei gyweirio. Cynnygiaf yr hyn a wn o hanes rhai o'r gwŷr da a enwodd *Pant*, gan hyderu y bydd i ereill gyflawnu lle yr wyf fi yn ddiffygiol.

Heb law *Golwg ar y Byd*, gadawodd y Parch. *D. Lewis*, ficer Llangatwg, rai darnau o farddoniaeth ar ei ol. Argraffwyd ei "Beroriaeth Haf" yn y *Blodeugerdd*[4] (tudal. 309). Y mae yn hwnw yn dangos mwy o ysbryd ofergoelus nag o rym awen; ond nid

[1] [Yn y *Gwyliedydd* (iii. 275, 305), "Sylwad ar Lythyr Pant" y gelwir yr erthygl hon.]

[2] [Enw ffugiol ysgrifenydd yn y *Gwyliedydd*.]

[3] ["Pant"=y diweddar Barch. P. B. Wiliams, Person Llanrug a Llanberis, yn Arfon, a mab y Parch. Peter Wiliams, awdur y *Sylwadau* ar y Beibl. Ymddangosodd "Llythyr Pant" y cyfeirir ato yma yn y *Gwyliedydd* am Ebrill, 1825, t. 117.]

[4] [*Blodeugerdd Cymru*, o gynnulliad Dafydd Jones o Drefriw. Amwythig, 1759.]

yw hyny gymmaint rhyfeddod: yr oedd yn byw yn yr oes dywyllaf a fu ar ddysg a cherdd Gymreig, ac ni ellid dysgwyl iddo ddianc yn llwyr oddi wrth ei heffaith. Efe ydoedd y D. L. a gyfansoddodd y cywydd ar "Ddyoddefaint Crist," a welir yn y *Flores Poetarum:* y mae yn dechreu,—

"Erglyw fy nghân, O Arglwydd,
A phoed lân, a chaffed lwydd."

Er cael Iago ab Dewi yn gyfaill, ac, ef allai, yn hyfforddwr, nid ymddengys, oddi wrth y cywydd hwn, fod Mr. L. yn hyddysg iawn ym mesurau cerdd dafod.

Cynnwysa rhagymadrodd y Dr. Wiliams i'r argraffiad diweddaf o *Hanes y Ffydd*,[1] yr hyn oll sydd wybyddus am yr enwog a'r teilwng *Charles Edwards*. Amledd yr argraffiad hwnw a wna osod yr hanes yn y lle hwn yn ddiangenrhaid. Y mae iaith Edwards yn lled goeth, yn aml yn gyffröus, a phob amser yn ddichlynaidd. Un dyfyniad a ddengys ei ddull. Medd efe, "Daw yn ddiffyg ar y byd pan fyddo ei anwiredd yn llawn llonaid." Ymddengys fod ei farn grefyddol yn ddiragfarn, ond yn bur; a'i ysbryd yn wresog, ond yn llednais. Erys ei waith yn werthfawr i'r oes a ddêl.

Ychydig sydd ar gof a chadw o hanes *Robert Llwyd*, ficer y Waen,[2] heb law iddo gael y fywioliaeth hòno yn y fl. 1615,[3] a'i ddifeddiannu o honi ar draws-esgyn-

[1] [Dolgellau (1822), 12plyg.]

[2] Camgymmerodd awdwr *Hanes y Ffydd* wrth ddywedyd mai y Dr. Davies a gyfieithodd y *Llwybr Hyfforddi i'r Nefoedd*, ac *Ymarfer o Dduwioldeb*. Mr. Llwyd a gyfieithodd y cyntaf, a Mr. Rolant Fychan yr olaf. *Hanes y Ffydd*, tudal. 300. [Camsyniad y Dr. Wiliams, golygydd argraffiad 1822, yn hytrach nag awdur *Hanes y Ffydd*, yw hwn. Fel hyn yr ysgrifenodd Charles Edwards:—"Ac i hyfforddi ein pregethwyr, perffeithiodd y Doctor Dafies Ddicsionari Cymraeg, a ddechreuasai'r Doctor Thomas Williams, ac ereill o ewyllyswyr da i Gymru: a gwnaeth ef Ramadeg Cymraeg hefyd, a chyfieithwyd llyfrau godidog tuag at adeiladaeth ysbrydol; sef *Llyfr y Resolution*, a'r *Ymarfer o Dduwioldeb*, a'r *Llwybr Hyfforddi i'r Nefoedd.*" Tarddodd yr amryfusedd o waith y Dr. Wiliams yn troi "cyfieithwyd" yn "gyfieithodd." Adferwyd, yn dra phriodol, ddarlleniad yr awdur ei hun yn yr argraffiad diweddaraf o *Hanes y Ffydd:* Caerfyrddin, 1856.]

[3] Brown Willis, 267.

iad Cromwel.[1] Dengys ei gyfieithiad ei fod yn caru y frawdoliaeth, ac yn ofni ei Dduw; a'r groes a oddefodd a brofa ei fod yn anrhydeddu ei frenin. Tebyg iddo farw yn amser y gwrthryfel, o herwydd ni allasai fod yn llai na 60 oed pan drowyd ef allan, ac ni chlywn am dano wedi yr Adferiad.

Gwr enwog oedd *Rolant Fychan* o Gaergai. Gelwid ef yn gyffredin Rolant Fychan y Cyfieithydd, am iddo gyfieithu amryw o lyfrau crefyddol i'r Gymraeg, yn enwedig *Ymarfer o Dduwioldeb* yr Esgob Bailey,[2] a *Llawlyfr o Weddiau* y Dr. Brough. Cyfieithodd yr olaf ar gais y Milwriad Gwilym Salesburi, ceidwad dewr Castell Dinbych yn erbyn milwyr y Senedd; ac ar ei draul ef y cafodd ei argraffu, a'i roddi i'r tlodion. Yr oedd y gwron hwnw mor wresog o blaid ei gred, ag yr oedd galonog yn achos ei frenin. Adgyweiriodd lawer o eglwysi a anffurfiasid gan y gwrthryfelwyr; ac efe a seiliodd ac a waddolodd Gapel Rug.[3] Tybygid fod y gwŷr hyn yn gyfeillion. Tueddai pob peth i'w gwneuthur felly. Yr oeddynt ill dau yn hanu o'r teuluoedd parchusaf yn y Dywysogaeth; ac hefyd yn ymdrechwyr yn yr un achos—amddiffyn yr orsedd, a goleuo eu gwlad. Dyoddefodd Mr. Fychan lawer gan elynion y brenin. Cyfansoddodd y gerdd a welir yn y *Blodeugerdd* (tudal 52), i ddynoethi eu haflywodraeth a'u rhagrith. Ymddengys yn hòno synwyr cryf, egwyddorion cywir, a dawn lithrig. Tebyg fod Cromwel yn ei rwysg pan ysgrifenwyd hon, o herwydd ni allai Fychan, gan berygl, gyfeirio at ddienyddiad Siarls, ond trwy ddywedyd i benaeth yr Iwerddon gael tori ei ben gynt. Yna, medd efe,—

"Ni allaf fynegu yr achos o'i dori,
Mwy da i mi dewi yn dawel â son;
Ond dyweda'n seliedig, na thorir pen tebyg,
Yn Lloegr goch oerddig na'r Werddon."

[1] Walker's *Sufferings of the Clergy*, 302.
[2] Argraffwyd yr *Ymarfer o Dduwioldeb* ar draul yr Henuriad Heilyn, o Lundain. Bu y boneddwr hwn yn offerynol hefyd i argraffu y Bibl llogellawl cyntaf yng Nghymru [Llundain, 1630].
[3] Yorke's *Royal Tribes*, 178. *Cam. Biog.*

Y mae yn gweled mai ofer ydyw iddo ddannod—nad ydyw ei eiddigedd yn cael mwy o effaith na "digofaint baban;" eto, cyn diweddu, cynghora ei gydwladwyr i ddysgwyl yn ffyddlon ac amyneddgar am adferiad Siarls yr Ail, i

"Rodio yn gefnog, yn llawn wych alluog,
Ym mhlaid yr Eneiniog anianawl."

Y taliad am y syniadau hyn oedd cael llosgi ei dy, Caergai, ac, fel y gellir tybio oddi wrth yr englyn canlynol, a gyfansoddodd ar yr achlysur, trosglwyddo ei etifeddiaeth hefyd i gâr iddo.[1]

"Caergai, nid difai fu gwaith tân—arnad,
Oernych wyd yrwan;
*Caer aethost i'm câr weithian*—
Caergai, lle bu cywir gân."

Ar adferiad Siarls yr Ail, adferwyd yntau hefyd i'w etifeddiaeth, ac i heddwch. Canodd yr englyn a ganlyn i Gaergai, wedi ei hail adeiladu:—

"Llawer caer, yn daer i'w dydd,—a losgwyd,
Lesg-waith gwŷr digrefydd;
Y gaer hon i gywir rhydd—
Caer gain yw—Caergai newydd."[2]

Ni wyddys yr amser y bu farw; ond pa bryd bynag y bu, nid oedd ei farwolaeth yn golled fechan i Gymru.

Nis gwn pwy oedd *Risiard Jones* o Ddinbych, os nad yr un â Risiard Jones, mab i Sion Puw o Henllan, yn ymyl Dinbych, a anwyd o ddeutu y fl. 1603. Yr oedd y gwr hwn yn un o oreuon ein cenedl; ond ni chafodd ei goffâd y sylw a deilynga. Derbyniwyd ef yn aelod o Athrofa yr Iesu yn Rhydychain, yn 1621. Cymmerodd ei radd yno, a bu wedi hyny yn bregethwr. Ysgrifenodd grynodeb o lyfrau a phenodau

[1] Gwirir y dyb hon gan y Parch. Walter Davies. Gwel ei Ragymadrodd i *Eos Ceiriog*. [Ysgrifenai yr Awdur yr erthygl hon, fel y rhan fwyaf o'i gyfroddion i'r *Gwyliedydd*, dan enw ffug: gan hyny cyfeiriai ato ei hun yn y trydydd dynsawd.]

[2] *Cambro-Briton*, *Vol.* i., *p.* 231.

y Bibl, a galwodd y llyfr *Gemma Cambricum*. Ysgrifenodd yr enwog James Howel ragymadrodd o gymmeradwyaeth iddo; ac argraffwyd ef yn Rhydychain, yn 1652. Y mae yn brin iawn yn bresennol. Mynegodd y Dr. Michael Roberts, penaeth Athrofa yr Iesu, i Wood, fod Mr. Jones wedi marw yn yr Iwerddon, ryw bryd cyn 1657.[1] Nid oedd annichonawl iddo gyfieithu llyfr Mr. Gouge, o herwydd yr oeddynt ill dau o'r un oedran; ac yr oedd Mr. Gouge, hyd y flwyddyn 1662, yn weinidog ffyddlawn a llafurus yn yr Eglwys Sefydledig. Tebyg mai o ffordd y gwrthryfel yr aeth Mr. J. i'r Iwerddon. Buddiol fyddai cael ychwaneg o hanes y gwr da hwn.

Y mae cymmaint o hanes yr ymdrechgar *Stephen Hughes* (ficer Meidrym unwaith) yn *Hanes Crefydd yng Nghymru*, *Hanes y Bedyddwyr*, y *Drysorfa Ysbrydol*, &c., fel mai afreidiol coffäu yma am ddim, heb law ei ysbryd hynaws, a'i gymmedrolder mewn barn. Er mai Ymneilldüwr cydwybodol ydoedd, dywedai fel hyn am yr Eglwys Sefydledig, yn ei ragymadrodd i *Lyfr y Ficer*:—

"'R wyf yn traethu ei hathrawiaeth,
Er na *licaf* mo'i dysgyblaeth;
Ond nid wyf yn *cyhoeddi* hyny
B'le 'r wy'n arfer o bregethu."

Ychwanegir, fod Mr. Hughes yn myned i bregethu unwaith ger llaw Llandyssul; a chyn dechreu, clywodd y gloch yn galw i'r Eglwys. Eb efe wrth y bobl, "Mi a af i'r Eglwys, ac yna mi a ddeuaf ac a bregethaf i chwi:" ac felly yr aeth. Dilynodd rhai o'r gynnulleidfa ef yno, a sorodd ereill. Ym mhlith y rhai a arosasant allan, yr oedd Mr. T. D. Rees, cyd-lafurwr y pryd hwnw â Mr. H., ac wedi hyny gweinidog lled nodedig yn Rhydwilym. Pan ddychwelodd Mr. H., ceisiodd Rees ganddo addef fod bai yn yr hyn a wnaethai; ond ni wnai Mr. H. hyny, nac addaw

[1] Wood's *Athenæ Oxonienses*, ii. 96.

peidio gwneuthur felly drachefn. Ar hyn neillduodd Mr. Rees, a rhai ereill, oddi wrtho.[1] Galarai Mr. H. am yr ymraniad, ond ni allai alw cyflawnu yr hyn a dybiai yn ddyledswydd yn drosedd. Gwedi bod yn offerynol i gyhoeddi mwy nag ugain o lyfrau Cymreig, bu y gwr enwog hwn farw yn y fl. 1687, yn garuaidd am ddiwydrwydd a grym ei lafur gweinidogaethol gan ei blaid ei hun, yn barchus am ei larieidd-dra a'i gymmedrolder gan bleidiau ereill, ac yn anrhydeddus am ei ymdrechiadau gwladgarol gan bawb. Ni chollodd ei enw ddim o'i arogl per yn nhreigliad blynyddoedd.

Nid un o'r rhai a flinid gan y *cacoethes scribendi* oedd *Iago ab Dewi.* Ni adawodd ond ychydig weddillion o'i ol, ac y mae y rhai hyny yn ddefnyddiol a blasus. Gwr oedd ef o Landyssul, yng Ngheredigion, a symmudodd gwedi hyny i'r Blaen Gwili, plwyf Llanllawddog, swydd Gaer Fyrddin; ac yno y bu farw yn 1722.[2] Dywed awdwr *Hanes y Bedyddwyr*, "iddo gyfieithu llawer o lyfrau buddiol, a bod gair da iddo yn y gwaith hwnw."[3] Nid ymddengys ei fod yn Ymneilldüwr. Yr oedd yn ddyfal fel casglydd ysgriflyfrau, ac yn hynafiaethydd gwell na llawer; a diammheu ei fod yn un o feirdd goreu Dyfed yn yr oes dywell hòno. Efe (I. ab D.) ydoedd cyfieithydd *Taith y Pererin.* Ychwanegodd at, ac argraffodd, y *Flores Poetarum*,[4] o gasgliad y Dr. Davies o Fallwyd; ac yn niwedd y llyfr cyfrgain hwnw, cyhoeddodd

[1] *Hanes y Bedyddwyr*, tudal. 331.
[2] *Cam. Biog.*
[3] *Hanes y Bed.* tudal. 50.
4 [Yn ddilys ddiammheu nid Iago ab Dewi, ond y Parch. Dafydd Lewys, y pryd hwnw (1710) o Lanllawddog, ger Caerfyrddin, ac wedi hyny o Langatwg, ym Morganwg, a olygodd ac a gyhoeddodd y gwaith a elwir *Flores Poetarum Britannicorum;* canys nid yn unig dywedir ar y rhagddalen iddo gael ei argraffu "yn y Mwythig, gan T. Jones, dros D. Lewys," ond rhoddir yr hysbysrwydd dïamwys canlynol yn ei gylch gan Dafydd Lewys ei hun, yn ei Lythyr at y Darllenydd:—"Yn gymmaint a dyfod i'm llaw y casgliad hwn, o eiddo'r Dysgedig, a'r Parchedig Ddoctor *J. Dafis*, hyd a'r ddeallais, a alwodd ef, *Flores Poetarum Britannicorum*, mi dybiais yn fuddiol ei brintio; yn gystal er mwyn ei Awdwr Parchedig (yr hwn a haeddodd fwy ar law pob Cymro, nag a allont fyth dalu'r pwyth iddo) ag er mwyn y Llyfr ei hun, yr hwn sydd yn cynnwys llawer o Ddysgeidiaeth, a Chelfyddyd. Myfi chwanegais ychydig ato, ac a osodais rai pethau buddiol ereill allan gydag ef."

gyfres o bennillion synwyrlawn, diarebol, a dillynaidd. Yn addas iawn rhoddodd *Bardd Glan Dyfroedd*[1] le i'r dyrifau hyn yn ei gasgliad diweddar o *Flodau Dyfed* (tudal. 65): a chan ei fod ef yn frodor o gymmydogaeth Iago ab Dewi, hawdd y gallai gasglu ychydig gopinod am dano, a'u rhoddi yn llaw y *Gwyliedydd*. Byddai y gorchwyl yn deilwng o ddoniau y naill, ac o goffadwriaeth y llall.

Nid *Wiliam Jones o Rydwilym* a gyfieithodd *Egwyddorion neu Benau y Grefydd Gristionogol*, o waith Mr. Gouge, ond gwr arall o'r un enw, genedigol o Feirionydd: cyfieithodd hefyd, *Air i Bechaduriaid a Saint*, o waith yr un awdwr.[2] Bu y *Mr. Jones hwn* am beth amser yn Athraw Ysgol Fawr Rhuthyn. Symmudodd i bregethu yng Nghastell Dinbych, ar ddymuniad y Milwriad Twistleton, llywydd yr amddiffynfa hòno: ac yn 1648 gwnaed ef yn weinidog y plwyf. Yn 1662, am na allai ymostwng i weithred yr unffurfiad, troes allan o'r Eglwys, a chiliodd i'r Plas Teg, yn agos i'r Wyddgrug, yng Nghallestr. Cafodd yno achles gysurus am lawer blwyddyn gyda theulu y Treforiaid. Ymsymmudodd yn olaf i Lanestyn, o ddeutu dwy filltir o'r Plas Teg; ac yno y bu farw, ac y claddwyd ef, mewn henaint teg, Chwefror, 1679. Nid ammheuai neb ei dduwioldeb diledryw. Y mae hanes yn rhoddi iddo enw uwch am ddysg, cymmedrolder, a phwyll, nag a addefir yn gyffredin i'w gyfenw o Rydwilym. Llefarwyd ei bregeth angladdawl gan y Dr. Maurice, periglor Abergele. Dywedodd yn barchus iawn am dano, a chyfansoddodd feddargraff Ladin i goffäu ei rinweddau.[3] Tebyg na cherfiwyd hon ar feddfaen iddo, fel y bwriadwyd; o herwydd ni ellais weled un cofnod o hono yn y llan na'r fynwent lle y claddwyd ef.

Ym mhlith y chwanegion, heb law gwaith Iago ab Dewi a D. Lewys, ceir "Llyfr Barddoniaeth o waith y Capten William Midleton," neu Gwilym Ganoldref: y cyfan yn gwneuthur 94 o dudalenau 24plyg.]

[1] [Mr. John Howel, neu Ioan ab Hywel.]

[2] *Hanes Crefydd yng Nghymru*, tudal. 554.

[3] Dr. Richards's *Biography*, p. 35.

Camgymmeriad eto ydyw priodoli llyfr *Trugaredd a Barn* i *John Owen o Fon.* Awdwr y casgliad ofergoelus hwnw oedd *James Owen*, ganedig o'r Bryn, plwyf Abernant, swydd Gaerfyrddin, hanes yr hwn a ellir weled yn helaeth yn niwedd yr argraffiadau diweddar o lyfr *Trugaredd a Barn*, yn *Hanes Crefydd yng Nghymru*, yn *Hanes y Bedyddwyr*, yn *Nrych yr Amseroedd*, yn y *Dysgedydd*, ac mewn llawer o gyhoeddiadau Seisnig. Y mae llyfr hefyd wedi ysgrifenu o hanes ei fywyd.

*H. Owen* o Fon a gyfieithodd *Lyfr y Dilyniad.* Pwy oedd, nis gwn; a da fyddai genyf gael gwybod. Pwy bynag oedd, bu yn gymmwynaswr da i'w genedl. Am agos i gan mlynedd bu y llyfr hwn a gwaith y Ficer yn arweinyddion defosiynau y Cymro crefyddol. Hyfforddai ei blant ynddynt. Ei ddifyrwch wedi llafur y dydd fyddai galw ei berthynasau yng nghyd, a dysgu iddynt, o'r llyfrau hyn, eu dyledswyddau at Dduw a dynion. O'r rhai hyn y soniai wrthynt am wagder gwrthddrychau daiar; ac o'r rhai hyn y cyfarwyddai hwynt i geisio "dinas ag iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw." Ond y maent mor ddiwerth gan yr oes gymhenllyd hon, nad oes neb a anturia eu hargraffu. Y mae y Cymro presennol yn gwrando llawer, ac yn darllen ychydig. Gwell ganddo ymddadleu yng nghylch pwnc, nag ymholi pa beth yw ei ddyledswydd. Y mae yn meddu mwy o ddeall nag o ostyngeiddrwydd, ac y mae yn well crefyddwr ym mhob man nag yn ei deulu ei hun.

Y mae hanes y llyfr a elwir *Dwysfawr Rym Buchedd Grefyddol* yn lled gywrain. Cafodd dderbyniad gwresoglawn gan grefyddwyr Lloegr ar ei ymddangosiad cyntaf. Gwerthwyd dwy fil a deugain o *gopïau* o hono mewn deunaw mlynedd; ond ni wyddid pwy oedd yr awdwr. Priodolid ef i Iarll cyntaf Egmont gan y cyffredin, yn neillduol gan *Walpole* yn ei gofrestr. O'r diwedd cafwyd allan mai awdwr y traethawd gwerthfawr hwn oedd *Wm. Melmoth*, Ysw., o Gyfreithdy

Lincoln—tad cyfieithydd *Pliny* a *Llythyrau Cicero.*[1] Wrth ystyried pob peth, hawdd penderfynu mai *Alban Thomas*, o'r Rhos, plwyf Blaen y Porth, yng Ngheredigion, a hendaid y presennol Alban Thomas Jones Gwyn, Ysw., o'r Mynachdy, a droes y llyfr hwn i'r Gymraeg. Yr oedd Mr. Thomas, yn y fl. 1722, ac hyd 1740, yn beriglor Blaen y Porth a Thremain. Yr oedd Stephen Parry, Ysw., a Walter Llwyd, Ysw., i'r rhai y cyflwynwyd y llyfr, yn gymmydogion agos iddo. Mr. Parry oedd ei feistr tir; yr oedd hefyd yn berthynas iddo, ac yn un o'i blwyfolion. Preswyliai Mr. Llwyd yng Nghoedmor, yn y plwyf nesaf, Llan Goedmor; ac efe oedd Arglwydd Maenor y Rhos. Gadawodd Mr. Thomas rai gweddillion ereill ar ei ol. Efe oedd awdwr "Cywydd Marwnad Mr. Hector Morgan o Aberporth" (hendaid y Parchedig Hector Davies Morgan, periglor presennol Castell Hedingham, yn Essecs), a Marwnad Ifan Gruffydd y Bardd, o'r Tŵr Gwyn, yng Ngheredigion. Fel prawf o'i ddull, dyfyner y ddwy linell a ganlyn o'r cywydd olaf:—

"Wele y gân ar gil gwŷdd,
Wela gwyn—wyla gwennydd."

Cyfansoddodd hefyd "Sen i'r Tobacco." Dengys ei farddoniaeth feddwl cryf, a dychymmyg ysgolheigaidd; ond o herwydd anarferiad, tybygid, a gormod o duedd at gymmeriad llythyrenol, a chymhen bethau cyffelyb, y mae yn lled anystwyth. Yn enw pob dyfaliad, pa beth a barodd i *Pant* fyned i chwilio am Drehedyn i *Reading?* Dyweda iddo deithio Cymru. Os bu yn myned o Geredigion i Gaerfyrddin, nid oedd neppell oddi wrth y lle y soniwn am dano. Pentref ydyw Trehedyn yn agos i Gastell Newydd yn Emlyn,[2]

[1] *Biog. Dict.*
[2] [*Trefhedyn* y gelwir y *rhan* o Gastell Newydd yn Emlyn y sydd yn gorwedd ar du de yr afon Teifi, ac yn swydd Geredigion. Y rhan fwyaf o'r dref o lawer, yr hon a gynnwys olion hybarch yr hen gastell, sydd ar yr ochr aswy i'r afon, ac yn swydd Gaerfyrddin. *Adpar* y gelwir *Trefhedyn* gan y Seison.]

ychydig ffordd o Flaen y Porth. Yma yr oedd yr enwog Jenkin Thomas, y bardd a'r pregethwr, yn byw.[1] Y mae y gwr hwnw yn dechreu ei drydedd gân i Sion Ifan y Crydd, o Gebidiog, fel hyn:—

"Dyma'r ffyddlon gryddion graddol,
O *Drehedyn*, ddidro hudol."[2]

Yr oedd Alban Thomas a Jenkin Thomas yn gydoeswyr, yn gymmydogion, ac, ef allai, yn gyfeillion. Cyfansoddent ar yr un testynau. Y mae cywydd melus o waith yr olaf ym *Mlodau Dyfed*, ar farwolaeth Ifan Gruffydd. Bellach, nid oes nemawr ammheuaeth yng nghylch *cyfieithydd* y llyfr a enwyd, na'r *man yr argraffwyd ef;* ond am *Carter* yr argraffydd, a pha beth a ddaeth o'i wasg wedi hyn, nid oes ond dychymmyg. Tebyg mai estron wedi ei ddwyn yno i arfer ei gelfyddyd oedd y gwr hwnw; o herwydd ni chlywir am dano na chynt na chwedi,[3] ac nid oes un o'i enw yn preswylio yn awr yn y gymmydogaeth hòno. Oddi wrth lythyr cyflwyniad A. T., deallwn fod y boneddion Parry a Llwyd yn egnïol am daenu gwybodaeth dda ym mhlith eu cydwladwyr; ac mai ar eu cais hwy y gwnaeth ef ei gyfieithiad. Oni ellir tybied, gan hyny, iddynt hwy sefydlu y wasg yn Nhrehedyn, fel y gwnaeth Llewelyn Ddu ddeng mlynedd ar hugain wedi hyny yng Nghaergybi; ac ar ol i'w dyben hwy gael ei gyflawnu, neu o blegid rhyw ddygwyddiad arall, i Carter symmud, a'i wasg gydag ef? Onid y wasg hon a osodwyd i fyny yng Nghaerfyrddin? Yr oedd yn Nhrehedyn yn 1722, ac eglur na arosodd nemawr yno; a phrofir fod gwasg yng Nghaerfyrddin yn 1725. Yr wyf yn cynnyg y tybiau hyn, ond nid oes genyf fodd i'w penderfynu. Eto, gellir sicrhau un

[1] [Yn y Cwm Du, ger y Dref Wen, o fewn o ddeutu milltir i Drefhedyn, yr ydoedd Siencyn Thomas yn byw; ac efe oedd tad Nathaniel a Ioan Siencyn, y sawl y gwelir eu gwaith ym *Mlodau Dyfed.*]

[2] *Blodau Dyfed*, tudal. 346.

[3] [Symmudodd Isaac Carter, a'i wasg gydag ef, o Drefhedyn i Gaerfyrddin; ac argraffodd yno, ym mhlith pethau ereill, gyfrol 16plyg, yn cynnwys dros 450 o dudalenau, dan yr enw, *Maddeuant i'r Edifeiriol*, yn 1725-6.]

pwnc lled gywrain oddi wrth y sylwadau uchod, heb berygl cyfeiliorni, mai yn *Nhrehedyn y sefydlwyd y wasg gyntaf yng Nghymru*, ac mai *Dwysfawr Rym Buchedd Grefyddol oedd y llyfr cyntaf a argraffwyd yno*. Byddai cael ychwaneg o hanes dechreuad a chynnydd argraffu Cymreig yn dra derbyniol. Ymddengys mai Caerfyrddin oedd argraffle penaf y Deheuwyr am yr hanner cyntaf o'r ganrif ddiweddaf, fel ag yr oedd Amwythig i awduron y Gogledd. A oes neb a ddichon hysbysu cynnyrch y ddwy wasg hon am yr ysbaid a enwyd? Pe cymmerai Deheuwr a Gogleddwr cyfarwydd a dysgedig y gorchwyl mewn llaw, diammheu gallent ei gyflawnu, a gwneuthur gwasanaeth arbenig i hanes llenyddiaeth Gymreig.[1] Yng Nghaerfyrddin yr argraffwyd Ieithadur W. Gambold, gan Nicolas Thomas, yn y fl. 1727; ac y mae genyf Gywydd Marwnad i Sion Rhydderch, gan Jenkin Thomas, wedi ei argraffu gan yr un gwr, ac yn yr un lle, yn y fl. 1736. Camgymmerodd *Pant* wrth ddywedyd mai yn Nhrefriw yr argraffwyd y *Blodeugerdd:* o wasg Stafford Prys, yn yr Amwythig, y daeth hwnw allan. Ni chafwyd ond ychydig, heb law cerddi, carolau, a llythyrau Elis y Cowper, o wasg Trefriw hyd yn ddiweddar iawn.

Fel hyn yr ymdrechais ateb cais y *Pant;* ac ni allaf ddiweddu heb ddiolch iddo eto am wneuthur ei ymofyniad, a chyduno ag ef i ddymuno mwy o hanes yr awduron a'r cyfieithwyr Cymreig, o ddechreuad argraffu hyd y fl. 1770. Yn eu plith yr oedd Gwilym Ganoldref; Robert Holand, periglor Llanddowror; Dafydd Jones, Dyffryn Clwyd; Sion Davies, Garthbeibio; Dr. Thomas Powel, Cantref; Huw Lewis, o Landdeiniolen, cyfieithydd y *Perl mewn Adfyd;* Oliver Thomas, awdwr *Carwr y Cymry;* Thomas Wiliams,

[1] [Gwnaeth y diweddar Barch. Wiliam Rowlands ei ran yn ardderchog yn hyn o orchwyl; a galarus yw ei fyned i ffordd yr holl ddaiar cyn gallu o hono ddwyn ei waith llafurfawr, *Llyfryddiaeth y Cymry*, mewn dull cyflawn a hydrefn drwy y wasg. Bu'y llyfronydd diflin hwn farw yng Nghroesoswallt, Mawrth 21, 1865.]

cyfieithydd *Sherlock ar Farwolaeth;* Robert Gwinn, yr hwn a gyfieithodd ac a argraffodd *Lyfr y Resolution,*[1] 41 mlynedd o flaen y Dr. Davies; Morus Cyffin; J. H., awdwr *Allwedd Paradwys;* Randl Davies, Meifod; yr Esgob George Griffith; Edward Samuel, o Langar; Moses Wiliams; Elis Wyn, o'r Lasynys; Theo. Evans; Wm. Wyn, o Langynhafal; Gr. Wyn, cyfieithydd *Ystyriaethau ar Gyflwr Dyn;* Gruffydd Jones, Llanddowror; Howel Howel, Llanbeudy; T. Richards, Coychurch; Robert Wyn, ficer Gwyddelwern; Thos. Richards, periglor Llanfyllin; a John Morgan, y curad. Gadawaf ar hyn yn bresennol, ac ychwanegaf at y gofrestr ryw dro eto. Yr wyf yn teimlo yn wresog yn y peth; ac yn wir, pan ystyriom nad oes nemawr lyfrau Cymreig yn myned trwy ail argraffiad, onid ymddengys yn ddyled arnom gadw pob hanesyn am eu hawdwyr, rhag i'r ysgrifenwyr a ddêl fod yn anwybodus o'u tadau?

[1] [Os cyfieithwyd ef, ni chafodd erioed mo'i argraffu. Yr unig gyfieithad Cymreig *argraffedig* o'r gwaith hwn yw yr un a gyhoeddwyd gan y Dr. Davies yn 1632, o'r hwn y bu tri argraffiad wedi hyny.]

## ANNIGONOLRWYDD MAWREDD DAIAROL.

Abdalrahman, un o Galiffiaid Mahomedaidd Spaen, yn yr 8fed ganrif, oedd fechdeyrn mwyaf ei rwysg yn ei oes. Yn ysbaid pum mlynedd ar hugain, ac ar draul tri myrddiwn o bunnau, yr adeiliodd balas, ac y lluniodd Erddi Zehra. Cynnelid ac addurnid yr adail gan ddeuddeg cant o golofnau mynor, a drosglwyddid o Affrig, o'r Ital, ac o wlad y Groegiaid. Y neuadd, lle derbyniai yr unben ei genadon a'i ddeiliaid, oedd yn dryfrithawg o aur a meini gwerthfawr. Ar nen pabell, yn un o'r gerddi, yr oedd ffynnonell eang, a tharddlifau, dychymmygiad tra dymunol yng ngwresogion ardaloedd y deheu-fyd, yn gorlifaw, nid yn unig â dwfr grisialaidd, ond hefyd ag arian byw rhedegog. Ei osgordd beunyddiol oedd ddeuddeng mil o farchogion, â'u bidogau a'u gwregysau wedi eu boglynu ag aur. Geill fod yn llesol er lleihau ein hawyddgarwch i fwyniant, rhwysg, a mawredd daiarol, ped ystyriem brofiadau yr unben gorwych, mawredd a gogonedd yr hwn oedd yn ddiareb, yn rhyfeddod, ac yn achos cenfigen y bedyssawd, gan osod yma ei gyffes ddiweddaf, a gafwyd yn ei ystafell wedi ei farwolaeth.

"Yr wyf bellach wedi teyrnasu dros hanner cant o flwyddau, mewn buddugoliaeth neu heddwch; yn cael fy ngharu gan fy neiliaid, fy ofni gan fy ngelynion, a'm perchi gan fy nghynghreirwyr. Golud ac anrhydedd, tra-awdurdod a gwynfydedd, oeddynt lawforwynion i mi, yn barod i ateb i'm galwad; ac ni wn fod un fendith ddaiarol yn niffyg i'm hapusrwydd. Yn y cyflwr hwn, mi a chwiliais yn fanwl i rifedi y dyddiau o bur a digymmysg ddedwyddwch a ddygwyddasent i'm rhan. Mi a gefais y cyfanrif yn *bedwar ar ddeg!* O ddyn, pwy bynag wyt, na osod dy hyder ar *ddim* yn y bywyd hwn."[1]

[1] Gwel Gibbon, Llyfr v.

Dyma gyffes a chyfaddefiad un o ddilynwyr gau brophwyd Mecca, yr hwn ni feddai i'w enaid lewych i ansoddi ei deimladau, i'w gymharu â phelydrau Haul Cyfiawnder yn ysblenyddu i gilfachau dirgelaf calon yr hwn sydd yn credu Efengyl Iesu; ond llai na phe cymharem lwyd oleuni y welwlas ganwyll cyrff yn gwibio ar draws mawnog, â'r huan llewychus sydd yn lledanu gwawl a gwres i aneirif drigolion y bydoedd gweledig ac anweledig! Pa beth gan hyny a feddyliwn am rai yn proffesu credu yn y Gwir Oleuni, ac yn arddel ei Efengyl yn rheol ymfucheddiad, ond a ydynt, er hyny, yn nirgelwch y galon annychweledig, â'u serch mwyaf ar wrthddrychau diflanedig y byd hwn?

# RHYFELGYRCHOEDD IWL CAISAR I YNYS PRYDAIN.

---

## HYSBYSIAD.

GAN nad ydyw y Cymry uniaith mewn meddiant o un hanes am yr Ymgyrch Rhufeinaidd yn erbyn y Prydeiniaid yn nyddiau Caswallawn, ond a roddir ym *Mrut y Breninoedd*, a ysgrifenwyd gan Gr. ab Arthur yn y 12fed ganrif, neu mewn benthyciadau o hono yn *Nrych y Prif Oesoedd*, neu lyfrau cyffelyb, meddyliodd ysgrifenydd yr Awdl ragflaenol[1] y byddai yn ddymunol ganddynt weled yn Gymraeg gyfieithiad o'r hyn a ysgrifenodd Iwl Caisar ei hun yng nghylch ei ruthrau gormesol i'n hynys.

Fe wel y darllëydd nad yw yr hanes tramor yn cydweddu â'n hanes cartrefol; ac nid yw hyn yn rhyfedd. "Teg pob chwedl, nes y dêl ei gwrthwyneb." Barn y dysgedig ydyw, bod yr hanes a rydd Caisar yn sawru mwy o'r gwirionedd nag ydyw y dychymmygion o eiddo ein gwladwyr ein hunain. Yn yr Awdl, dewiswyd ganlyn cyfaddefiad y gelyn; canys gwell coelio esgar geirwir na thruthiwr o gymmydog. Ysgrifenodd Caisar yr hanes yn y dyddiau hyny, ac nid oes sicrwydd i'r *Brutiau Cymreig* gael eu cyfansoddi cyn pen deuddeg cant o flwyddau wedi y dygwyddiadau. Ac heb law hyny, mae Caisar yn cyfaddef digon, mai derbyniad tra chwerw a gafodd efe yma; bod dull anarferol y Prydeiniaid o frwydro, ar feirch a cherbydau, yn peri braw ac annhrefn nid bychan ym mhlith ei lengau.

[1] [Yr "Awdl ar Ymdrech Caswallawn a Lluoedd Ynys Prydain yn erbyn y Rhufeiniaid" (*Cyf.* i. 23). Amcanwyd y dyfyniadau hyn allan o *Hanesgofion* Caisar i ganlyn yr Awdl; ond gan eu bod yn llawer rhy faith i'w gosod yn gyflëus ym mysg y cyfansoddiadau ar fesur cerdd, cyflëir hwynt yma ym mhlith y rhyddieitholion; a diau nas gallant lai na bod yn dra dyddorawl i ddarllenyddion yn gyffredin, ac yn enwedig i'r sawl na fedrant eu deall yn yr iaith yr ysgrifenwyd hwynt ynddi ar y cyntaf, er nad ydynt ond cyfieithion.]

## RHYFELGYRCH CYNTAF IWL CAISAR I YNYS PRYDAIN.

DYFYNIADAU, can belled ag y perthynant i Ynys Prydain, allan o Gof-draith Iwl Caisar ar y Rhyfel Galaidd.

### LLYFR IV.

ER bod y tymmor haf wedi cryn dreulio, o ran bod holl wlad Gal ar duedd y Gogledd, a'r gauaf yn dechreu yn gynnar, eto ymfwriadodd Caisar fyned trosodd i Brydain, o herwydd ei fod wedi cael gwybodaeth fod y gelynion, yn holl ryfeloedd Gal, yn derbyn cynnorthwyon oddi yno; ac er na chaniatäi amser y flwyddyn iddo ddiweddu y rhyfel ym Mhrydain, eto meddyliai y byddai yn werth y drafferth myned yno, fel y deallai ansawdd y wlad, ac anian y trigolion; fel y byddai yn gydnabyddus â'i harfordiredd, ei phorthladdoedd, a'i hebyr; o ba rai yr oedd y Galiaid gan mwyaf yn anwybodus, o herwydd nid mynych yr elai neb yno onid masnachwyr; ac ni adwaenai y rhai hyny ond y mor-gyffiniau, a'r parthau ar gyfer Gal. Caisar gan hyny a wysiodd ato y masnachwyr o bob parth; ond nid nemor ddoethach a fu erddynt; canys ni wyddent na maint yr ynys, na pha fath neu nifer o lwythau a'i meddiannent, na pha ddull o ryfela a arferent, neu dan ba ryw lywodraeth yr oeddynt, na pha fath longau, o faint a nifer, a gynnwysai eu porthladdau.

Er mwyn cael hysbysrwydd amgen am y pethau hyn cyn yr anturiai, meddyliodd yn gymhwys anfon C. Volusenus mewn llong, gan orchymmyn iddo chwiliaw i bob peth angenrheidiol, a dychwelyd â'r hanes ato ef mor ebrwydd ag y medrai. Yntau aeth, yn y cyfamser, gyda'i fyddin i wlad y *Morini*, canys oddi yno yr oedd y môr gulaf rhyngddo a Phrydain. Yno yr

archodd ddwyn ato longau o'r porthladdau oddi amgylch, ac hefyd y llynges a adeiliasai y flwyddyn o'r blaen yn ei ryfel yn erbyn y *Veneti*.

Yn y cyfamser, trosglwyddwyd ei fwriad drosodd i Brydain, gan rai masnachwyr; ac anfonwyd ato ef genadon oddi wrth lawer o daleithiau yr ynys, gan addaw rhoddi gwystlon iddo, ac ymostwng i lywodraeth pobl Rhufain. Gwedi rhoddi iddynt wrandawiad mwynaidd, gan eu hannog i sefyll at eu haddewidion, efe a'u danfonodd adref, a chyda hwynt un Comius, yr hwn wedi iddo gystwyo yr *Atrebati* a ddyrchafasai yn frenin arnynt, am ei ddewrder, a'i synwyr, a'i ffyddlondeb iddo ef; ac hefyd o ran ei fod mewn cymmeriad nid bychan ym Mhrydain; gan orchymmyn iddo ymweled â chynnifer o daleithiau ag a allai, i'w hannog i ufuddhau i lywodraeth pobl Rhufain, ac i hysbysu iddynt hefyd y byddai Caisar ei hun yn eu plith yn ebrwydd.

Volusenus, wedi golygu arfordiredd Prydain gymmaint ag a feiddiai, canys ni anturiai oddi ar fwrdd ei long, i ymddiried ei hun i'r barbariaid; a ddychwelodd at Gaisar ym mhen pum niwrnod, gan adrodd iddo yr hyn a chwiliasai.

Tra yr oedd Caisar yn aros yn y parthau hyn i barotoi ei longau, daeth ato genadon oddi wrth y *Morini* i ymbil ei faddeuant am eu hymdrech diweddar yn ei erbyn; gan ymesgusodi nad oeddynt hwy ond pobl anwybodus, heb allu amgyffred defodau y Rhufeiniaid, pan unasent ag ereill i'w gwrthsefyll; ond y gwnaent ufuddhau rhag llaw i'w lywodraeth ef. Caisar yn ystyried hyn yn gyfleusdra ddymunol, gan na fynai adael gelyn arfog o'i ol, nac ychwaith beri ennyn rhyfel newydd yn y tymmor hwnw o'r flwyddyn; ac fel na rwystrid ei ymgyrch yn erbyn Prydain, gwedi mynu ganddynt nifer o wystlon, a'u derbyniodd i'w nodded. Gwedi parotoi o gylch 80 o gludlongau, yr hyn a farnai yn ddigonol i drosglwyddo dwy leng o filwyr, efe a ymddiriedodd ei rwyflongau i swyddogion ei fyddin; a deunaw o lestri, na allent ymuno ag ef, o

herwydd croeswynt a'u daliai mewn porthladd o gylch wyth milltir oddi yno, a adawodd ar ei ol i drosglwyddo ei wŷr meirch. Rhelyw y fyddin a orchymmynodd i ofal T. Sabinus ac A. Cotta, i olygu y *Menapii*, ac i ddwyn dan ufudd-dod y parthau hyny ym mhlith y *Morini*, na anfonasent genadau ato ef am heddwch: ac i S. Ruffus y rhoddodd lu digonol i warchad y gwersyll a'r porth nes y dychwelai.

Gwedi trefnu y pethau hyn, a'r awel yn tegweddu, o gylch y drydedd wyliadwraeth, efe a ollyngodd yr hwyliau, gan orchymmyn i'r gwŷr meirch fyned i'r llestri yn y porthladd arall, a'i ddilyn ef; ond yn hyn ni buont mor gyflym ag y dylasent. Efe ei hun, a'r llongau blaenaf, a ddaeth at ymylau Prydain o gylch y bedwaredd awr o'r dydd; ac a welai yr holl fryniau yn orchuddiedig gan wŷr arfog. Y cyfryw oedd ansawdd y morfinion yn y parthau hyn, fel y gellid taflu picellau oddi ar yr ucheldir i'r traeth; am hyny barnai y lle yn rhy anfanteisiol i dirio; a chan fwrw angorau, efe a ddysgwyliodd ddyfodiad y rhelyw o'i lynges hyd y nawed awr. Yn y cyfamser, i'w swyddogion cynnulledig y dadguddiodd yr hyn a adroddasid iddo gan Volusenus; gan ddwyn ar ddeall iddynt yr angenrheidrwydd mewn milwriaeth, ac yn enwedig ar y môr, o fod yn fedrus ac yn chwidr yn eu symmudiadau, gan ufuddhau i bob amnaid yn ddiaros. Yn ol gollwng y cynghor, a'r gwynt a'r llanw yn cydfyned, rhoddodd Caisar arwydd i godi yr angorau, a chan hwyliaw o gylch 8 milltir rhagddo, cyfleodd ei longau yng ngwyneb traeth agored a gwastad.

Y barbariaid, gwedi gwybod bwriad y Rhufeiniaid, ac anfon o'u blaen eu gwŷr meirch, a'u cerbydau, y rhai arferent mewn brwydrau, a ddilynasant gyda'r fyddin o wŷr traed i luddias eu disgyniad o'u llongau. Ond nid gwaith hawdd oedd ynnill y tir; canys ni allai ein llongau trymion ddynesu allan o ddyfnder dwfr; a'n milwyr, mewn lle anghydnabyddus, eu dwylaw yn llawn, yn drymlwythog o arfau, oeddynt yn gorfod ar unwaith ddisgyn o'u llongau, gwrthsefyll y tònau, ac

ymladd â'r gelynion; y rhai, naill ai oddi ar y tywod, neu ychydig ym mlaen yn y dwfr, â'u holl aelodau yn rhyddion, ac yn adnabod y traeth, a allent saethu eu picellau yn hyfion, a chyffroi ym mlaen eu meirch, y rhai oeddynt gwedi ymarferu â'r fath ymgyrch. Parodd y pethau hyn fraw nid bychan ym mhlith y Rhufeiniaid; a chan eu bod yn anghynnefin â'r fath frwydrau, ni ddangosasant yr un bywiogrwydd ac ecrwch i ymladd ag y byddent arferol.

Caisar, yn canfod hyn, a archodd ddwyn y rhwyf-longau, llestri anadnabyddus i'r barbariaid, ac yn fwy chwyfiadwy, a'u cyflëu o flaen y cludlongau, a'u hystlysau hirion at y lan; ac oddi arnynt ergydio pob math o offer dinystr ar y gelynion. Bu hyn o wasanaeth nid bychan i'r Rhufeiniaid; canys y barbariaid, gwedi cyffroi wrth ddull ein llongau, chwyfiad y rhwyfau, a'r mangnelau, a giliasant ychydig. Yr oedd ein milwyr er hyn mewn cyfyng-gynghor, a hyny gan mwyaf o herwydd dyfnder y dwfr: hyn a barodd i fanierydd y ddegfed lleng, gwedi ioli y duwiau am lwyddiant, grochlefain—"Disgynwch, fy nghydfilwyr, onid ydych foddlon i ollwng yr Eryr i'r gelynion? myfi, yn ddiau, a wnaf fy nyledswydd i'm gwlad a'm llywydd." Gwedi ei groch floedd, efe a neidiodd oddi ar y llong, ac a frysiodd, gan chwyfio ei faniar eryraidd tua'r gelynion. Yna ei gydfilwyr, gan annog naill y llall na fyddent euog o'r fath ddigalondeb, a'i canlynasant; ac yn ebrwydd y milwyr o'r llongau ereill hefyd a frysiasant i ddynesu at y gelynion.

Cynnaliwyd yr ymdrech yn gyndyn o bobtu. Y Rhufeiniaid, gan nad allent ymfyddino yn drefnus, na chadw eu sefyllfa, nac ymunaw â'u banieri priodawl, ond wedi neidio o'u llongau yn ymgydio â'r faniar nesaf atynt, a oeddynt mewn cryn annhrefn. Ond y gelynion, yn adnabod y dwfn a'r bas, pan welent nifer yn disgyn o long, a ysbardynent eu meirch, ac a osodent ar ein gwŷr yn eu hammharodrwydd—llawer a amgylchent yr ychydig; ac ereill, lle gwelent fylchau, a ergydient bicellau yn ystlysawl. Pan ganfu Caisar hyn,

efe a archodd lenwi cafnau hirion y llongau, a llestri mân ereill, â gwŷr, gan beri iddynt gynnorthwyo lle gwelent yr angen mwyaf. Felly, ein gwŷr blaenaf, wedi gosod eu traed ar y sychdir, a'u cyfeillion yn dilyn yn gyflym, hwy a gyrchasant ruthr ar y gelynion, ac a'u gyrasant ar ffo: ond nid allent eu herlid yn bell, na chymmeryd yr ynys y tro hwn, o ddiffyg marchogion. Hyn o wall yn unig a barodd i Gaisar fod yn fyr o'i lwyddiant arferol.

Y gelynion wedi eu gorchfygu, can gynted ag y tybiasant eu hunain allan o berygl, a anfonasant genadon at Gaisar i ddeisyfu heddwch; gan addaw rhoddi gwystlon er cyflawnu ei eirchion. A chyda y cenadon hyn daeth Comius yr Atrebiad, yr hwn, fel y soniwyd o'r blaen, a anfonwyd gan Gaisar i Brydain; a'r hwn a ddaliasent cynted ag y daeth i dir, ac adrodd iddynt ammodau y perawdr, gan ei gadwynaw yng ngharchar; ond a ollyngasant yn rhydd, yn awr, wedi y frwydr. Yn esgus dros yr hyn a wnaethent, rhoddasant y bai ar y gwerin bobl, gan erfyn arno faddeu trosedd o anwybodaeth. Caisar a achwynodd ar eu hanwadalwch, gan iddynt, wedi gyru yn wirfoddol genadon ato ef i Gal i ddeisyfu heddwch, ddwyn rhyfel yn ddiachos yn ei erbyn. Ond efe a faddeuai eu hamryfusedd, gan erchi gwystlon. A rhai gwystlon a roddwyd iddo yn ebrwydd, ereill o bellder gwlad a addawent mewn ychydig ddyddiau. Yn y cyfamser, anfonasant eu gwŷr bawb i'w breswyl; a'r penaethiaid o bob parth a ddaethant i ymddiried eu hunain a'u treftadaeth i ewyllys Caisar.

Heddwch fel hyn a sefydlwyd ym mhen pedwar niwrnod wedi dyfod o Gaisar i Brydain. Y deunaw llong a soniwyd am danynt uchod, ac a adawyd yn ol i drosglwyddo y marchawglu, a ollyngasent i'r môr gydag awel deg. Ond cynted ag y daethant ar gyffin Prydain, ac yng ngolwg y gwersyll, cyfododd tymmestl erchyll, fel nad allent ddal yng nghyd: rhai a ddychwelasant yn ol i'r porthladd y daethent o hono; ereill a yrwyd tua pharthau gorllewinol yr ynys, lle y ceisiasant angori; ond trwy waith y dwfr yn eu

gorlenwi, gorfu arnynt ymddiried eu hunain eilchwyl i gurfa y dymmestl a'r tonau, a myned yn eu gwrthol i wlad Gal.

Yn yr un nos, y lloer yn llawn, y pryd y mae y llanw yn y moroedd hyn yn fwyaf, a'n morwyr ni yn anwybodus o hyny; y rhwyflongau, y rhai, wedi i'n byddin dirio, a lusgasid i'r lan, a lanwyd o ddwfr; a'r cludlongau a nofient wrth angorau, a ryddhawyd, ac a gurwyd yma a thraw gan nerth y dymmestl, heb fod yn ein gallu ni beri yr ymwared lleiaf. Llawer o'r llongau yn ystyllod; ereill wedi colli eu rhaffau a phob offer, oeddynt yn llwyr ddifudd tuag at fordwyaeth; hyn a barodd flinder mawr i'r holl fyddin; canys nid oedd dim llestri ereill i'w trosglwyddo yn ol; na defnyddion wrth law i adgyweirio eu rhai eu hunain: ac hwy a wyddent yn dda y dylent fyned i wlad Gal i auafu, o ran nad oedd nac yd nac ebran i'w cael ym Mhrydain, i feddwl am fwrw y gauaf ynddi.

Pan ddaeth hyn i wybodaeth penaethiaid y wlad, y rhai oeddynt wedi ymgasglu i gyflawnu eu hammodau â Chaisar, hwy a ddechreuasant ymgynghori â'u gilydd. Hwy a wyddent nad oedd gan y Rhufeiniaid na meirch, na llongau, nac ymborth: hwy a farnent rifedi eu milwyr wrth gyfyngder eu gwersyll; canys yr oedd yn gyfyngach y waith hon nag arferol, o herwydd bod Caisar wedi peri i'w filwyr adael o'u hol eu dodrefn. Gwelent gan hyny bob annogaeth i dori eu hammodau, drwy luddias pob angenrheidiau, a'u dal megys yn gaethion hyd y tymmor gauaf. Ac yna, wedi naill ai ein gorchfygu, ai rhwystro ein dychweliad, ni byddai ereill rhag llaw mor eofn a beiddiaw dyfod trosodd fel gelynion i'r ynys. Felly, wedi ymdyngedu o newydd, dechreuasant encilio o un i un o'r gwersyll, gan fyned i ail gasglu eu byddinoedd yng nghyd.

Ond Caisar, er nad oedd wybodus o'u cydfwriad, eto, oddi wrth y golled o'i longau, ac annybendod y penaethiaid yn dwyn y gwystlon i mewn yn ol eu cytundeb, efe a ammheuodd nad oedd pob peth yn iawn. Am hyny efe a ragofalodd erbyn pob damwain: gan

erchi cludo ymborth i'w wersyll beunydd, o'r wlad oddi amgylch; ac hefyd gyweirio y llongau a waethygwyd leiaf â drylliau y lleill; a phethau bynag oeddynt yn niffyg, archodd eu cyrchu o wlad Gal; ac felly, trwy ddiwydrwydd ei filwyr, heb golli ond deuddeng llong, adgyweiriwyd y lleill oll yn gymhwys i fordwyaw.

Yn y cyfamser, y lleng a elwid y 7fed a aeth allan, yn ei thro i gyrchu yd o'r maes, heb ddysgwyl un ymgyrch gelynawl; a thra yr oedd rhai yn medi yn y maes, ac ereill yn cludo i'r gwersyll, y porth-wylwyr a fynegasant i Gaisar fod mwy o lwch nag arferol yn codi oddi ar y parth yr aethai y lleng iddo. Yntau gan ammheu yr hyn oedd yn wir wedi dygwydd, sef bod y barbariaid gwedi cymmeryd rhyw ail feddwl, a gymmerth gydag ef y mynteioedd oeddynt eisys dan arfau, gan erchi i ddwy fyntai ereill gymmeryd eu lle, ac i'r lleill oll ymarfogi, a'i ddilyn ef gyda'r brys mwyaf. Nid aethai neppell o'r gwersyll nes y gwelai ei leng mewn enbydrwydd, y gelynion wedi eu hamgylchu, ac yn picellu arnynt o bob parth. Fe wyddai y gelynion nad oedd ond un maes heb ei fedi genym, a chan farnu y byddai yn rhaid i ni ddyfod yno, hwy a ymguddiasant y nos o'r blaen yn y coedydd ger llaw i'n dysgwyl; a chan osod ar ein gwŷr pan oeddynt wedi diosg eu harfau, ac yn medi yn brysur, hwy a laddasant rai, a roisant y lleill mewn annhrefn, ac a amgylchasant y cwbl ar eu meirch a'u cerbydau.

Dyma eu dull o ymladd yn eu cerbydau. Gwedi gyru i bob parth o fyddin y gelynion, a saethu eu picellau yn fedrus, y maent yn fynych yn dyrysu y rhestrau blaenorawl, pe bai ond yn unig drwy wylltineb y meirch a thrwst aruthrol yr olwynion. A phan ruthrant i ganol marchawglu, hwy a ddisgynant, ac a ymladdant ar eu traed. Y gyrwyr, yn y cyfamser, a frysiant ychydig allan o'r frwydr, ac a osodant eu hunain mor gyflëus, fel y geill eu cyfeillion, os pwysir yn rhy drwm arnynt, ddychwelyd i'w cerbydau. Fel hyn, mewn brwydrau, y maent yn unaw cyflymder gwŷr meirch at ddiysgogrwydd gwŷr traed. Mor

gyfarwydd ydynt yn yr ymarferiad hwn drwy gynnefindod beunyddiol, fel y gallant attal eu meirch ar eu llawn gyrch, ïe, yng nghanol goriwaered serth—sefyll yn ddiattreg—a throi o gylch, rhedeg hyd y pawl, ymorphwys ar yr offer, ac oddi yno esgyn yn ebrwydd i'w cerbydau.

Y Rhufeiniaid, gwedi eu brawychu a'u hannhrefnu, trwy y ddull newydd hon o ryfelu, a gawsant gymhorth cyfamserol gan Gaisar. Ar ei ymddangosiad ef, y gelynion a ymattaliasant, a'r Rhufeiniaid a ymhyfasant o'u dychryn. Ni feddyliodd yn gyflëus ymladd â'r gelynion y pryd hyny; ond efe a safodd ei dir dros ennyd, ac yna efe a dywysodd ei lengau i'r gwersyll; a'r gelynion hefyd, tra yr oeddem ni yn brysur, a ymadawsant. Ond yn y cyfamser, y barbariaid a anfonasant genadon i'r wlad oddi amgylch i gyhoeddi leied oedd nifer ein milwyr, i ddangos pa faint o ysbleddach a ennillid, a pha gyfleusdra ddymunol oedd yn awr i ddiogelu eu rhyddid parhäus, os ymunent yn ebrwydd i gyfarsangu gwersyll y Rhufeiniaid. Trwy hyn y llwyddasant i gasglu yng nghyd nifer mawr o filwyr meirch a thraed, ac at ein gwersyll y daethant.

Er y gwyddai Caisar, wrth yr hyn a ddygwyddasai eisys, os gorchfygid y gelynion, y gallent, er hyny, ffoi yn gyflym o'r perygl; eto, gan fod gauddo 30 o farchogion, y rhai a ddygasai Comius, a soniwyd am dano o'r blaen, gydag ef yn ei osgordd, efe a fyddinodd ei lengau yng ngwyneb y gwersyll. Yn y frwydr, nid oedd yng ngallu y gelynion gynnal rhuthr y llengau; ond gan droi eu cefnau, hwy a erlidiwyd tra parhaodd nerth ac anadl ein milwyr i'w dilyn; ac wedi iddynt ladd llaweroedd, a dyfetha a llosgi yr adeiladau yn bell ac agos, hwy a ddychwelasant i'r gwersyll.

Yn yr un dydd daeth at Caisar genadon oddi wrth y gelynion i ddymuno heddwch. Yntau a archodd wystlon, y dau nifer a fynai ganddynt ar y cyntaf, gan eu rhwymo i'w gyru hwynt ar ei ol ef i wlad Gal. A chan fod Alban Elfed yn nesäu, a'i longau bregus heb fod mewn hwyl i foriaw yn y gauaf, can gynted

ag y chwythodd awel deg, yr hyn a fu ychydig wedi hanner y nos, efe a hwyliodd ymaith, ac a diriodd yn ddiogel yn y porth y daethai o hono, gyda'i holl lynges; oddi eithr dwy gludlong yn cynnwys o gylch 300 o filwyr nad allent gyrhaedd yr un porth, ond a yrwyd ychydig is law.

Y tri chant milwyr hyn wedi cyrhaedd y tir, a gychwynasant tua'r gwersyll. Ond y *Morini*, y rhai a adawsai Caisar mewn hedd a darostyngiad cyn ei fynediad i Brydain, o drachwant i ysglyfaeth, a'u hamgylchasant, gan erchi iddynt, os oeddynt am achub eu bywyd, roddi i lawr eu harfau. Ond y Rhufeiniaid, yn lle ufuddhau, a ymdrefnasant yn fyddin gron, i'w hamddiffyn eu hunain. Yr aer-dwrf a gasglodd yng nghyd yn ebrwydd o gylch chwe' mil o'r *Morini*. Cynted ag y clybu Caisar am hyn, efe a anfonodd ei holl wŷr meirch o'r gwersyll i gynnorthwyo ei fyntai. Yn y cyfamser, y trichant a wrthladdasant y gelynion yn wrol, am bedair awr yng nghyd, ac a laddasant lawer o honynt, heb dderbyn eu hunain ond ychydig friwiau. Pan welodd y gelynion ein marchogion, hwy a daflasant i lawr eu harfau, ac a ffoisant; a llawer o honynt a laddwyd.

Caisar a yrodd T. Labienus dranoeth, â'r ddwy leng a ddygasai o Brydain, yn erbyn y gwrthryfelwyr; a chan fod yr haf sych wedi dyhyspyddu eu gweunydd, y rhai a fuasent yn noddfäu iddynt y flwyddyn o'r blaen, hwy a syrthiasant braidd oll i'w ddwylaw ef. Sabinus, a Chotta, y rhai a anfonasai Caisar i wlad y *Menapii*, gyda rhelyw y fyddin, pan hwyliasai efe ei hun i Brydain, a ddychwelasent ato ef, heb wneuthur nemor yn rhagor nag anrheithio y wlad, tori yr ydau, a llosgi y trefydd; canys y bobl a ddiangasant i lechu yn y coedydd. Aeth Caisar a'i holl lengau i auafu ym mhlith y *Belgæ*: ac yno y derbyniodd wystlon oddi gan ddwy dalaeth yn unig o Brydain; a'r lleill oll yn esgeuluso eu hammodau. Cynted ag y clybu y Senedd yn Rhufain am fuddugoliaethau Caisar, hwy a gyhoeddasant wyliau gorfoledd dros ugain niwrnod yng nghyd.

## AIL RYFELGYRCH IWL CAISAR I YNYS PRYDAIN.

### LLYFR V.

Caisar, gan adael ei fyddin yn eu gauafdai, a aeth, yn ol ei arfer blynyddawl, i'r Ital. Cyn ei ymadawiad, archodd i'w raglawiaid adeiladu cynnifer o longau newyddion ag a allent yng nghorff y gauaf, ac adgyweirio y rhai oedd wedi ammharu. Cyfarwyddodd hwynt i osod byrddau y llongau yn is nag y byddid arferol eu gwneyd ym Môr y Canoldir, fel y gallai milwyr esgyn a disgyn yn gyflymach; canys efe a wyddai nad oedd y distyll trai ym moroedd Prydain yn gadael ond ychydig ddwfr yn agos i'r feisdon. Ac fel y cynnwysid meirch ynddynt yn fwy cyflëus, mynai fod y llongau yn lletach nag arferol. Archodd hefyd osod rhwyfau arnynt oll; ac yr oeddynt yn gymhwysach i'w dwyn o ran eu hisder.

[Aeth Caisar o'r Ital i Ilyricum—yn ol i Ital—ac at ei fyddin.]

Yn ebrwydd ar ei ddychweliad, ymwelodd â'i fyddin, y naill fyntai yn ol y llall; a chafodd, er maint y prinder o bob defnyddiau, eu bod wedi adeiladu chwe' chant o'r llongau a ddarluniasai iddynt, heb law 28 o longau hirion, a'r cwbl yn barod i hwylio o fewn ychydig ddyddiau. Gwedi canmol diwydrwydd ei filwyr a'i swyddogion, ym mhlith gorchymmynion ereill, archodd iddynt oll ei gyfarfod ef ym Mhorth Itius, o ba fan y barnai fod y mordwyad byraf i Brydain, sef o gylch deg ar hugain o filltiroedd.

Gan adael cynnifer o filwyr ag oedd angenrheidiol ar ei ol, aeth Caisar â phedair lleng ac wyth cant o farchogion i gyffiniau y *Treviri*, cenedl anhyblyg, oedd eto heb ymostwng. * * *

Mae Indutiomarus, un o dywysogion y wlad hòno, yn cynnull byddin, ond gwedi hyny yn gofyn heddwch. Caisar yn boddloni i hyny, fel na rwystrid ef, gwedi cymmaint o barotoad, rhag myned i Brydain; ond y mae Indutiomarus yn gorfod prynu ei heddwch trwy roddi 200 o wystlon: ym mhlith y rhai hyn yr oedd ei fab ei hun a'i geraint agosaf.

Yn ol hyn Caisar a ddychwelodd i Borth Itius, lle y cyfarfu ag ef o gylch 4000 o farchogion Gal, gyda thywysogion o bob talaeth. Bwriad Caisar oedd cymmeryd y rhai mwyaf ammhëus o honynt yn ei osgordd i Brydain, rhag iddynt beri cythrwfl yn ei absen ef. Gwynt gwrthwynebus o ystlysau y gogledd a'i cadwodd ef a'i lynges yn y porthladd dros bum niwrnod ar hugain. Ar newidiad y gwynt, archodd i'w fyddin ymbarotoi i foriaw. Gadawodd Labienus yn rhaglaw yng ngwlad Gal, a chydag ef dair lleng a dwy fil o farchogion, i gadw y porth, i drysori yd, ac i anfon drosodd ato ef o bryd i bryd, y newyddion a ddygwyddai; a chyda phum lleng, a'r un nifer o wŷr meirch ag a adawsai gyda Labienus, o gylch machlud haul, gollyngodd ei hwyliau i'r deheuwynt. Yn oriau dewaint gostyngodd yr awel, a dygwyd y llynges gyda'r llanw. Ar doriad y wawr, efe a ganfu Brydain ar ei law aswy. Pan aeth yn drai, gorchymmynodd ei wŷr at y rhwyfau, nes y daethant at y traeth lle y tiriasent y flwyddyn o'r blaen. Mawr ganmoliaeth oedd ddyledus i'r rhwyfwyr am weithio mor ddiflin ar y cludlongau trymion, a pheri iddynt fod lygad yn llygad â'u cyfeillion yn y rhai hirion ysgafnach. O gylch hanner y dydd, yr oeddym ar ystlys Prydain gyda'n holl lynges, heb fod gymmaint ag un gelyn yn ein golwg. Ond deallodd Caisar gwedi hyny, gan y carcharorion, i'r gelynion fod yno yn y bore yn lluosog eu rhif, hagen wrth weled cynnifer ag wyth gant o longau, iddynt frawychu a chilio i'r ucheldir.

Caisar, gwedi dwyn ei fyddin i'r lan, a dewis gorsaf ei wersyll, a gafodd wybod gan y carcharorion ym mha

le yr oedd lluest y gelynion. Efe a adawodd ddeng myntai a thri chant o wŷr meirch dan lywiaeth Q. Atrius yng nglan y môr i warchad y llongau, a adawsai yn angor ar draeth gwastad agored. Yng nghylch y drydedd wyliadwriaeth, cychwynodd gyda y rhelyw o'i fyddin i chwilio am y gelynion. Gwedi teithio o gylch deuddeng milltir, daeth i'w golwg. Eu marchogion a'u cerbydau a ddisgynasant o'r tir uchaf tua'r afon, i luddias ein gwŷr ei threiddio, ac a ddechreuasant y frwydr; ond gwedi cael eu gwrthyru gan ein gwŷr meirch, hwy a giliasant i'r coedydd; lle yr oedd ganddynt amddiffynfa gadarn rhwng ansawdd y bryn a gwaith milwraidd, yr hon a luniasid o'r blaen yn amser eu hamrafaelion cartrefol. Yr oeddynt gwedi cau pyrth y garthan â phreniau pleth-wrwysg a doresid at y perwyl. Ni anturient oddi yno ond yn bleidiau bychain i wib-frwydro. Er hyny lluddient ein gwŷr ni i mewn, nes y darfu i filwyr y 7fed leng lunio nen-glwyd, a bwrw gwarglawdd yn erbyn y gaer; a chymmeryd y lle, gan yru y gelynion allan o'u noddfa, heb dderbyn niwed namyn ychydig friwiau. Ond ni oddefai Caisar i'w wŷr eu hymlid yn bell, o herwydd ei fod yn anhysbys o'r wlad, a'r diwrnod yn hwyrhau; am hyny efe a dreuliodd y diwedydd yn cadarnhau ei wersyll.

Yn fore dranoeth, Caisar, wedi rhanu ei fyddin yn dair myntai, a anfonodd ei wŷr traed a'i farchogion i erlyn y fföedigion. Yn ol iddynt deithio hyd gyrhaedd golwg y rhai olaf o honynt, daeth cenadon oddi wrth Q. Atrius i hysbysu i Gaisar fod tymmestl ddirfawr y nos o'r blaen wedi dryllio y rhan fwyaf o'i longau ef, a'u bwrw yn ddarnau ar y traeth, gan nad oedd ymdrech y morwyr, na rhaffau nac angorau, o les yn y byd tuag at attal cyrch y rhuthrwynt. Ar y newydd annymunol hwn, Caisar a alwodd yn ol ei filwyr o bob rhyw, gan erchi iddynt roddi heibio yr ymlidiad: a chan ddychwelyd at ei lynges, cafodd dystiolaeth fod yr hanes a anfonasid ato ef yn rhy wir. Yr oedd o

gylch deugain o longau wedi eu colli, a'r lleill mor ddrylliedig nas gellid eu hadgyweirio heb lawer o draul a llafur. Am hyny efe a ddetholodd gynnifer o seiri ag a oedd yn ei fyddin, ac a yrodd i geisio ereill o Gal. Ysgrifenodd hefyd at Labienus, gan erchi iddo roddi y llengau oedd gydag ef ar waith i adeiladu cynnifer o longau a'r a allai. Er y gwyddai y byddai yn llafur dirfawr, eto efe a farnodd yn oreu lusgo ei holl lynges i dir, a'u diogelu o fewn terfynau ei wersyll. Treuliwyd o gylch deng niwrnod i gwblhau hyn o orchwyl, ac am gynnifer o nosweithiau hefyd ni bu y milwyr yn segur. Ei longau wedi eu diogelu, a'i wersyll wedi ei gadarnhau, gan adael yr un osgordd i'w gwarchad, efe a'i fyddin a ddychwelodd i'r fan lle y troisai yn ol o erlyn y gelynion. Cafodd erbyn hyn eu bod yn fwy lluosog o lawer nag o'r blaen, a'u bod trwy gydsyniad gwedi ymddiried trefnidaeth y rhyfel i Cassivelaunus, talaeth yr hwn oedd wahanedig oddi wrth yr arfordiredd gan yr afon Tamesis, ac yn cyrhaedd o gylch 80 milltir i'r wlad. Buasai ryfel gynt rhyngddo ef a thaleithiau ereill; ond er hyny, ar ein dyfodiad ni, hwy a unasant i'w urddo ef yn Bendragon.

Perfeddwlad Prydain a feddiennir gan y rhai a gyfrifant eu hunain yn gynfrodorion yr ynys. Yr arfordiredd a breswylir gan bobloedd y Belgiaid, y rhai a hwyliasent drosodd naill ai o ran anrhaith ai goresgyn, ac a gadwasent eu henwau priod; ac wedi ymheddychu a sefydlasent eu preswyl, gan ymroi i ddiwylliaw y tiroedd. Mae y wlad yn dra phoblog, yr adeiladau yn aml, a chyffelyb i'r rhai a welir yng ngwlad Gal. Eu hanifeiliaid ydynt luosog. Mewn masnach arferant elydn (pres), a modrwyau heiyrn wrth y pwysau. Ceir plwm gwyn yng nghanol y wlad, a haiarn ar gyffiniau y môr; ond ychydig sydd o haiarn, a'r elydn a ddygir i mewn o wledydd tramor. Mae ganddynt yr unrhyw goedydd ag a geir yng ngwlad Gal, oddi eithr ffawydd a ffynidwydd. Ni chaniatëir iddynt

ymborthi ar geinach, na gwyddau, nac ieir; eto hwy a'u magant er eu difyrwch. Mae yr hin yn fwy cymmedrol nag yng ngwlad Gal, ac oerfel rhew yn llarieiddiach.

Triongl yw portreiad yr ynys, ac un ystlys iddi ar gyfer Gal; ac yn nwyreinbarth hon, sef yng Nghaint, y daw llongau i dir oddi yno. Oddi yma, yr ystlys a estyn i'r deheu o gylch pum cant o filltiroedd.

Yr ail ystlys a ogyfeiria yr Hispaen, tua machlud haul. Ar gyfer hon y mae yr Iwerddon, ynys o gylch hanner maint Prydain, a'r pellder rhyngynt yn ogyhyd a lled y môr rhwng Gal a Phrydain. Yn y canol rhwng y ddwy ynys y gorwedd Ynys Manaw, heb law nifer o ynysedd mân ar wasgar yn y môr. Am y rhai hyn y dywedir bod eu trigolion mewn tywyllwch dros ddeng niwrnod ar hugain yn nhrymder y gauaf. Ond ni chawsom ni hysbysrwydd am hyn; ond nyni a sylwasom wrth ein dyfr-fesurau, fod y nos yn ferach yn yr ynys nag ar y cyfandir gogyfer. Hyd yr ail ystlys hon o'r ynys, yn ol eu tyb hwy, sydd 700 o filltiroedd.

Y drydedd ystlys sydd ar barth y gogledd, yn gwynebu y môr agored, ac un rhan o honi ar gyfer bro yr Ellmyn. Bernir hyd yr ystlys hon yn 800 milltir: ac felly gogylchedd yr ynys sydd ddwy fil o filltiroedd.

Y bobl mwyaf gwaraidd o honynt yw trigolion Caint. Mae yr holl dalaeth hon yn gorwedd ar y môr; ac mewn defodau ac arferion, y maent yn gyffelyb i'r Galiaid. Nid yw trigolion canol y wlad yn ymdrafferthu nemor i lafurio tir, ond y maent yn byw ar laeth a chigfwyd, ac yn ymwisgo mewn crwyn bwystfilod: ond y mae y Prydeiniaid oll yn lliwio eu cyrff â glaslys, fel yr ymddangosont yn fwy dychrynadwy i'w gelynion. Eu gwallt sydd laes; ond hwy a eilliant bob rhan o'r corff, oddi eithr y pen a'r wefus uchaf.

Rhuthrodd y gelynion ar feirch a cherbydau yn

filain ar ein marchogion pan oeddynt ar eu taith; ond ein gwŷr a gawsant y goreu arnynt, gan eu gyru i'r bryniau a'r coedydd, a lladd llawer o honynt; ond trwy eu herlid yn rhy bell, collwyd rhai o'n gwŷr. Ond y gelynion a ddychwelasant cyn pen hir, pan oedd ein gwŷr ni leiaf yn eu dysgwyl, ac yn brysur yn cadarnhau eu gwersyll, ac a gyrchasant ruthr angerddol ar ein milwyr o flaen y cloddiau. Anfonodd Caisar yn ebrwydd ddwy fyntai o wŷr dewisol ei lengau i'w cynnorthwyo. Y rhai hyn, drwy gael eu cyffroi gan y ddull anarferol o ryfela, a ymfyddinasant ar frys mor gyfagos at eu gilydd ag y gallent. Er hyny, y gelynion yn hyfion a dorasant eu ffordd drwyddynt, ac a ddychwelasant yn ol eilwaith yn ddigolled. Laberius Durus, swyddog yn y fyddin, a laddwyd yn yr ymgyrch hon; ond o'r diwedd, gwedi gyru yn rhagor o gynnorthwyon, y gelynion a yrwyd i gilio.

Gan fod y frwydr hon yn dygwydd o flaen y gwersyll, ac yng ngolwg yr holl fyddin, yr oedd yn amlwg i bawb nad oedd milwyr ein llengau yn alluog i wrthwynebu y fath elyn; canys nid allent erlid yn ddigon cyflym o herwydd pwysau eu harfau, ac ni feiddient adael eu banieri. Nid allai ein gwŷr meirch chwaith ymladd heb berygl; canys y gelynion a rithgilient, nes y tynent ein marchogion i bellder oddi wrth y llengau, yna hwy a ddychwelent, a chan ddisgyn oddi ar eu cerbydau, hwy a frwydrent ar eu traed gyda mantais. Ac yn yr ymgyrchau rhwng y marchogion hefyd, yr oeddym yn ddarostyngedig i'r un fath ar berygl; o herwydd nid oeddynt hwy yn ymfyddino yn un dorf, ond yn fynteioedd bychain yma a thraw; a'u gorsafau wedi eu dewis yn y cyfryw fodd, fel y gallent gynnorthwyo eu gilydd, ac anfon tyrfäu newyddion i gymmeryd lle y rhai blinedig.

Tranoeth, y gelynion a gymmerasant eu sefyllfa ar y bryniau yn dra phell oddi wrth y gwersyll; er na ymddangosent ond yn anfynych; ac yn arafach nag arferol, hwy a ddechreuasant dynu bicre â'n march-

awglu. Ond o gylch hanner dydd, pan oedd Caisar wedi gyru Trebonius ei swyddog, gyda thair lleng a'r holl farchogion, i gyrchu angenrheidiau, y gelynion o bob parth a ruthrasant am eu penau yn un gyrch, gan dreiddio hyd at fanieri y llengau. Ein gwŷr ni a osodasant arnynt yn ffyrnig, ac a'u cymhellasant i ffoi.

Ein marchogion a'u herlidiasant yn filain ac eofn, gan eu bod yn gweled y llengau yn eu dilyn i'w cynnorthwyo. Hwy a laddasant nifer mawr o honynt, ac a'u canlynasant mor fywiog fel na chawsant hamdden i ail ymdrefnu, nac i sefyll eu tir, nac i ddisgyn oddi ar eu cerbydau. Yn ebrwydd yn ol y chwalfa hon, y ciliodd eu cynghreirwyr o bell i'w taleithiau eu hunain: ac wedi hyn ni ddaeth y gelynion i'r maes mewn dim grym i'n gwrthsefyll ni.

Caisar, mewn gwybodaeth o'u bwriadau, a arweiniodd ei fyddin i derfynau gwlad Cassivelaunus, hyd lan afon Tamesis, ar yr hon afon nid oedd onid un rhyd treiddiadwy, a hwnw yn anhawdd. Pan ddaeth hyd yno, efe a welai yr ochr hwnt i'r afon yn orchuddiedig gan lu mawr o'r gelynion mewn trefn byddinol. Yr oedd y lan hòno o'r afon yn argäedig gan bolion blaenllymion; ac yn yr afon hefyd yr oedd yr unrhyw bolion gwedi eu gyru, ac yn orchuddiedig gan y dwfr. Caisar, wedi cael gwybodaeth o hyn drwy y carcharorion a'r bradwyr, a anfonodd y marchawglu o'i flaen, gan erchi i'r llengau eu canlyn yn ddioedi. A chyda'r fath chwidredd engyrth yr aethant, fel ag y treiddiasant yr afon heb ddim ond penau y llengwyr allan o'r dwfr, ac y gosodasant ar y gelynion, fel na allent ddal yr ymgyrch, ond cilio oddi ar lan yr afon, a chymmeryd eu carnau.

Cassivelaunus, gwedi cael prawf nad oedd iddo ymddiried yn rhagor i frwydr, a ollyngodd ymaith y rhan fwyaf o'i fyddin; a chan gadw o gylch pedair mil o gerbydau, efe a wyliodd ein symmudiadau o bryd i bryd, gan ymgelu mewn coedydd a lleoedd dyrys anhydraidd. Ac o'r parthau hyny y gwyddai y byddai

i ni dramwy trwyddynt, gofalodd am symmud ymaith y trigolion a'r creaduriaid i gel y coedydd: a phryd bynag yr anturiai ein marchogion ni yn o bell er mwyn anrheithio y wlad, gan fod Cassivelaunus yn gyfarwydd yn holl ffyrdd a chroeslwybrau y fro, efe a anfonai ei gerbydau allan o'r coedydd; ac nid allai ein marchogion ni eu gwrthsefyll hwynt heb ddirfawr berygl. Am hyny archodd Caisar na byddai i'r marchogion anturio yn bellach i'r wlad, i losgi a difrodi, nag y byddai yng ngallu y llengwyr eu canlyn i'w cynnorthwyo.

Yn y cyfamser, y *Trinobantes*, a oeddynt ym meddiant o un o'r taleithiau goreu yn y wlad, a anfonasant genadau at Gaisar, gan addaw ymroddi eu hunain i'w lywodraeth ef: dymunent hefyd iddo amddiffyn Mandubratius rhag creulonder Cassivelaunus, a'i anfon atynt i'w rheoli megys eu brenin. Imanuentius, ei dad ef, a fuasai gynt yn frenin arnynt, ond a laddesid gan Cassivelaunus, a'i fab ef a ddiangasai drosodd at Gaisar i Gal, rhag syrthio i'r un dienydd a'i dad, gan ddeisyfu ei nodded. Caisar a ganiataodd eu dymuniad, gan erchi deugain o wystlon, ac ymborth i'w fyddin. Efe a anfonodd Mandubratius atynt; hwyntau a gyflawnasant eu hammod trwy anfon iddo y gwystlon a'r ymborth.

Wedi derbyn y *Trinobantes* mewn cynghrair, a rhoddi gorchymmyn i'r milwyr na wnaent iddynt unrhyw niwed, daeth cenadau oddi wrth y *Cenimagni*, y *Segontiaci*, yr *Ancalites*, y *Bibroci*, a'r *Cassii*, at Gaisar, i roddi eu hunain i fyny iddo ef. Gan y rhai hyn y cafodd wybod nad pell oddi yno oedd tref Cassivelaunus, yr hon oedd amgylchedig gan goedydd a chorsydd; ac i'r hon y casglasai laweroedd o ddynion ac anifeiliaid. *Tref* a eilw y Prydeiniaid amddiffynfa goediog, amgylchedig gan gloddiau a ffosydd, lle y byddent arferol o gilio iddo rhag unrhyw ruthr gelynol. Tua y dref hon yr aeth Caisar a'i lengau, ac a gafodd y lle yn gadarn hynod, o ran ansawdd y tir

yn gystal a gwaith dynion. Er hyny penderfynodd i wrthladd y gaer mewn deu-fan ar unwaith. Y gelynion, yn ol byr ymdrech, gan nad allent wrthsefyll rhuthrau ein milwyr, a ffoisant allan o'r dref drwy ffordd arall. Cafwyd yno nifer mawr o anifeiliaid, a llawer o'r fföedigion a ddaliwyd ac a laddwyd.

Yn y cyfamser anfonodd Cassivelaunus genadau i Gaint (yr hon wlad, fel y sylwasom eisys, sydd yn gorwedd ar fin y môr), at y pedwar brenin yno, sef Cingetorix, Carvilius, Taximagulus, a Segonax, gan erchi iddynt yn ddioedi gasglu cynnifer o wŷr ag a allent yng nghyd, a myned am ben ein gwersyll ni yn ddiarwybod, a gosod arno. Pan ddaeth y rhai hyn at y gwersyll, y ceidwaid a ruthrasant allan; ac wedi lladd llawer o honynt, a chymmeryd Lugotorix, un o'u blaenoriaid, yn garcharor, hwy a ddychwelasant mewn diogelwch.

Gwedi clywed o Gassivelaunus am yr aflwyddiant hwn hefyd, gan ystyried y colledion a gawsai, bod ei wlad tan ddifrod ac anrhaith, ond mwy na dim bod cynnifer o daleithiau gwedi dianc o'r cynghrair, a anfonodd genadau trwy Comius yr Atrebiad, at Gaisar i ofyn ammodau heddwch. Yntau, o herwydd ei fod yn bwriadu gauafu yn Gal, er darostwng unrhyw wrthryfel a godai yno, a chan ystyried hefyd bod yr haf wedi rhedeg ym mhell, ac mai hawdd fyddai treulio y gweddill o hono mewn oediad, a archodd wystlon, ac a benododd swm y deyrnged a dalai pobl Prydain i'r Rhufeiniaid yn flynyddol. Efe hefyd a rybuddiodd Cassivelaunus na wnai unrhyw niwed i Mandubratius, nac i'r *Trinobantes*.

Gwedi derbyn y gwystlon, efe a arweiniodd ei fyddin i lan y môr, lle y cafodd ei lynges wedi ei hadgyweirio, a gorchymmynodd ei threfnu mewn hwyl mordwy. Ond gan ystyried y rhifedi mawr oedd ganddo o garcharorion, a bod rhai o'i longau gwedi eu dryllio yn y dymmestl, penderfynodd drosglwyddo ei fyddin drosodd ar ddwy gludai. A dygwyddodd, er cynnifer y llongau,

ac er mynyched yr hwylied hwynt i gyrchu a danfon, na chollwyd yr un o honynt yn llwythog o filwyr, nac y leni na'r llynedd. Ond o'r llestri a aethant â'r llwythi cyntaf o filwyr drosodd, ni ddychwelodd ond ychydig iawn yn ol, nac ychwaith o'r tri ugain llong, a arlwyasai Labienus yn Gal; canys gyrwyd hwynt yn eu gwrthol gan wyntoedd croesion. Caisar gan hyny, gwedi hir ddysgwyl yn ofer am danynt, rhag y byddai i'r gauaf roddi clo ar ei fordwyad, o herwydd bod y cyhydedd elfed yn agos, a lwythodd ei filwyr yn gyfyngach nag arferol; a chan gymmeryd achlysur awel ddigyffro, o gylch deg o'r gloch yn yr hwyr, efe a hwyliodd i'r môr, a chyda ei holl longau yn ddiogel, efe a gyrhaeddodd y tir ar doriad y wawr dranoeth.

# DAFYDD O'R HENDWR.

HENDWR yn Edeyrnion a fu gannoedd o flwyddau yn hen ystent barchedig i'r Llwydiaid, disgynyddion Owain Brogyntyn, o'r un gyff ach â'u ceraint cymmydogaethol yn Rug a Gwerclys, ac anneddau hynodol ereill. Y mae yng nghof darllenyddion y *Gwyliedydd*,[1] y rhai ydynt mewn gwth o oedran, y modd yr afradlonodd y Gïwn Llwyd diweddaf ei dda; ac fel, trwy hyawdledd Erskin yn syfrdanu y barnwyr a'r rheithwyr, y bu i ddau o wyrion honedig iddo gael meddiant o'r dreftadaeth. Ym mrawdlys y Mwythig, yn Awst diweddaf, gwrth-haerwyd tystiolaeth y briodas, a'r canlyniad tebygol ydyw, y bydd i'r ddeu-lys ar lan Dyfrdwy ddyfod eto i feddiant yr un deulu. Pa fodd y bu i feirdd Penllyn ac Edeyrnion fod yn fud ar yr achos?

Ni buaswn i yn crybwyll hyn, oni bai ddygwydd i'm llaw yn ddiweddar hen ysgrif, dan enw "*Inquisitio post mortem David de Hendore apud Hardelagh coram H. de Holes justic. Domine Regine die Lune in Vigilia Matthæi appli Anno Reg. Ricardi Secudi triodecimo*," &c. &c. A chan na bydd cyfieithad talfyredig o'r weithred yn annerbyniol gan ddarllenyddion y *Gwyliedydd* yn ardaloedd yr Edeyrnion, dyma efe at eu gwasanaeth hwynt.

"Yn gymmaint ag i Ddafydd o'r Hendwr, yr hwn a ddaliai dir dan unbenaeth y frenines o fewn swydd Feirion, gloi pen ei ddyddiau; a bod rhingyll ei mawrhydi y frenines, o fewn y swydd hòno wedi cymmeryd meddiant o'r unrhyw dir yn enw y frenines yn y dydd y bu Dafydd farw, anfonwyd ustus y frenines, nid amgen, John de Holand, i gymmeryd llwon gwŷr cyfrifol a chyfreithlon mewn perthynas i'r tir a ddaliai yr unrhyw Ddafydd dan ei mawrhydi y fren-

[1] [Cyfroddwyd yr ysgrif hon i'r *Gwyliedydd* yn y flwyddyn 1826.]

ines yn y dydd y bu farw, pa faint o unrhyw dir arall oedd yn ei feddiant, pa faint o swydd a gwasanaeth oedd ddyledus arno, pa faint o werth blynyddol o dir oedd ganddo, pwy ydyw ei etifeddion agosaf, a pha oedran ydynt. A'r cynhawsaeth hwn a gynnaliwyd drwy awdurdod gwarant ei mawrhydi y frenines, ger bron yr unrhyw John de Holand, ustus y frenines, o fewn swydd Feirion yn nhref Gynwyd yn Edeyrnion, ar y dydd Sabbath nesaf o flaen Gwyl Genedigaeth y Fendigedig Fair Wyryf, yn y 14edd flwyddyn o deyrnasiad Risiart yr Ail, trwy lwon Gruffydd Fychan ab Gruffydd ab Riryd, Hywel ab Madog Owrtyn, Morgant ab Dafydd, Ieuan ab Tetbad, Hywel ab Dafydd Moel, Ath ab Dafydd ab Ieuan, Gronwy ab Dafydd ab Gronwy, Madog ab Ieuan ab Dafydd, Madog ab Madog ab Phylip, Gruffydd Goch ab Gronwy, Ieuan ab Ednyfed, a Ieuan ab Meurig—y rhai a ddywedant ar lw, ddarfod i Ddafydd o'r Hendwr, yr hwn a ddaliai ei dir dan unbenaeth y frenines, gloi pen ei ddyddiau yn ei dy yn yr Hendwr, ar y dydd Sabbath nesaf ar ol Gwyl Sant Petr yn y Gefynau, yn y flwyddyn ragddywededig: ac i'r unrhyw Ddafydd farw mewn meddiant o hanner Maenor yr Hendwr, yng nghyd â'i holl berthynasau, sef yw hyny, 24 o gyfeiriau o dir aredig, ac 8 cyfar o weirdir o fewn y Faerdref Uchaf, o werth 13*s*. 4*c*. yn y flwyddyn tros ben y gwasanaeth arferol, i'w dalu ar unwaith ar ddydd Gwyl yr Hollsaint: ac un gafael o dir o fewn y Faerdref Uchaf, o werth blynyddol 5*s*. yn arian, heb law y gwasanaeth arferol; a dau ograid o flawd ceirch, mesur Llandrillo, o werth 20*c*. ar Wyl yr Hollsaint, a 4 gafael o dir yn yr un dref, ac un gafael o honynt ym meddiant Ieuan Goch ab Ieuan ab Dafydd, a Dafydd ab Ieuan Moel, o werth blynyddol yn arian 6*s*. heb law gwasanaeth; 4*s*. i'w talu ar Wyl yr Hollsaint, a 2*s*. ar Wyl Phylip a Iago, a gograid o flawd ceirch, mesur Llandrillo, o bris 2*s*. 6*c*. ar Wyl yr Hollsaint; ac un gafael yn naliad Ieuan Fychan ab Ieuan Bwl, o flwyddyn i flwyddyn, o werth 6*s*. 4*c*. yn arian, heb law

gwasanaeth, a dau ograid o flawd ceirch, o werth 20*c.* ar Wyl yr Hollsaint; a hanner gafael yn naliad Dafydd Fychan ab Dafydd ab Ieuan, o werth 20*c.* yn arian —— * * ac un gograid o flawd ceirch, o werth 10*c.*, mwy neu lai, ar Wyl yr Hollsaint; a hanner gafael Ieuan Goch ab Einion ab Dafydd, o werth blynyddol 16*c.* ar yr un wyl, heb law y gwasanaeth arferol: a hanner gafael Iorwerth * * * o werth blynyddol 2*s.* yn arian, ac un gograid * * gwerth 10*c.*; a gafael a hanner yn yr un dref o dir gŵydd yn naliad Ieuan ab Llwyd, a Gronwy ab Gronwy, o werth blynyddol 4*s.* 6*c.* yn arian, heb law * * a dau ograid * * o werth 20*c.* ar yr un wyl: a hanner un ffridd, a elwir Gwern Ynniog; cyfar o dir gwyllt, a dau o dir gŵydd yn yr un, o werth 2*s.* 4*c.* yn y flwyddyn, sef 8*c.* ar Wyl yr Hollsaint, ac 20*c.* ar Wyl Phylip a Iago: ac un ty ym Mhentref Felin, o werth blynyddol 12*c.* yn arian, heb law * *: a 1½ gafael o dir gŵydd yn nhref Llandrillo, ac un gafael yn nhref Dinan; a 4 gafael o dir gŵydd yn nhref Branas; 3½ gafael yn nhref Dyfos, a 5 gafael yn nhref Gwnodl * * *; 1½ gafael yn nhref Llandrillo, gwerth 8*s.* 8*c.*; un gafael yn nhref Dinan, gwerth 3s. 4*c.* yn arian, ac un gograid * * *: 4 gafael yn nhref Branas, gwerth 14*s.* 9*c.* yn arian, a 6 gograid a 4 hobed o flawd ceirch, mesur Llandrillo, o werth 6*s.* 8*c.*, mwy neu lai; a 3½ gafael yn nhref Dyfos, 21*s.* 9*c.* yn arian, heb law * * * a naw gograid a thair hobed o flawd o werth 8*s.*; a 5 gafael yn nhref Gwnodl, 21*s.* yn arian, ac 8 gograid a 4 hobed o flawd, gwerth 7*s.* 4*c.*: a 5 cyfar o dir gŵydd yn Ninan a Gwnodl, o werth 15*s.* yn y flwyddyn, heb law * * * ac un gafael o dir rhydd yn nhref Gwnodl, o werth 2*s.* 8*c.* yn y flwyddyn; ac hanner un gafael, pedwerydd ran un arall, a chweched ran un arall, o dir rhydd yn nhref Garthiaen, o werth blynyddol 7*s.* 1*c.*, a phum gograid a hanner o flawd * * o werth 4*s.* 7*c.*, ac 31 o hobedau o geirch o bris 15*c.* a dimai; ac un gafael a hanner, a nawed ran gafael o dir rhydd yn nhref Pennant, o werth 11*s.* 8*c.*, a 5 gograid, ac 1½

hobed o flawd * * o werth 2*s.* 7½*c.*, heb law gwasanaeth * * a hanner gafael o dir rhydd yn nhref Penmaen, o werth 5*s.* &c., a 2*s.* 8*c.* yn nhref Gwnodl, a 5*s.* yn nhref Penmaen, i'w talu ddydd Gwyl Mihangel. Ac un felin yn Tyfos, a hanner melin yn Pennant, o werth 40 gograid o flawd yn y flwyddyn, 10*c.* y gograid, mwy neu lai; ac un ran o bedair o doll y ffair yn Llandrillo, yr hon a gynnelir yn flynyddol ar Wyl Sant Trillo, o werth 10*s.* yn y flwyddyn, ac un ffridd, a elwir Talhosser, o werth 10s. heb law gwasanaeth, &c., i'w talu ar Wyl Sant Phylip a Iago.

"A dywedent bod y Dafydd rhagddywededig yn dal ei holl dir a'i dyddynod ar ammod gwasanaeth milwraidd dan unbenaeth ei mawrhydi y frenines, a bod i'w frawd ef gyfran o'r unrhyw yn ol defod. * * * Dywedent hefyd bod pob deiliad i Ddafydd yn rhwym iddo am ddeuddydd yn flynyddol i gau o gylch ei ydau: a bod y rhagenwedig Ddafydd i gynnal Llys cymmwd o'i holl ddeiliaid, gwerth yr hyn yn flynyddol a gyfrifid yn 10*s.*, mwy neu lai. A bod Sibil, mam Dafydd, yn dal ei thraian o'i holl diredd ef. Dywedent hefyd i'r rhagenwedig Ddafydd o'r Hendwr ar Wyl Genedigaeth Sant Ioan Fedyddiwr, yn y 10fed o deyrnasiad y rhagddywededig frenin, gael mab ac etifedd rhyngo ef a'i briod Elisabeth mewn gwely cyfreithlon—enw y mab ni wyddent, ond ei fod yn fyw, ac yn deirblwydd oed, ac na welwyd ef erioed yng Ngwynedd, ond ei fod ym mharthau Cernyw, lle y cafodd ei ddechreuad. A dywedent, pe byddai marw yr etifedd hwnw, bod tri o feibion Gïwn o'r Hendwr (Guido Ll.), sef Dafydd, Ieuan, a Gïwn, yn etifeddion hawl. A dywedent i'r rhagenwedig Ddafydd, o gylch Gwyl Sant Iago, yn y 7fed flwyddyn o deyrnasiad y rhagddywededig frenin, cyn ei briodas â'r rhagenwedig Elisabeth, ei rhoddi mewn meddiant o'i faenor, ei diroedd a'i dyddynod, drwy gyfrwng Nichon Grifferd, ei dirprwywr, ac yn ganlynol bod i'r rhagenwedig Elisabeth hawl i hanner etifeddiaeth ei phriod, yn y dydd y bu efe farw.

"Ac wedi hyn ar ddydd Llun yn y sessiwn fawr am

Feirionydd, o fewn tref y Bala, ar Wyl Sant Petr yn y Gefynau, y gwiriwyd fod mab ac etifedd rhwng y Dafydd uchod a'r rhagenwedig Elisabeth yn fyw, a'i enw Tomas, ac yn deirblwydd oed a rhagor. Haerwyd o blaid y frenines, gan Ddafydd o Hau, na roddasid *Isabella*, dan enw Elisabeth, mewn meddiant cyfreithlon o dir a daiar Dafydd o'r Hendwr cyn y dydd y bu efe farw; ac wedi hyny, mewn amrai sessiwnau ereill, haerai Roger de Horton o blaid y frenines * *" &c.

D.S. Rhaid oedd i'r haeriadau uchod gymmeryd lle cyn y flwyddyn 1394, y pryd y bu farw Ann o Lucsemburg, brenines gyntaf Risiart yr *Ail*. Dymunol fyddai gweled sylwadau ar y chwil-ysgrif ragflaenol, gan yr ofyddesau a'r arwyddfeirdd, mewn perthynas i achau, arferion gwladol, a'r rhagoriaeth rhyngynt a'r rhai presennol; er dynodi y mawr welliant yng nghyf-lwr y deiliaid, &c.

## AFONYDD DEHEUBARTH CYMRU.

FEL mewn llawer rhandir arall, y mae genym, ar amserau, ry fychan o ddwfr, a throion ereill, ormod o'r elfen anhebgorol hon. Golcha y môr lenydd anwastad iawn am ddau cant a deg ar hugain o filltiroedd, o aber y Rhymni, ar derfyn dwyreiniol Morganwg, o gylch Penfro, hyd eneu y Dyfi, ar odre gogleddol Ceredigion, lle y gwahana rhwng rhanau gogleddol a deheuol y Dywysogaeth.

Nid ydyw afonydd mordwyol y dalaeth hon yn lluosog, ac yn wir, ni byddai un o honynt yn addas at fordwyaeth, oddi eithr eu cynnorthwyo gan eu brenin, y môr. Ond dechreuir gyda'r aber sydd yn gwneuthur y porthladd eangaf ym Mhrydain, os nad yn Ewrop.

1. *Aberdaugleddeu;* gelwir felly am mai arllwysiad dwy afon, o'r enw *Cleddeu*, i'r môr, sydd yn ffurfio y gilfach. Cyfyd y gangen orllewinol yn agos i Abergwaun, a gelwir hi Cleddeu Wen. Llifa tua'r deheu, am dair milltir ar ddeg, nes y delo i Hwlffordd; ac yno daw yn fordwyol, a pharhâ felly am un filltir ar hugain, hyd i eneu y porthladd. Y gangen ddwyreiniol a elwir Cleddeu Ddu, hwyrach, o herwydd ei lliw tywyll, a gymmer oddi wrth fawnogydd mynyddoedd Perseli, lle y tardda. Mewn rhai manau o'i rhed, gwahana rhwng swyddi Penfro a Chaerfyrddin; a goruwch Yslibach daw yn fordwyol i lestri o gryn bwys. Gwedi llifo yn ddeheuol am bedair milltir, cyferfydd â'r Gleddeu Wen, wrth Benryn Picton, tua phum milltir is law Hwlffordd. Gwedi i'r ddwy afon ymuno, ffurfiant y porthladd defnyddiol hwn; ac y mae, o gydiad yr afonydd i'r môr, yn un filltir ar bymtheg, ac o Drosglwyddfa Penfro, yn agos i ddwy filltir.

2. Yr ail afon yw y *Tywi*, yn swydd Gaerfyrddin. Cyfyd yn y rhan fwyaf anial o Geredigion, rhwng

Ystrad Fflur a therfynau Brycheiniog. Ar ol rhedeg tua'r deheu am ddeg milltir, daw i swydd Gaerfyrddin, yn ymyl Ystrad Ffin; ac, ym mhen wyth milltir yn ychwaneg ä heibio Llanymddyfri, lle, yn briodol y dechreua dyffryn enwog Tywi. Cymmera gwrs mwy i'r de-orllewin yma, ac wedi rhedeg tua saith milltir ar hugain, cyrhaedda brif dref y swydd, a daw yn fordwyol. O Gaerfyrddin, dolena ei thaith yn fwy i'r de, ac ymollynga i fynwes ei mam, y môr, yn agos i Lanstephan, gwedi gyrfa droellog o dair milltir ar ddeg a deugain. Yr afonydd a ychwanegant ei ffrwd ydynt, yn benaf, Gwyli, yn Abergwyli; a'r Cothi, sydd yn codi yng Nghwm Cothi, ar gyffiniau Ceredigion; Brân, yn agos i Lanymddyfri; Sawdde, wrth Langadog; a Chynnen, wrth Landeilo. O herwydd ffurfiad gwyneb y wlad, a meithder gyrfa y Tywi, derbynia iddi ei hun yn agos holl aberoedd y swydd. Gwna y Taf, Llychwyr, a Gwendraeth borthladdoedd iddynt eu hunain, fel y cawn sylwi ar ol hyn. Pysgod y Tywi-ydynt y gleisiad, y sewyn, y brithyll, y glasfaran, ac ereill.

3. Tardda y *Llychwyr* o ffynnon mewn craig galch, a elwir Llygad Llychwyr, nid neppell oddi wrth Ddyffryn Tywi. Llifa tua'r deheu, ac ar ol derbyn cyflawnder y Marlais, yr Aman, a'r Ddulas, ac wedi gyrfa o bedair milltir ar ddeg, ymarllwysa i gilfach Llychwyr, yn gyfagos i'r hen dref o'r enw hwnw, a elwid gan hynafiaethwyr yn *Leucarum.* Ond cyll y Llychwyr ei henw yma, a gelwir hi *Burry*, oddi wrth nant fechan sydd yn ymdywallt iddi yn Browyr.

4. Dyry y *Teifi* yr enw diweddar i'r swydd y deillia o honi. Cyfyd allan o lyn bychan yn agos i ffynnonell y Tywi, ac a elwir Llyn Teifi, yn agos i Fonachlog Ystrad Fflur. Ar ol ystod o un filltir ar ddeg, cyrhaedda Gellan, lle y daw at swydd Gaerfyrddin. Y mae yn derfyn i'r swydd hòno am saith milltir ar hugain, nes y derbynio y Cuch, yn agos i Faenor Deifi; ac oddi yno i'r môr, gwahana rhwng Penfro a Cheredigion. Cludir cychod â llwythau lled drymion arni, o'r môr i

bont Llechryd, tua saith milltir o ffordd; ond daw llestri o gryn faint i fyny at dref Aberteifi. Ei holl yrfa sydd tua thair milltir ar ddeg a deugain o hyd, yn gyffelyb i'w chymmydoges, y Tywi. Yr aberoedd a ymfwriant iddi ar ei thaith, ydynt fwy lluosog na helaeth, am fod ei chwrs yn benaf rhwng hafnau culion y mynyddoedd. Bernir dyffryn Teifi, o'r Llys Newydd i Aberteifi, yn nodedig o ran ei harddwch. Y pysgod a ddelir yn y Teifi ydynt, y gleisiad, y gwyniad, y sewyn, y brithyll, &c. Hi ydyw yr afon fwyaf gogleddol yn yr hon y ceir sewyn, fel y mae yr Wy yn fwyaf dwyreiniol. Y mae y pysgod hyn ym mhob afon braidd rhwng Teifi ac Wy. Ystyrir gleisiad y Teifi yn rhagorol o flasus a da.

5. Y *Dyfi* ydyw yr olaf o'r afonydd a ystyriwn yn fordwyol yn y Deheubarth. Tardda ym Meirion, yn agos i Aran Fawddwy;[1] daw i mewn i swydd Drefaldwyn wrth Fallwyd; ac, ym mhen ugain milltir,[2] cyrhaedda Fachynlleth, lle y mae, am yr ail dro, yn derfyn rhwng swyddi Trefaldwyn a Meirion. Wrth Lifnant, ac oddi yno, nes ymarllwys yn y môr wrth Aberdyfi, y mae yn derfyn rhwng De a Gogledd Cymru. Ei holl redfa sydd yn ddeg milltir ar hugain; tair ar hugain yng Ngogledd Cymru, a saith yn derfyn i'r Deheubarth. Y mae yn fordwyol o'r Dderwen Las i Aberdyfi, lle mae yn ffurfio porthle.

Deuwn yn awr i sylwi ar yr afonydd na allwn eu galw yn fordwyol, am nad ydyw y llanw yn myned ond ychydig uwch na'u geneu. Dechreuwn gyda therfyn dwyreiniol Morganwg, heibio Ty Ddewi, i fyny i Aberystwyth.

MORGANWG.—1. *Rhymni.* Galwai yr hen Gymry yr afon hon wrth yr enw *Eleirch*, y lluosog o Alarch. Cyfyd

[1] [Gelwir y llyn y cyfyd o hono, Creiglyn Dyfi, yr hwn sydd yn gorwedd wrth droed yr Aran, o fewn terfynau plwyf Llan ym Mawddwy. Yn gyffelyb i Lyn Cwm y Llwch, a Llyn y Fan, ym Mrycheiniog, ni cheir un math o bysgod o fewn y Creiglyn, er bod y dwfr yn eithaf iach, ac mor loew a'r crisiant; ond ceir amledd o honynt yn y ffrwd yn bur agos i fala y llyn.]

[2] [Sef, o'i chychwynfa, nid o Fallwyd.]

yn y cloddiau glo wrth gydiad gogleddol swyddi Mynwy a Morganwg; ac, wedi bod yn ddefnyddiol i droi peiriannau gweithiau glo a haiarn, i ddangos i oleu yr haul y creigiau lle y llecha trysorau, a bod yn derfyn rhwng y ddwy swydd am saith milltir ar hugain, ymabera i Fôr Hafren, i'r dwyrain o dref Caerdydd.

2. *Taf.* Y mae dwy afon o'r enw hwn, y Fwyaf a'r Leiaf, yn deillio o'r mynyddoedd uchaf yn y Deheubarth, sef Ban uwch Deni, neu Banau Brycheiniog. Cymmerant eu gyrfa dros glogwyni o feini melin a chalch; cyfarfyddant â'u gilydd wrth derfyn y swydd, ac ymunant yn un ffrwd ar eu mynediad i Forganwg, wrth Goed y Cymmer, yn agos i Ferthyr Tudful. Derbynia y Taf ar ei thaith yr aberoedd Cynon, Bargod Taf, a Rhonddu;[1] ac, ar ol llifo dros dair milltir ar ddeg ar hugain, ymarllwysa i Fôr Hafren, ym mhorthladd Penarth, yn agos i Gaerdydd. Gall llongau o bedwar can tynell hwylio i fyny i Gaerdydd, ar hyd wyneb y Taf. Y pysgod ydynt, gleisiad, brithyll, a'r cyffelyb.

3. Yr *Elai*, a gyfyd o ymysgaroedd rhandir y glo; ac wedi treiglo dros ddiffaethwch am rai milltiroedd, daw o'r diwedd i un o'r ardaloedd mwyaf toreithiog yn y Dywysogaeth, a elwir Dyffryn Misgyn. Ar ol ystod o un filltir ar hugain, cynnorthwya y Taf i wneuthur y porthladd eang a diogel ym Mhenarth. Nid ydym yn son am y nentydd bychain.

4. *Daw*, neu *Dawon*, a dardda yn Rhos Llansannwr; a chan fyned drwy y Bont Faen, mewn ystod gwastad o naw milltir, cyferfydd â'r môr yn Aber Ddaw, porthladd bychan, nodedig am y ceryg crynion sydd ar y traeth, y rhai a wnânt galch da i adeiladu mewn dwfr. Y mae y gornant hon yn rhedeg dros wely o galchfaen am yn agos ei holl yrfa; a sonir am dani o herwydd rhagoroldeb ei brithylliaid.

5. Cyfyd yr *Ewenni* yn y glodir, i'r gogledd o

[1] [A elwir yn fwy cyffredin *Rhondda*.]

Lanilid, ac wedi cerdded yn araf drwy ddyffryn Llangrallo,—

> ——— mal am oedi ar ei hynt,
> I fôr dolena hi, gan hiraeth am
> Ei glenydd gwyrddion,

cyfarfydda â'r afon Ogwr, yn ymyl y môr, yn agos i adfeilion Castell Aberogwr.

6. Yr *Ogwr*, a dardda yn y rhan fynyddig o randir y glo, mewn tair neu bedair o gangenau, y rhai a ymunant wrth Lan Sant Ffraid y Leiaf; ac wedi gwahanu tref Pen y Bont yn ddwy, ymarllwysa i'r môr gyda'r Ewenni, ar ol gyrfa o bymtheg milltir. Y mae dwfr yr afon hon yn nodedig am ei feddaldra. Dywedir fod dwfr oddi ar galchen yn well at wneuthur papyr, a bod ffrwd oddi ar bridd a graian, fel yr Ogwr, yn oreu at gànu a lliwio. "Dwfr pludd ydyw," fel y dywedir yng Ngwent.

7. Yr *Afon*, neu *Afan*, fel ei gelwir, a ddengys ei ffrwd i liw dydd, yn agos i ffynnonell yr Ogwr; ac ar ol bod yn ddefnyddiol i ddadguddio gwelyau y mwn am yn agos i bymtheg milltir, disgyna i'r môr yn Aberafon, yn agos i weithiau copr Margam.

8. Y *Nedd*, a darddella allan o welyau tywod a chalchfaen Brycheiniog. Derbynia i'w mynwes lawer nant ar ei thaith, y rhai a ddisgynant iddi yn rheieidr; ä ym mlaen drwy randir y glo, a syrth i'r môr yng Nghilfach Abertawy, yn agos i Drosglwyddfa Britwn, gwedi gyrfa o ddwy filltir ar hugain.

9. Y mae ffynnonell fforchog y *Tawy* yng nghreigiau graianllyd Brycheiniog. Fel y dywed yr hen Drayton, yn y *Polyolbion*, "Nid oes prin aber ym Morganwg na Gwent, nad ydyw yn dwyn ei thras at groth ffrwythlawn Brycheiniog."[1] Tardda yn agos i un o'r Banau, sydd yn agos i Drefcastell, ac wedi croesi rhandiroedd y calchfaen a'r glo, tala ei theyrnged i'r weilgi yn Abertawy, gwedi ystod o bum milltir ar hugain.

[1] "For almost not a brook of Morgany nor Gwent,
But from *her* fruitful womb doth fetch her high descent."

Nid ydyw aberoedd Bro Gŵyr ond ychydig yn eu nifer, a bychain yn eu maint; y ddwy ganlynol ydynt y rhai mwyaf teilwng o sylw.

10. *Pill Penarth*, yn gwahanu plwyfau Penarth a Phenmaen, gan lifo i gilfach Ocswich.

11. *Burry*, aber fechan, nodedig o ran ei brithylliaid, a gyfyd ym mynydd Cefn y Bryn, ac wedi rhedeg trwy blwyfau Reynoldston a Cheriton, a ymdywallta i Gilfach Llychwyr, yr hon, o herwydd hyn, a elwir afon Burry.

Sylwasom yn ein rhifyn diweddaf[1] am yr afonydd mordwyol yn y Deheubarth, ac am aberoedd Morganwg: awn ym mlaen yn hwn, i ddynodi y ffrydiau penaf yn y swyddi ereill.

SWYDD GAERFYRDDIN.—12. *Gwendraeth*, y Fach a'r Fawr; cyfodant yn 'ardal y calchfaen a'r glo, yn y dwyrain: ar ol rhedeg deuddeg milltir, ymunant, er mai yn ammherffaith, i ffurfio porthladd Cydweli, ym Morgilfach Caerfyrddin.

13. *Taf.* Tardda hon yn uchel ym mynyddoedd Llanfyrnach, yn Nyfed; ac wedi croesi swydd Gaerfyrddin, hyd Lanfalldeg, rheda yn derfyn, am dro, rhwng y ddwy sir. Croesa swydd Gaerfyrddin eilwaith, ac ymarllwysa i Forgilfach Caerfyrddin, gan wneyd porthladd Llacharn, gwedi gyrfa o bedair milltir ar hugain. Rheda yr afon hon trwy lawer o dir da, a gellid eu gwneuthur yn fordwyol i fyny heibio St. Clare's. Y nentydd penaf a ymdawalltant iddi ydynt, Cathgenni, Cowyn, a Morlais. Dywedir bod yn swydd Gaerfyrddin wyth ar hugain o afonydd a ffrydiau digon cryfion i droi melinau.

DYFED.[2]—Ni chynnyrcha dosbarth calchog swydd Benfro, ond ychydig o nentydd bychain. Os croeswn

[1] [Ymddangosodd yr ysgrif hon ar y cyntaf mewn dau rifyn (Ebrill a Mai, 1835) o *Gylchgrawn* y Gymdeithas er Taenu Gwybodaeth Fuddiol.]

[2] [Yn briodol, cynnwys *Dyfed* swyddi presennol Penfro, Caerfyrddin, a Cheredigion, sef gwlad y Dyfedwys (*Demetæ* yr uchawduron); ond wrth Ddyfed yn y lle hwn y golygir swydd Benfro, er na bu Talaeth Dyfed erioed yn gyfyngedig i'r swydd hòno; a chamarferiad o'r enw yw ei gymhwyso ati hi, a dim ond hi, gan nad yw y rhandir hòno ddim ond *rhan* o Ddyfed.]

borthladd Aberdaugleddyf i'r gorllewin, cyfarfyddwn â—

14. *Niwgwl*, ffrwd yn gwahanu, nid yn unig rhwng y cantrefi Pebydiog a Rhos, ond hefyd rhwng y parthau Cymreig a Seisnig o Ddyfed; ac yn fwy na hyny, rhwng gwely y glo a'r creigiau llech.

15. *Solfach*. Syrth hon, fel y Nigwl, i Forgilfach St. Bride, a ffurfiant borthladd i lestri o gant i gant a hanner o dynelli.

16. Yr afon yn haeddu sylw nesaf ydyw y *Gwaun*, neu *Gwain*.[1] Cyfyd yn y mynyddoedd, ac ar ol rhedeg ugain milltir, ymarllwysa i'r Môr Werydd, yn Abergwaun; gan wneuthur y porthladd nesaf i'r goreu yn y swydd.

17. Y *Nefern*, gwedi treiglo dros bymtheg milltir, a syrthia i'r weilgi yn Nhrefdraeth, lle y mae porthladd i longau o gan tynell.

CEREDIGION.—Gwedi croesi yr afon Teifi, yr hon a enwasom o'r blaen ym mhlith yr afonydd mordwyol, gan estyn ein camrau tua'r gogledd, deuwn ar draws nifer o ffrydiau bychain, yn disgyn i'r môr yn agos i Benbryn, Llandyssilio, a Llanina.

18. Yr afon nesaf a welwn ydyw yr *Aeron*, yn bwrlymu trwy ddyffryn ffrwythlon a theg o'r un enw, ac yn disgyn i Fôr Iwerddon, wrth Aberaeron.

19. Yr *Arth* a ddisgyna i'r môr yn Aberarth.

20. Cwympa y *Gwyre*, neu y *Gwyrai*, i'r un man, trwy forfa toreithiog Llan Rhystud, ychydig i'r gogledd o Lan Sant Ffraid.

21. Yr *Ystwyth*. Tardda hon ar y mynyddoedd a derfynant ar swyddi Maesyfed a Threfaldwyn, a chan redeg heibio i weithiau mwyn Cwm Ystwyth, trwy Barc yr Hafod, a'r tiroedd teg o amgylch y Trawsgoed, ar ol ystod o ddwy filltir ar hugain, ä i mewn i'r môr yn Aber Ystwyth.

22. Y *Rheidiol* a ddechreua ei gyrfa allan o lyn

[1] Gan fod afon arall o'r enw *Cleddeu* yn y gymmydogaeth, pa ham nad *Gwain* hon?

bychan a elwir Llygad Rheidiol, yn y rhan a berthyn i Geredigion o fynydd Pumlumon. Yn y mynydd hwn hefyd y mae ffynnonau yr Hafren a'r Wy: cymmerant hwy eu taith i ardaloedd brasach Lloegr; ond y Rheidiol, fel pe byddai ddrwg ganddi adael ei gwlad, fel y gwna ei chwiorydd, a dreulia ei gyrfa yn ei swydd gynnwynol. Ychwanegir ei dyfroedd gan y Fonach siaradus (gwedi i hòno ddangos ei champau trwy lamu o glogwyn i glogwyn), a rhai ffrydiau ereill, ac ymrodda i'r môr yn agos i'r Ystwyth. Aber Rheidiol, felly y dylesid galw Aberystwyth. Yr achos o alw y dref boblogaidd a boneddig hòno wrth yr enw sydd arni, hwyrach, oedd bod y Rheidiol gynt gwedi rhoddi i fyny ei dyfroedd i'r Ystwyth.

Gwedi olrhain, fel hyn, darddleoedd ac aberoedd yr afonydd penaf yn y pedair swydd arforol, nid oes genym bellach ond nodi yr afonydd a'r ffrydiau sydd yn dyfrhau y ddwy ganol,—Maesyfed a Brycheiniog.

MAESYFED.—1. Yr *Wy*, testyn chwedl a cherdd, a ddaw gyntaf i olwg dydd yn rhandir Trefaldwyn, yn anial Pumlumon, rhwng ffynnonau yr Hafren a'r Rheidiol. Ar ol treiglo un filltir ar ddeg, teithia trwy swydd Faesyfed am o ddeutu chwech milltir, ac yna y mae yn derfyn rhwng swyddi Maesyfed a Brycheiniog am ddeg milltir ar hugain, hyd y Gelli. Yma y mae yn gadael Cymru fynyddig, ac yn troi i ardaloedd brasach swydd Henffordd. Ei thaith Gymreig sydd tua saith milltir a deugain o hyd.

Y ffrydiau a dalant eu teyrnged i'r Wy ym Maesyfed ydynt, yr Elain, Claerwen, Cymharon, Ieithon, Edwy, a Bachwy. Ym Mrycheiniog derbynia y Chwefrwy, Armell, Cammarch, Dulas, Irfon, Dihonwy, Colettwr, a Llyfnwy. Y mae rhai o'r aberoedd hyn yn helaeth a chryfion. Rheda yr Irfon a'r Ieithon ystod o ugain milltir bob un. Tardda Llyfnwy o lyn Safaddan. Derbynia yr Irfon y ffrydiau Chwefrwy, Dulas, Cammarch, &c., cyn iddi ei hunan ddisgyn i'r Wy.

Afonydd ereill swydd Faesyfed ydynt y rhai a ganlyn:—

1. *Tame*,[1] a gyfyd ym mryniau Ceri, yn swydd Drefaldwyn; yna gwahana rhwng swyddi Amwythig a Maesyfed, ac ymddirieda ei hunan yn gwbl i'r swydd flaenaf, wrth Dref y Clawdd.

2. *Llug*, neu yr afon loew, sydd â'i ffynnon yn ucheldiroedd Heyop: rheda i Loegr trwy Ddyffryn Llan Andras.

3. *Somergild*.[2] Tardda hon yng nghoedwig Maesyfed. Wrth ddianc oddi yno, rhuthra dros graig, a gwna y rhaiadr a elwir *Dwfr-yn-tori-ei-wddf*. Yn nyffryn Maesyfed llyncir hi i fyny gan y tir graianog ar dymmorau sychion; ac oddi wrth hyn y daw yr enw sydd ar y dyffryn, ac ar y swydd, *Maes-yfed*. Pan y delo ei gwely yn glai yn lle yn raian, ymddangosa yr afon eilwaith; ac wedi gyrfa o dair milltir ar ddeg, ä ym mlaen i ddyfrhau swydd Henffordd.

4. Yr *Arrow*, neu y *Saeth*, ffrwd fechan, yn llifo i swydd Henffordd, wrth yr Eglwys Newydd.

BRYCHEINIOG.—1. *Wysg*. Cyfyd yr afon hon yn rhandir y maen coch o'r Mynydd Du, ar gyffiniau swydd Gaerfyrddin, nid yn neppell oddi wrth darddle y Tawy. Fel yr afonydd Tawy a Nedd, gall ymffrostio o dras uchel. Y mae gwely yr Wysg, pa un bynag ai garw ai llyfn fyddo, â'i liw o hyd yn goch, o'r tair ffynnonell sydd yn ddechreu i'r afon, nes yr elo i swydd Fynwy, yn Glan Grwyneu, o dan Grughywel, ystod deuddeg milltir ar hugain. Y ffrydiau a ymarllwysant iddi, o gymoedd mynyddau yr Epynt, ar du y gogledd, ydynt y Cilieni, Brân, Esgar, a Honddu. Ymgofleidia yr olaf â hi wrth Aberhonddu, yr hyn sydd yn rhoddi yr enw i brif dref y swydd. Am un filltir ar bymtheg i'r dwyrain o Aberhonddu, nid ydyw yn derbyn ond ychydig ffrydiau o'r gogledd: *Rhiangoll* yw un ffrwd yn rhedeg o ddyffryn hardd a thoreithiog

[1] [Neu *Teme*. Ymddengys mai enw Cymreig yr afon hon ydyw *Tafida*. "A' mwyabh parth o'r Lhybhr yma a bhybhyriwyd ac a bhedhyliwyd yn gyntabh, ynn . . . ymyl y Bugeildy ynn Nyphryn *Tabhida* o bhywn Swydh Bhaesybhed."

DR. I. D. RHYS.]

[2] [A elwir weithiau *Somergel*.]

y Cwm Du, a Grwyneu o fynyddoedd duon Talgarth; hon yw'r terfyn am rai milltiroedd rhwng Brycheiniog a pharth o swyddi Henffordd a Mynwy.

O'r deheu derbynia yr Wysg y ffrydiau Crai; Seni; Taranell, neu Tarell, o Lyn Cwm Llwch; Carfanell, neu yn hytrach Annell, o'r Glyn Collwyn; Crawnant, Onwy, Clydach, ac ereill o lai maint.

Dywedasom wrth son am y Tywi, bod yr afòn hòno yn derbyn i'w mynwes yn agos holl ffrydiau swydd Gaerfyrddin; felly ym Mrycheiniog, er mor llawn yw o nentydd, eto, yr Wysg ydyw yr unig afon o faint yn y swydd sydd yn cadw ei henw a'i gyrfa yr un, nes myned i swydd arall. Mewn rhai pethau, y mae y Tywi a'r Wysg yn debyg i'w gilydd: y mae pob un o honynt yn teithio mewn mawrhydi trwy ddyffrynoedd ei swydd briodol. Gosodir allan hefyd derfynau eu llywodraeth gan fynyddoedd uchel cyffelyb. Ym Mrycheiniog y mae cefn yr Epynt, y tu gogledd i'r Wysg, yn troi holl ddyfroedd Buallt i'r Wy, tra y mae trumau uwch yn cydredeg ar yr ochr ddeheuol i ddyffryn Wysg, yn troi y Tawy, y Nedd, a'r Taf, i Forganwg; a'r Sirhowy, yr Ebwy, &c., i swydd Fynwy.

*Gwelyau yr Afonydd.*—Oddi eithr un filltir ar ddeg o gwrs olaf yr Wy, ac oddi gerth y ffrydiau gogleddol a syrthiant i'r Wysg, y mae yr holl afonydd o du y gogledd i'r Wysg a'r Teifi yn llifo dros welyau o deneufaen, llech, a chraig lwyd y mynydd. Rheda y Teifi yr holl ffordd ar wely fel hyn; a'r Tywi hefyd hyd yn agos i'w mynediad i'r môr, wrth Lanstephan. Cyfyd y ddwy Gleddeu yn y graig lwyd, a cherddant ar wely o'r un defnydd, nes y deuant wrth Hwlffordd, a Pictwn, i randir y glo. Gadawant hwn yn agos i Lawrenni, ac oddi yno i'r weilgi, rhedant dros wely o galchfaen.

Y mae afonydd gogleddol Penfro oll ar welyau cyffelyb: weithiau gwelir rhai o honynt ar fath o gareg nadd.

Nid ydyw afonydd Morganwg yn hoffi un gwely oni bydd wedi ei gyfoethogi â glo neu fwyn. Y rhai hwyaf eu rhawd a gyfodant yn nhywodfaen goch mynyddoedd Brycheiniog; yr ail ddosbarth, yn y galchfaen; y trydydd, yn y glo a'r maen haiarn; a'r pedwerydd dosbarth, neu yr afonydd sydd â'r rhawd byraf iddynt, a darddant ac a arllwysant eu ffrydiau yn yr ail ddosbarth, neu yn y randir ddeheuol o'r galchfaen.

# LLYN CWM Y LLWCH.

LLYN Cwm y Llwch—Ateb i Peris—Ofergoelion y Dr. Sion Dafydd Rhys—T. E. o'r Nant—Esgyniad i ben Cader Arthur yn 1802—Golygiadau pell ac agos—Uchder a Sylweddau Banau Brycheiniog.

[AT OLYGYDD Y GWYLIEDYDD.]

YN eich Rhifyn 122, am Fehefin diweddaf, tudal. 175, ymddengys y dymuniad canlynol:—"Dymunol a fyddai cael ychwaneg o hanes *Llyn Cwm y Llwch*, yn agos i Ban uwch Deni, neu Ban Arthur, &c., yn swydd Frecheiniog, y sonir am dano gan yr awdwr (Dr. S. D. Rhys) yn ei Ragymadrodd. * * * Os oes rhai o'ch gohebyddion, neu eich cydnabod, yn byw yn y sir hòno, byddai da cael ychwaneg o hanes y Llyn hwn a'i ryfeddodau."—PERIS.

Gyda pheth siomiant y sylwais cyn hyn ar amryw ofyniadau a holiadau yn eich misolyn buddiol, y naill leuad ar ol y llall, heb i neb na gwrandaw nac ystyried, nac ymdrafferthu i roddi un math o atebion. Y mae hyn yn dangos difräwch a segurdod yn nerbynwyr y *Gwyliedydd*, na pherthynant i un Cyhoeddiad misol arall; yn y rhai hyny y mae holyddion un mis, yn cael eu hatebion yn eu dyrnau y mis nesaf; ac felly y dylai fod yn eich cyhoeddiad chwithau, Mr. *Gwyliedydd* hybarch! Ond rhag i *Peris*, fel ereill o'i flaen, fod yn ddiateb, mi a osodaf yma yn gyflawn yr hyn a draetha S. D. Rhys, yn ei Ragymadrodd am *Lyn Cwm y Llwch*:—

"Diweddbarth y Llyfr hyn a fyfyriwyd dan berthi a dail gleision mewn gronyn o fangre i mi fy hunan a elwir y Clun Hir, ym mlaen Cwm y Llwch, a than odreuon Mynydd Ban uwch deni. Rhai a eilw y mynydd hyn Ban Arthur, ereill Moel Arthur. Dan grib y Foel hon, ac yn ei harffed, y mae Llyn digon ei faint, ac yn afrifed ei ddyfnder, ac yn rhyfedd ei ansawdd;

o ethryb *(mal y cerddant chwedlau)* ni welspwyd erioed ederyn o'r byd yn cyrchu nac iddo nac ato, nac yn nofiaw arno; onid yn hollol yn ymwrthod ag efo; *a rhai a ddywedant* nas gnotäynt nac anifeiliaid na milod o unrhyw yfed ddim dwfr o hono, a llawer o enrhyfedd-odau ereill (ac o ran canfod ar brydiau bethau dyeithr dros ben yng nghylch y Llwch yma) a ydys yn eu hadrodd gan gyffredin y wlad hòno; ac yn enwedig gan y sawl a arferynt o ymgyrchu i'r Moelydd a'r Banau hyny er mwyn bugeila. A'r Llyn neu'r Llwch hyn a elwir *Llyn Cwm y Llwch.*"

Dalied *Peris* sylw—er bod S. D. Rhys â'i annedd, pan ysgrifenodd, ger llaw y Llyn, na thystia efe wirionedd yr "enrhyfeddodau" a enwa, *o'i wybodaeth ei hun;* er ei fod yn Babydd ofergoelus ddigon—ond dywedyd y mae—"mal y cerdd chwedlau"—a "rhai a ddywedant," &c. Bydded yn ddiammheu felly gan *Peris*, mai hen ofergoelion yw y cwbl a sonia yr hen Ramadegydd gwiwglod yng nghylch *Llyn Cwm y Llwch.*

Cofus, ef allai, gan *Peris* yw y Casgliad o "Ryfeddodau Cymru" gan Tomas Prys o Blas Iolyn—ereill a sonir am danynt yn *Nrych y Prif Oesoedd*—ac ereill a goelid gynt mor hygred, sef—

1. Bod Dyfrdwy yn cilio o'r naill ochr i'r llall—ac fel y ciliai yr afon, y ciliai llwyddiant y Cymry neu y Seison!

2. Bod twll yn y ddaiar mewn ynys ym Morganwg, ger llaw Môr Hafren, ac o dyry dyn ei glust wrth y twll, efe a glyw hogi arfau, &c.

3. Bod ysbrydion ym Mhenfro yn blino y trigolion cyn anffawd.

4. Ail oleuni (cyhyraeth) Esgobaeth Dewi.

5. Bedd y Crug Mawr, cymmesur o faint i bawb, ac yn diflino y blinedig.

6. Ynys Enlli, y trigolion yn marw o hynaf i hynaf.

7. Llyn Safaddon, alarchod yn canu arno, &c.

8. Pwll Cerys, yn sugno llongau fel Charybdis.

9. Y Maen Morddwyd ym Mon, yr hwn a ymsymmudai yn y nos o ben bryn, a thros ddyffryn Cenin i

Bwll Cerys, ac erbyn y boreu ymchwelai yn ei ol i'w orsaf ar y bryn.

10. Ffynnon ger llaw Rhuddlan, weithiau yn llawn ac weithiau yn sych, yn yr un diwrnod.

Rhodded *Peris*, bellach, ryfeddodau Llyn Cwm y Llwch at y deg uchod, a thafled y cwbl dros y diffwys i dywyllwch anghof.

Cyn i T. E. o'r Nant ddychwelyd o Ddeheubarth i Wynedd, efe a ymwelodd â Llyn Cwm y Llwch; nid er mwyn chwilio i'r rhyfeddodau, ond er parch i goffadwriaeth y gramadegydd a soniodd am dano yn ei Ragymadrodd; ac ar faen ger llaw y Llyn, efe a fyfyriodd wyth o englynion, y rhai a gyhoeddodd yn ei *Ardd o Gerddi*—y chwech englyn cyntaf fel y canlyn:—

"1. Dyma'r Llyn, diammheu'r lle—mi goeliaf
Am y gwelais gartre'
Ragymadrodd gwir fodde
'N dweyd ei fath, diwâd yw fe.

2. Lle bu *Sion* dewfon ab *Dafydd*—ab *Rhys*,
Parhäus ysgrifenydd
Wnai Ramadeg rym wawdydd
Wers llwyr deg er's llawer dydd.

3. Och feddwl, fanwl ysgrifenydd—och!
Achwyn 'r ydwyf beunydd
Na fuaswn ar feusydd
Mewn da ddawn *yma*'n dy ddydd!

4. Swn y Llyn sy'n fy lloni—mewn Awen,
Er newyn ac oerni;
Mae'n gynhes yma geni'
Fin y dwfr er dy fwyn di.

5. Ysgrifenaf ar feini—ym Maenol
Mynydd *Ban uwch Deni*,
Llyn Cwm y Llwch trwch trechi
Caf y dawn o'th gofio di.

6. Cofio *Sion* cufwas heini,—fwyn ystyr,
Fu'n eiste' ar dy feini;
Doethineb o'i haeldeb hi
Dyddanodd dy ddaioni."

Yn y fl. 1802, a mi yn Aberhonddu, cododd arnaf flys, ar foreu teg o Awst toraethog, nid i ymweled â Llyn Cwm y Llwch, ond cymmeryd hynt heibio iddo i ben Cader Arthur, gan mai y mynydd uchaf o fewn

saith sir y Deheu yr addefid ei fod. Cefais ef yn fynydd llwyr annhebyg yn ei ansawdd a'i ddefnyddion i greigiau Gwynedd, sef y Wyddfa, Cader Idris, &c., y rhai ydynt, bob cam a gerddir arnynt, yn ymddangos â'u hesgyrn drwy eu crwyn. Ond yma, y mae Cader Arthur o'i chanol i fyny hyd ei chlopa yn orchuddiedig gan wisg dew o fawndir a grug: y grug yr awron (Awst) yn eu llawn flodau, a gellid chwanegu bod y Gader y pryd hyn yn—

Llwyn o gân, a llawn gwenyn.

Dywedir, nad oes un math o bysgod yn Llyn Cwm y Llwch, mwy nag yn Llyn y Fan oddi dan Fan Brycheiniog ar derfyn swydd Gaerfyrddin. Yr achos ef allai, yw, eu bod yn drylawn o'r ymlusgiaid a elwir budrchwilod, neu geneugoegion y dwfr (*water eft or newt, lacerta palustris*), y rhai ydynt elynol i bysgod, gan ysglyfaethu eu rhith pan gladdont. Pe gollyngid i'r llyniau hyn, a'r fath, haig o'r pysgod rheibus a elwir *penhwyaid*, ond odid fe droid y fantol o du y pysg, a dyfethid yr ymlusgiaid. Yr afonig Tarell a ddylifa o Lyn Cwm y Llwch, ac a abera i Wysg ar gyfer Aberhonddu.

Oddi ar y glopa, y golygiad agos hynotaf oedd i'r gogledd, sef ochrau meithion mynyddoedd yr Epynt, gan mwyaf yn *fraenarau haf*, a'u daiar ruddgoch yn dryfrithedig gan dŷrau o galch purwyn o gylch berfäed drol bob sypyn, mal cynnifer o ser dysglaer mewn ffurfafen goch, a hyn yn ol arfer gyffredin y wlad. Ond nid yw yn arferiad i gyfoethogi y tyddynwyr: o ran, yn gyntaf, nid priddyn yn gofyn bod yn segur drwy yr haf dan enw o fraenar, ydyw y ddaiaren ruddgoch hon. Erfin (maip) a meillion, yn enwedig meillion gwynion, a gynnorthwyent i dalu rhenti a threthau yn llawer gwell. Ac, yn ail, ni wna sypiau mân o galch droi allan cymmaint o flawd, ag y gwnai rhai mwy, sef rhai o ddwy i bump tynell bob un; a'r achos yw hyn:—y mae tân yr odyn yn gyru allan

o'r gareg galchaidd yr awyren berthynol iddi (*carbonic acid gas*), ac ar ei ymadawiad y mae y gareg oer yn cael ei newid i galch poeth. Y calch poeth, yn ei ansawdd blodiawg, sydd yn dueddol i sugno yn ol o'r awyr amgylchol yr hyn yr amddifadwyd o hono gan y tân yn yr odyn: a pha leiaf eu maint y byddo y sypiau calch ar wyneb y tir, rhwyddaf oll y dychwel y *carbonic gas* i farweiddio a diffrwytho y calch megys gwrtaeth tir.

Defnydd y mynyddau hyn sydd yn rhedeg drwy sir Frycheiniog, o'i pharth dwyreiniol ar gyffin swydd Henffordd, i'w pharth gorllewinol ar derfyn sir Gaerfyrddin, yw y graig ruddgoch gyssefin—lled debyg i Graig Tal y Clegyr (*Ness-Cliff*) rhwng Croes Oswallt a'r Mwythig. Yn y rhestr hwn, y glopa uchaf tua'r dwyrain (yn y golwg) a elwir hefyd *Cader Arthur*, rhan o'r Mynyddoedd Duon (*Black Mountains*) rhwng Crug Hywel a'r Gelli (Hay), y rhai ydynt gyssylltedig â mynyddoedd Hatterel, o'r un defnyddion, yn swydd Henffordd. Nid oes mwn plwm, haiarn, &c., nac amrywiaeth defnyddiau yn y mynyddoedd hyn; am hyny y gelwir hwynt ym mhlith y creigiau cyssefin. Hynod o'r gwastad yw gosodiad gwelyau neu haeniau y ceryg cochion hyn y naill ar y llall—mor serth yn rhai manau a muriau castell, er eu bod o fil i ddeunaw cant o droedfeddau o uchder. O'r fath hon o gareg yw Creigiau y *Brianog—Cwm Iou—Ysgyryd Fawr*—a'r *Ysgyryd Fach*, ger llaw Abergefenni: y maent oll o'r un saernïaeth—"a'u pensaer a'u perchenog yw yr Arglwydd Hollalluog"—sef y gwely neu haen llathen ar uchaf y gwely dwylath, ac ar uchaf hyny gwely dwy droedfedd, &c., a hyn oll yn rheolaidd drwy yr holl greigiau, o'u bon i'w brig; ac er bod yn awr ddyffrynoedd bychain, milltir (mwy neu lai) rhyngynt, eto pwy a eill ammheu na buont oll, ryw amser, yn un graig gyfansawdd. Pabyddion Abergefenni a haerent —mai "ar y Croeshoeliad yr holltwyd y meini hyn." Yr afon Wysg, er llawer o oesau, a ddylifa rhwng y creigiau hyn a chraig y *Blorais*, gwelyau isaf yr hon

ydynt o'r gareg goch, yn gyfatebol eu trwch i welyau y creigiau a enwyd uchod; a phedwar neu bump o welyau ar uchaf y rhai cochion, ydynt o'r graig *galch* gyssefin, yr hon a red ar war y graig goch oddi yma drwy siroedd Brycheiniog, Caerfyrddin, a Phenfro, i'r môr ger llaw Ty Ddewi. Y graig galch hon a orwedd rhwng y graig goch a'r gwelyau glo *rhwym*, glo *ysbagog*, a'r glo *caled*, drwy holl ystod eu taith. Ond gwedi gadaw Banau sir Gaer tua'r gorllewin, y maent oll yn culhau, ac weithiau heb ymddangos, gan roddi lle i greigiau a daiar ammherthynol iddynt. Y mae y ceryg cochion yn cadw eu lled yn gyflawn trwy holl sir Frycheiniog.

Oddi dan Cader Arthur, tua'r deheu, ond nid yn agos, gwelir gweithiau calch, glo, a haiarn sir Forganwg, a ffyrnau Merthyr Tudful yn mygu yn y gwastadedd is law.

O bell gwelir glan Môr Hafren o Newnham, swydd Gaerloew, trwy Wlad yr Haf, a Dyfnaint, hyd Ynys Wair (Lundy); ac yna Greigiau Browyr—Pryseli yn Nyfed—Pumlumon—Cader Idris—Aran Fawddwy—ac yn nod y bryncyn Dinlle Frecon yn swydd y Mwythig.

Y mae i'r mynydd Ban uwch Deni dair cribell amlwg i'w gweled o bell ac agos: ac y mae y rhif *tri* yn berthynol i fynyddoedd ereill.

1. Mynydd neu graig â *thair* cribell yw yr Eifl, ger llaw Nefyn, yn Arfon.

2. Y Wyddfa.—1. Y Grib Goch. 2. Clogwyn y Garnedd. 3. Crib y Distyll.

3. Cader Idris.—1. Y Graig Cai. 2. Pen y Gader. 3. Mynydd Moel.

4. Breddin.—1. Craig Freddin. 2. Cefn Cestyll. 3. Moelgolfa.

5. Ban uwch Deni.—1. Pig y Fan. 2. Cader Arthur. 3. Y Gern Ddu.

# ADFYFYRDAWD AR Y TYMMORAU.[1]

"Y cynauaf a aeth heibio, darfu yr haf."
IEREMI.

HYFRYD hinon haf a ymguddiodd o'n gŵydd! ac oddi eithr yr adgoffa am dano, nid oes o'i ol yn awr ond arwyddion adfeiliad.

Pa fodd y newidwyd gwedd y greadigaeth! Oeraidd y disgyn pelydrau yr haul, drwy y cymylau dulas meithion, ar y gerddi a ddifuddiwyd o'u blodau, ar y meusydd na ddangosant ond prin argoel o'r cnydau fuont yn eu gorchuddio, ac ar y bryniau sydd weddwon o'u glesni.

Dadsain awyr, gan beraidd bynciau cerddorion y goedwig, ni chlywir mwy.

Ni thorir y dystawrwydd marwaidd, ond gan gryg grechwen piog, neu ysgrêch anghydsain yr adar teithiol, ar eu hymadawiad i ardaloedd y deheu.

Fel yr anial dir yw ein mynyddau: ni seiniant gan lais y ddeadell. Mor dywyll brudd yw gwedd y fro a oedd gynneu mor hoewaidd! Yn lle amryliwiog hugan haf, ni fedd yn awr ond melyn-rudd wisg redynlliw.

Mae y cymylau duon draw yn drymlwythog o wlawogydd, ac yn ein cuddio megys llen rhag mwynhau sirioldeb yr huan fore.

Llyma y drych a esyd Gauaf o'n blaen; a phwy a ddichon sylwi arno, heb weled ynddo ddarluniad o ddiflant pob daiarol wychder? Hinon haf a'n gadawodd! ïe, a thra yr oeddym yn ymbarotoi i'w fwynhau, ymaith yr ehedodd!

Ond ai iawn i ni rwgnachu yn erbyn trefnidaeth y nef? Diau nid iawn. Yn hytrach adgofiwn yr

[1] O'r Ellmyneg.

hinon haf, a'n mwyniant diniwed o hono; a bendithiwn Reolydd y tymmorau am ei ddaioni i ni. O mor hyfryd oedd y mwynhâd! Pa wledd i'r enaid fyfyrio ar berffeithrwydd a thegwch gwedd gwaith Ion!

Pan dyfo bryn a dôl yn wyrddion dan ein traed, ac y llonont ein golygon—pan fyddo yr uchedydd perbwnc megys yn esgyn hyd ysgol y nef, a mwyeilch y llwyni yn ymryson pa un a fydd bencerdd i'r haf—pan fo ein hawyr, fel nwyfre Arafia, yn llawn o ber arogl blodeu-wydd—pan fyddo toriad y wawr o ddwyreiniol byrth goleuni yn lloni calon pob llygad a'i gwel—neu pan fo yr haul gorllewinol, ar fyned i ystafell yr eigiawn, megys yn gosod moelydd Eryri ar dân—pa hyfrydwch y mae mwynhâd yr hafaidd wledd yn ei beri ac yn ei feithrin mewn mynwes ddiolchgar!

Pa gyfoeth o fwyniant a anrhegir i ni, gan feusydd, gerddi, a pherlleni, heb law yr hyfrydwch a weinyddant i bob cynneddf meddwl a synwyrau! A ddichon i ni adgofio y misoedd aeth heibio, heb i ni agoryd teml y galon, a bendithio Tad y trugareddau, yr hwn sydd "yn coroni y flwyddyn â'i ddaioni!"

Yr ydym bellach i fyw ar y ffrwythau a offrymwyd gan haf a chynauaf i'w Creawdwr er ein mwyn ni. Nyni a welsom mor fywiog a ffyddlon y bu anian, llawforwyn y nef, tra parhaodd y tymmorau ffrwythlawn hyny, yn cyflawnu dybenion haelionus ei Hawdur, er cynnaliaeth a lloniant dyn! Mor aneirif y llysiau a'r blodau a darddasant ym misoedd Ebrill a Mai! Gyflawned fu y dyffrynoedd o yd "yn nefodol wythnosau cynauaf!" Y ddaiar a orphenodd yn ffyddlon ei thasg am hyn o chwyl; a myned y mae i'w gorphwysfa. Bu yn fywiog ac yn ddiwyd tra parhaodd ei thymmor gosodedig; ac yn oed yn awr, yn ei gorphwysfa, nid yw yn farwaidd, ond, yn ddirgel i ni, y mae yn ei thawelwch yn parotoi defnyddiau creadigaeth newydd.

Cymmerwn addysg oddi wrth ei diwydrwyd, a'i ffyddlondeb i'w Pherchenog. Gofynwn i ni ein hunain a fuom *ni* mor fywiog a diwyd? a ddarfu i *ni* dreulio ein hamser yn y cyfryw fodd ag y gallwn ddangos

ei ffrwythau gyda boddlondeb? Mae y trinydd tir yr awron yn cyfrif ei ysgubau; a fedrwn ninnau gyfrif graddau ein cynnyddiad mewn gras a daioni? A ddarfu i hinon haf, neu gynnyrchiol gynauaf, ein gwneyd ni yn well, neu yn fwy diolchgar? A ddyrchafasom ni ein calonau at Dduw, tra yr oedd ein dwylaw yn brysur yn nhrafferthion y ddaiar, ac yn mwynhau yn helaeth ei fendithion? Pa fath a fu ein gorchwylion tros hirion ddyddiau haf? A fuont er budd i ni ein hunain, ac er lles i'n cydgreaduriaid? Tra yn sylwi yn fanwl ar yr haul, ar effeithiau llesol y gwlaw cynnar a'r diweddar, a gwrthddrychau ereill creadigaeth, a deimlasom ni gynhyrfiadau i ddiolchgarwch am danynt? A feddwn ni dystiolaeth mynwesol na ddarfu i'r haf a'r cynauaf aeth heibio, fel amryw ereill o'u blaen, gael eu rhoddi yn ofer i ni? Byddwn ddiolchgar am ein bod eto ar dir y byw; ond daliwn mewn cof, er mor hyfryd fu yr haf, y dichon iddo fod yn haf diweddaf i ni! A chan wybod y bydd raid i ni roddi cyfrif am bob haf a aeth heibio, bydded i ni ymdrechu o hyn allan i adbrynu yr amser a ddiangodd oddi arnom. "Edrychwn, gan hyny, pa fodd y rhodiom yn ddiesgeulus; nid fel annoethion, ond fel doethion; gan brynu yr amser, o blegid y dyddiau sy ddrwg."

Dyrwyn mae terfyn ein taith—yn agos,
  Diwygiwn cyn dylaith;
 Amser, a goller y gwaith,
 Ni ddaw 'n ol i ddyn eilwaith!

# CAETHDER Y RHEOLAU BARDDONAWL.[1]

## I.

WRTH ystyried y cwyno a'r grwgnachu a wna amryw feirdd a dysgedigion rhag caethiwed ac anhawsder y mesurau a'r rheolau caethion i gyssoddi unrhyw beth gorchestol, synwyrlawn, o ddim meithder ynddynt, oni fyddai yn well dilëu y beiau canlynol o'r gerdd dafod?

1. Twyll awdl, lle byddo Y yn seiniaw fel U; megys,

"Esgud yw y byd am barch."

2. Twyll bengoll mewn llusg; megys,

"Gwraig ddigymhar oedd Marged."
GORONWY OWAIN.

3. Gormod odlau; megys,

"Cana*f* glod parod pura*f*."

"P*an* yro gwp*an* ari*an*."
DEWI WYN.

4. Hanner proest; megys,

"Dan fflami*o*, dan ru*o*'r ïä
Yr Andes i Fôr India."
D. IONAWR.

5. Goddef R i fod yn wreiddgoll fel N; megys,

"I'*r* bedd yr awn o'n holl barch."

Yr wyf yn taer gymhell y gofyniad uchod i sylw beirdd a llenyddion y Dywysogaeth. Y mae tu hwnt i bob dadl, y byddai ychwaneg o ryddid yn dra buddiol; ac y mae mor ddiddadl genyf, pe buasai y rheolau barddonawl yn rhyddach, y buasai ein beirdd yn llawer uwch eu bri, a'u cyfansoddiadau yn fil godidocach.

[1] [Ymddangosodd y rhif i. o'r ysgrif hon, dan enw *Carwr Rhyddid*, yn y *Gwyliedydd* am Fawrth, 1828, a'r rhifau ii. a iii. yn rhifynau Hydref a Thachwedd o'r un flwyddyn, yn amddiffyniad i'r ysgrif gyntaf, yn erbyn gohebwyr (*Carwr Rheol* a *Thegydon*) a ymosodasent arni.]

Mae yn resyn meddwl fod y beirdd, y rhai y mae ganddynt yr iaith oreu i farddoni ynddi yn yr holl fyd, yn cael eu caethiwo a'u llyffetheirio gymmaint. Mae y bardd Cymreig, wrth gyfansoddi awdl, neu gywydd, fel ymdeithydd yn myned ar hyd rhodfa gul, yr hon sydd â'i nen mor isel, fel na all efe godi ei ben, nac ymsythu, yn holl ystod ei daith. Fe allai y tybir fi yn rhodreswr rhyfygus am anturio y fath gyfnewidiad yn y rheolau barddonawl; ond yr wyf agos yn sicr y caf bob bardd awenyddawl ag sydd yn teimlo tân awenyddiaeth, yn amddiffynwr, ac o'm plaid; ond am rigymwyr ni'm dawr.

Fe allai y gallwch chwi, barchedig Gyhoeddwyr, drefnu rhyw lwybr i gael barn llenyddion a beirdd Cymru ar y mater, naill ai trwy iddynt anfon eu tybiau i'r *Gwyliedydd*, neu yn yr Eisteddfod nesaf, neu ryw ffordd arall.

Gallwch gwbl hyderu, barchedigion, fod fy nyben yn ddiffuant a gwladgarawl.

## II.

Yn gymmaint a bod yn wiw gan ddau o'ch gohebwyr cyfrifol wneuthur sylwadau ar fy llythyr, a ymddangosodd yn eich Rhifyn 7, tudal. 216, ar *Gaethder y Rheolau Barddonawl*, byddaf ddiolchgar i chwi am roddi lle yn eich cylchgrawn buddiol i'r sylwadau hyn arnynt.

Rhag chwyddo fy llythyr i ormod meithder, ni wnaf ond ychydig sylwadau amgylchiadol. Cyfeiriaf hwynt at Draethawd dysgedig y Parchedig Walter Davies, a ennillodd y wobr yn Eisteddfod Caerfyrddin, a'i Ragfynag i'w Awdl ar "Lesoldeb Gwybodaeth a Dysg,"[1] i gael gwybod pwy yw y beirdd grwgnachlyd. Yr achos i mi nodi R mwy na rhyw gydsain arall oedd, am ei bod yn dygwydd yn dra mynych mewn dulliau manteisiol iawn i fod yn wreiddgoll, megys *ar*, *a'r*, *â'r*, *er*,

[1] [Gweler *Cyf.* i. 317.]

*i'r*, *o'r*, *yr*, ac amryw ddulliau ereill. Diolchaf i *Garwr Rheol* am ei gynnygiad i ddilëu y beiau a grybwyllai, a chydsyniaf ag ef o'm calon, er nad ydynt yn llai "anferth" i'm clust i na'r lleill. Ond cofied *C. Rh.* a'i gyfeillion, nad yw ammhereidd-dra y beiau cynghaneddawl wedi eu seilio ar *natur*, yn debyg i anghydgord mewn cerddoriaeth; ond yn unig mewn *barn*, a hyny o herwydd *arferiad*. Ond pa beth sydd a fyno "golwg" i farnu ar "anferthwch" *sain*, nis gwn.

Beia *Tegydon* fi am arferyd y ferf *a wna* i ddangos amser presennol; os bai yw, mae *Tegydon* yn y bai fel fy hun, pan ddywed, "Yr hyn *a elwir* cymmeriad llythyrenol." Pa bryd y gelwir ef? Eto, "*Deallaf* i chwi dybied mai proest i'r awdl sydd yn y ban yma." Ai tybed mai "prophwydo" mae *Tegydon* yn y lle hwn? Dywedais mai hanner proest i'r awdl oedd y linell—

"Dan fflamio, dan ruo'r ă,"

ac felly y'm dysgwyd yng *Ngramadeg* Robert Davies, Nantglyn.

Nid wyf heb wybod, barchedig Gyhoeddwyr, fod y rhan fwyaf o'r beirdd, a arferant gyfansoddi ar y cynghaneddion caethion, yn eu hoffi, ac yn eu rhyfeddu yn fawr dros ben; a braidd nad ystyrient hwynt yn hanfodol i farddoniaeth; a phrin yr addefant unrhyw beth yn *farddoniaeth*, ond a fo wedi ei osod allan yn ol rheolau y gynghanedd gaeth: ac o'r tu arall, barnent fod pob peth, braidd, yn farddoniaeth, a fyddo yn gywir wrth y rheolau: ond cyfeiliornad mawr yw hyn. Gall peth fod wedi ei gynghaneddu yn y modd cadarnaf a chywreiniaf, heb gynnwys ynddo fwy o farddoniaeth na thwrf rhaiadr. Pa farddoniaeth sydd yn y ddwy linell hon?

"Gwall ball, bell Rhys cocys ciciai;
Gwyllt byllt hyllt hoen garw troen trai."
D. AB GWILYM, *i Rys Meigan.*

Ac os yw y gynghanedd yn hanfodol i farddoniaeth,

beth a ddaw o'r cyfansoddiadau barddonol, y rhai a ystyrir gan bawb, ym mhob oes, y farddoniaeth ardderchocaf yn yr holl fyd, megys *Caerdröeg* Homer, *Æneid* Virgil, *Coll Gwynfa* Milton, *Tymmorau* Thomson, &c.? Mae y rhai hyn oll yn gwbl amddifaid o gynghanedd y Cymro: ïe, buasid yn ystyried proestiad, neu atebiad seiniau, yn *fai*, yn hytrach nag yn *addurn* i'r gerdd; ac y mae yn amlwg oddi wrth eu gwaith, mai yn y *meddyliau* yr ystyrient y farddoniaeth yn gynnwysedig, yn *fwy* nag yn y dull o'u gosod allan. Pa beth sydd yn fwy barddonawl na'r darluniadau a gawn yn Llyfr Iob o'r march, behemoth, lefiathan, &c.? a pha le y mae purach barddoniaeth nag sydd yn y drydedd bennod o Lyfr Habacuc?

Oddi wrth y sylwadau uchod, mae yn amlwg, nad ydyw bywyd neu angeu barddoniaeth Gymraeg yn ymddibynu ar *barhâd* neu *ddilead* y gynghanedd gaeth; yr hyn sydd yn peri i mi, gyda mwy o hyfdra, gymmeryd fy nghenad i sylwi, A ydyw y rheolau cynghaneddol, yn ol y rhai y cyfansodda y beirdd, heb fod yn *rhy gaeth i'r bardd i adrodd ei feddyliau awenyddol gyda phriodoldeb ac addasrwydd?* A chan fod *Carwr Rheol* a *Thegydon* yn haeru nad ydyw y rheolau yn rhy gaeth i'r beirdd awenyddol, y rhai a ddysgasant ddwyn yr iau o'u hieuenctyd; y ffordd decaf, Meistriaid Cyhoeddwyr, fydd profi gwaith y cyfryw feirdd awenyddol, i edrych a ydynt yn rhodio yn y rhyddid yr haerant hwy eu bod. Ac, yn wir, wedi darllen eu gwaith gyda'r manylrwydd mwyaf, ac yn eithaf diduedd, yr wyf yn cael fy argyhoeddi fwy fwy yn feunyddiol o'r niwed annhraethol a wnaeth y rheolau caethion i'r farddoniaeth Gymreig. Pwy all ammheu fod D. ab Gwilym yn perchen awen hedegog: ond allan o'i waith, yr hwn sydd yn cynnwys yng nghylch 250 o gyfansoddiadau, o herwydd caethder y rheolau, pwy all *enwi* cymmaint ag *un* o honynt (oddi eithr, fe allai, y cywydd diweddaf) fel enghraifft o farddoniaeth dda, ddisothach? A'r un peth a ellid ei ddywedyd am *Orchestion Beirdd Cymru*, ac amryw ereill.

Un niwed mawr o'r cynghaneddion caethion yw, *eu bod yn caethiwo ac yn tywyllu y meddwl.* Dygwyddodd i mi, yn ddiweddar, fyned i ystafell lle yr oedd amryw ddarluniadau yn grogedig mewn cylchedau (*frames*), wedi eu goreuro ag aur coeth. Wrth weled y fath fawrwychedd yn y cylchedau, gordybiais y cawswn yno weled gwaith y celfyddwr (*artist*) yn ei berffeithrwydd mwyaf. Ac yn wir, yr oedd yno *un* wedi ei osod allan yn hardd iawn: ond yn y lleill fe'm siomwyd yn ddirfawr. Yr oedd rhai o honynt yn rhy fychain i'r gylched, a'r gwagle wedi ei wneyd i fyny drwy ludio papur diles, fel y byddo iddo ateb i'r gylched, ac ereill yn ormod i'r gylched: a gwell fuasai genych, Meistriaid Cyhoeddwyr, fod *heb* eu gweled, na chael eich gofidio wrth ganfod rhai wedi eu gwasgu a'u crybychu, ereill wedi eu gwneyd mor anamlwg wrth eu trin a'u trablud er eu cyfaddasu i ateb i'r gylched, fel na wyddech fymryn ddarluniad o beth oeddynt. Gofynais i'r hwn a'u pioedd yr achos o'u bod felly. Atebai, fod y cylchedau wedi eu gweithio mor gywrain a manylwych, fel yr oedd efe yn gosod mwy o bwys ar y *gylched* na'r *darlun;* "o blegid," eb efe, "os damweinia i *un* darlun ateb yn fanwl i'r gylched, caf fwy o hyfrydwch yn edrych ar hwnw, nag a gaf o ofid wrth edrych ar gan darlun a anffurfiwyd gan y cylchedau." Ho! hebwn innau rhyngof fy hun, mae ymddygiad y gwr hwn at ei ddarluniadau yn dra thebyg i ymddygiad llawer o feirdd Cymru at eu meddyliau awenyddol; a bydded yr englynion canlynol o waith Dafydd ab Edmwnt, sefydlwr y pedwar mesur ar hugain, a Gutyn Owain, yn dystion.

"Clawr Gwynedd, glas gledd, glos glân—glwys wewyr
Glod Eryr gloew ei darian;
Gwrdd yw Rhys, garw ddur Hosan,
Gwres mynych les, Mon achlân.

Llaw wir, Ion heudir, yw'n hydab—osgordd
Ym mhob ffordd botffordd Bab:
O'i rwydd-don, a roe rydd-dab,
I'w roi yn fudd, er yn fab."

*Awdl Foliant i Rys o Fon:*
*Gorchestion Beirdd Cymru*, tudal. 102.

"Cariad, cof anllad, cyfiawnllwyth—calon
Caid holion cyd tylwyth:
Cul ydwyf, yn cael adwyth
Corff a rydd, caru o'i ffrwyth."

GUTYN OWAIN: *Awdl i Ferch: Gorchestion y Beirdd*, 188.

Dymunaf ar *Garwr Rheol* a *Thegydon*, neu ryw rai o bleidwyr y cynghaneddion caethion, roddi cyfrif am *bob gair* sydd yn y tri englyn uchod, ac egluro beth oedd y beirdd yn *feddwl* wrthynt.

Ym mhellach, pwy all beidio â gresynu yn ddirfawr wrth ddarllen gwaith y beirdd, hen a diweddar, wrth weled eu cyfansoddiadau wedi eu hanurddo â geiriau diles ac anfuddiol, da i ddim ond i *lenwi y gynghanedd*. Pe cai y boneddigion Seisnig, neu ryw genedl arall, awydd i roddi eu plant mewn ysgolion i ddysgu Cymraeg, pa le y mae y cyfansoddiadau "gorchestol synwyrlawn, o ddim meithder, yn ol y rheolau caethion," a allem roddi yn eu dwylaw, i'w cyfieithu i'r Seisoneg, neu ryw iaith arall, yn eithaf llythyrenol, air am air, fel y cyfieithir gwaith Virgil neu Horas? Yr wyf yn gofyn eto, pa le y mae y cyfryw gyfansoddiadau a'r na fyddent yn fwy o *warth* i'r Gymraeg a'i barddoniaeth, nag o *anrhydedd*, ac a'r nas dygai hwynt i feddwl yn wael iawn am farddoniaeth Gymraeg? Beth ddywedent pan gyfarfyddent â'r cyfryw linellau a'r rhai canlynol?

"Oed Iesu, *gallu, pob gwir*—pymtheg-cant
*A gwarant y geirwir;*
Deg saith *pell y dyellir,*
A phedair *hoff, Awdur hir.*"

W. LLEYN: *Gorch. Beirdd*, tudal. 289.

Wele yn yr englyn hwn 20 o eiriau, a 13 o'r 20 yn hollol afreidiol.

"Yn iach, wrol oen awch araf,
I'r hygaraf wr rhagorol."

G. O.: *Marw, Sion Owain.*

"Diogelwch, *deg alwad*—yw'r union
Wirionedd yn wastad;
A cholofn, *aur wych alwad,*
I'r Eglwys, *wres dwys*, a'r 'Stâd."

DAFYDD DDU ERYRI.

"*Wedd drwch*, haws dweyd mynydd *dro*,
*Mewn tristwch*, na myn'd trosto:
Mi adwaen iwrch *mad ei nwyf*,
*Naws diles*, er nas daliwyf."
RHYS JONES O'R BLAENAU.

Hefyd, y mae y rheolau caethion yn peri i'r bardd chwilio mwy am eiriau i ateb i'r gynghanedd, nag i adrodd ei feddwl mewn modd addas. Llyma ddarluniad a rydd Tudur Aled o olygiad march:—

"Llygaid fel dwy erllygen
Llymion byw'n llamu'n ei ben."

Ni choeliaf fod y bardd yn gweled addasrwydd y gymhariaeth uchod. Pa beth sydd yn fwy anaddas i ddangos llygaid bywiog march na dwy *erllygen?* eto, am fod dwy erllygen yn ateb i'r gair "llygaid," rhaid eu rhoi i mewn, er ei fod drwy hyny wedi dyfetha y "darlun." Ai addas y gair "*llamu*" hefyd? oni fuasai *chwareu* yn well?

"Y ceiliog, *serchog ei son*,
Bronfraith *diledïaith loew-don*,
*Dawn fad lun* dan fedw, *ei lais*,
*Deg loew-iaith*, doe a glywais."
DAFYDD AB GWILYM.

Yr hyn oll sy gan y bardd i'w adrodd yn yr englyn hwn yw, "clywais y fronfraith ddoe dan fedw." A'r hyn a allesid ei adrodd mewn *un* llinell yn ol y gynghanedd *rydd*, cymmerodd *bedair* yn ol y *gaeth*.

"Llwydd i'r gynhes Dduwies dda
Lath arian, *Eleutheria*."
DAFYDD DDU ERYRI.

Ai tybed y buasai y bardd yn rhoddi "lath arian" yn y lle hwn, pe cawsai roddi ei ddewis air, heb fod yn rhwym wrth y rheolau?

## III.

HEB law y pethau a enwyd yn y Rhifyn diweddaf, mae y rheolau caethion yn achos i'r bardd bentyru lluaws o ansoddiau am ben yr un sylweddair, fel y

maent yn ei wneyd heb ystyr yn y byd. Gwelaf fy mod eisoes wedi myned yn rhy faith; gan hyny ni ddyfynaf ond un enghraifft:—

"I'w *gain fain fwyn-hael*
Briod, *hyglod hael*."
G. O.: *Marw. Sion Owain.*

Wele yma bump o ansoddiau i'r un sylweddair, ac un yn cael ei ailadrodd.

Y maent hefyd yn gwneyd cymmeriad y gwrthddrych a ganmolir, neu y dychenir iddo, yn hollol *ddamweiniol* ac *ansicr*. Rhaid i'w gymmeriad ymddibynu yn benaf ar yr ansoddiau neu y geiriau a etyb i'r gynghanedd. Nid anfynych y cawn yr un dynsawd yn cael ei alw yn *alarch*, *eryr*, *gwalch*, *hydd*, *llew*, *oen*, a *phaun;* a hyny yn yr un cywydd. Ac yn y cywydd nesaf, fe allai y defnyddia y bardd yr un cyffelyb ymadroddion am un o gymmeriad eithaf gwahanol. Am enghreifftiau o gyfansoddiad dychanllyd, gwel Awdl Rhys Goch Eryri i'r Llwynog, D. ab Gwilym i Rys Meigan, a Goronwy Owen i Twm Sion Twm; a sylwed y darllenydd, ai geiriau priodol, yn cyfeirio at gymmeriad neillduol ac arbenigol y personau, a arferodd y beirdd, ai ynte y geiriau a ddeuent i ateb y gynghanedd, ac felly gwneyd eu cymmeriad yn bob peth.

Haerir yn gyffredin fod y rheolau caethion yn foddion neillduol i gadw yr iaith yn ei phurdeb. Ond hawdd dwyn afrifed o enghreifftiau i brofi i'r gwrthwyneb, sef iddynt fod yn achos i lygru ein hiaith. Ond ni fydd i mi, o ddiffyg lle, ddyfynu ond y rhai canlynol o "Gywydd y Farn" yn unig:—

"E rydd Grist (Crist) arwydd ei grog."

"Yno'r Glyw Ior y gloew-nef (loew-nef)."

"Goddefid naws llid nas *ll*wyr (lwyr)."

Am na oddef lle i mi ddyfynu ond ychydig enghreifftiau, cyfeiriaf y darllenydd at waith yr amrywiol feirdd a grybwyllwyd yn y llythyr hwn, a'u darllen yn

ddiduedd; a sylwi a ydynt wedi adrodd eu meddyliau mor addas a gweddus ag y gallasent ar gynghaneddion rhyddach. Nid yw ond oferedd dyfynu rhyw ychydig o bennillion er profi rhyddid y rheolau. Rheswm gwan i brofi fod y bont sydd dros yr afon yn y fan a'r fan yn ddigon llydan, fyddai i un ddywedyd iddo fyned drosti yn ddiangol lawer gwaith, os gellir profi am bob pum waith yr aeth drosti, iddo fyned deirgwaith i lawr. Gan hyny, Meistriaid Cyhoeddwyr, rhaid cael y bont yn ddigon llydan fel y gallo yr ymdeithydd fyned ar hyd-ddi yn rhwydd, ac heb fod mewn perygl o fyned i lawr unwaith.

Mae *Tegydon* yn fy herio i a'm cyfeillion yn eon iawn, i ddangos gwaith ar y cynghaneddion penrydd mor orchestol a synwyrlawn a'r rhai a gyfansoddwyd ar y rhai caethion. Derbyniaf yr her, a chaiff y nifer amlaf benderfynu y peth: anturiaf gyfieithiad o "Fyfyrdod mewn Mynwent yn y Wlad," gan Mr. Davis, Castell Hywel, a "Myfyrdod mewn Mynwent," gan Mr. John Parry, Llanelian, yn erbyn ei holl ganu caeth. Er, fe allai, mai bai penaf yr olaf yw, ymgyrhaedd gormod am gynghanedd. Peth rhyfedd fod genym ddim gwaith a dâl ei ddangos ar y gynghanedd rydd, gan fod ein prif-feirdd yn ymwrthod â hwynt.

Mae arnaf finnau chwant deisyf un peth gan *Degydon* a'i gyfeillion, sef cael cynghaneddiad mor lythyrenol, yn ol y rheolau caethion, o ddarluniad y March yn *Iob*, a'r un canlynol:—

**A roddaist gryfder i farch (drwy dy allu)**
**(O Iob) neu a ddysgaist di iddo weryru?**
**A ddychryni di ef fel ceiliog y rhedyn?**
**Gan mai ardderchawgrwydd ei ffroen ef yw dychryn.**
**Ei draed yn y dyffryn a gloddiant (gan luwchio);**
**Yn llawen a'i gryfder, cwrdd arfau (dan brancio).**
**Y cawell a'r saethau a drystiant i'w erbyn,**
**Y waewffon ddysglaer, a tharian 'r amddiffyn;**
**Y ddaiar a lwnc ef mewn creulon nwyd ddiorn,**
**Ac yn ei gynddaredd: ni chred lais yr udgorn.**
**Ha, ha, dwed yng nghanol yr udgyrn a'r cyffro;**
**Arogla o bell ryfel, twrf (cedyrn), a'r bloeddio.**

Os oes y fath ryddid yn y rheolau caeth ag a haera *Tegydon* yn niwedd ei lythyr, yn hytrach na thra-

ddodi *unrhyw* esgus, cyfansodded ef, neu ei gyfeillion, gynghaneddiad mor lythyrenol a'r un uchod; onid e, fy mhenderfyniad sicr gaiff fod, na allant wneyd hyny, gan mor gaethed y rheolau.

Nid wyf yn gweled yn y llythyr hwn un achos cyfreithlon i neb dramgwyddo; canys os o esgeulusdra a diofalwch y beirdd y mae eu barddoniaeth mor lawn o'r beiau a nodwyd, cymmered y beirdd sydd yn arferyd cyfansoddi arnynt fwy o ofal: ond os o rygaethder y rheolau y dygwyddasant, bydd yn foddion i agoryd llygaid y byd i weled y ffolineb o arfer y fath reolau, a'r angenrheidrwydd o wneuthur mwy o sylw a chyfrif o'r mesurau rhyddion, o'r rhai y mae genym gyflawnder yn ein hiaith. Haera rhai, pe diddymid y rheolau caethion, y deuai pob ysgogyn yn fardd wedyn: ond yr wyf yn credu yn ddiysgog, mai hòno fyddai y ffordd i chwynu ein cenedl o glerfeirdd a rhodreswyr; canys yn awr, os gall un gyssoddi yn lled fanwl yn ol y rheolau, mae yn ennill iddo ei hun yr enw *bardd* yn ddioed: a phe diosgid ei feddyliau o'r gynghanedd, na fyddai ynddynt fwy o farddoniaeth nag mewn godwrdd tinciad padell efydd: ond pe gosodid meddyliau awenyddawl yn faen prawf, er gwahaniaethu rhwng bardd a chlerfardd, yr wyf yn sicr na chaem, yn bur fuan, ond un am bob deg o glerfeirdd a rhodreswyr. Gan hyny, yr wyf yn gobeithio y bydd i'n heisteddfodau gefnogi mwy ar y mesurau rhyddion, a rhoddi gwobrau am y cyfansoddiadau goreu ynddynt, yn gystal a'r lleill. Ar y cyfan, na feddylied neb o ddarllenwyr y *Gwyliedydd* fy mod yn elyn i farddoniaeth Gymreig, nac am sefyll ar ffordd fy nghenedl i gyrhaeddyd uchaf-fan clod yn y gelfyddyd. Yr wyf eto yn tystio, yn y modd mwyaf diragrith, fod fy nyben yn eithaf gwladgarawl, ac mai gwir a diffuant ddymuniad fy nghalon yw, i'r Cymry gael eu dyrchafu i uchder enwogrwydd ac anrhydedd yn eu barddoniaeth, fel y byddont i'r cenedloedd cylchynol yn brawf arosol o ucheledd athrylith awenyddol.

# RHYFEDDODAU Y FLWYDDYN 1825.[1]

Yn gyntaf—Sul y Pasc yn cael ei gyhoeddi wythnos rhy gynnar.

Derbynir amseronïau (almanacau) yn gyffredin, megys tystion digyfeiliorn i'w dilyn yng ngosodiad y gwyliau symmudol bob blwyddyn. Y leni, er hyny, ymddengys cyfeiliornad ynddynt oddi wrth y drefn osodedig i sefydlu *Dydd Pasc*, ar yr hwn y mae yr holl wyliau symmudol ereill yn ymddibynu. Ni welais am y flwyddyn 1825, yr un amseroni, na'r "Cyfaill *Buddiol*," na'r "Cyfaill *An*fuddiol;" na'r "*Paddy's Watch*," na'r "*Northern Witch*," ond "*Vox Stellarum*" (Lleferydd y Ser) yn unig, yr hwn a gyhoeddir dan yr enw parhäus "Francis Moore, Feddyg;" pris 2*s*. 3*c*. Y mae hwn yn gosod y dydd cyntaf o'r Garawys ar yr 16fed, yn lle y 23ydd o Chwefror; a Sul y Pasc ar y 3ydd, yn lle y 10fed dydd o Ebrill: a thebyg hefyd fod yr holl almanacau bychain yn dynwared sain yr huad mawr; ac yn gosod Pasc y Cristionogion ar yr un dydd â Phasc yr Iuddewon.

Nid annerbyniol, ef allai, Mr. *Gwyliedydd*, gan eich darllenyddion uniaith, a fyddai hanes byr o'r amrafaelion a fu gynt yn yr Eglwysydd yng nghylch yr amser y dylid cadw Gwyl y Pasc. Yn yr oesau cyntaf, Eglwysi Asia (saith Eglwys Dadguddiad Ioan, ac ereill) a anghytunent ag Eglwysydd y Gorllewin ar hyn o bwnc. Eglwysydd Asia a ganlynent ddefod yr Iuddewon i gadw y Pasc ar y 14ydd dydd o'r mis cyntaf (*Nisan*), yr hwn fis a ddechreuai ar y lloer newydd nesaf i'r Gyhydedd Wanwyn (Alban Eilir): ac ar ba ddydd bynag o'r wythnos y disgynai y pedwerydd dydd ar ddeg, hwnw a fyddai *Dydd Pasc*. Ond Eglwysi ereill, yn Ewrop, &c., a gadwent eu Pasc ar y

[1] [Cyfroddedig i'r *Gwyliedydd* am Chwefror, 1825.]

Sul yn *canlyn* y Pasc Iuddewig; a hyn, mewn un ystyr, o ran parch i'r Sabboth Cristionogol; ac yn ail, fel y byddent yn wahanedig oddi wrth yr Eglwys Iuddewig. Yr oedd y ddwy-blaid, fel mewn oesau diweddarach, yn honi awdurdod apostolaidd ar eu tu. Eglwysi Asia a ddywedent eu bod yn dilyn defod yr Apostol Ioan; ac Eglwysydd y Gorllewin a arddelwent farn yr Apostolion Pedr a Phaul. Ar y cyntaf, yr oedd y gwahanol bleidiau yn ymddwyn tuag at eu gilydd mewn ysbryd a thymmer a weddai eu proffes: ond o'r diwedd, hauodd y gelyn had chwerwedd a llid ymrysongar yn eu plith, hyd oni welodd yr Ymherawdwr Cystenyn yn angenrheidiol ddirprwyo gosodedigaethau, o dan awdurdod y Gymmanfa fawr a gynnaliwyd yn Nicea, yn Bithynia, yn y flwyddyn o oed Crist 325, fel y canlyn:—

1. Bod, ym mhob man, i wyl fawr y Pasc gael ei chadw a'i chynnal ar yr un diwrnod; a hyny nid ar ddydd y Pasc Iuddewig, ond, fel y cedwid o'r blaen yn fwyaf cyffredin, ar *y Sul yn canlyn.*

2. Bod cyfrif yr 21fed dydd o Fawrth yn Gyhydedd Wanwyn.

3. Bod y llawn lleuad a ddygwyddo ar, neu nesaf gwedi yr 21fed o Fawrth, i'w gyfrif yn llawn lleuad *Nisan.*

4. A bod *Dydd yr Arglwydd nesaf yn canlyn* y llawn lleuad hwnw i fod yn *Ddydd Pasc* trwy holl Gred.

Cafodd y gosodedigaethau hyn ufudd-dod parod drwy yr holl Eglwysydd; ond yn y ganrif ganlynol, mynai y penaethiad eglwysig amseru penodau y newydd loerau yn gywirach, drwy arferyd y cylch lloerig, o bedair blynedd ar bymtheg, a ddychymmygasid er cyn geni Crist, gan un Meton o Athen. Parhaodd y rheol hon mewn grym, nes y gwelwyd ei bod yn ddiffygiol; o herwydd, er bod y lleuad yn newid yn unrhyw fis ar yr un dydd o hono ag y newidiasai 19 o flwyddau yn ol, eto yr oedd yn ennill o gylch awr a

hanner bob cylch lloerig, neu 19 o flwyddau; a hyn erbyn y flwyddyn 534 oedd wedi peri anghyssondeb mawr yng nghyfrifiad amser y Pasc. Dionysius Fychan, Rhufeinydd, a gyhoeddodd reolau i gyfrif y newydd a'r llawn leuadau yn gywirach. Yn ol y rheol hon y cadwyd y Pasc yn Eglwys Rhufain hyd y flwyddyn 1582; sef er amser Cymmanfa Chalcedon hyd y cyfnewidiad yn y Calendr gan y Pab Gregori XIII. Yn yr amser dan ein sylw yr oedd y Cyhydedd Gwanwyn gwedi colli deg niwrnod yn fyr o'r 21fed o Fawrth. Derbyniwyd cyfrif newydd Gregori yn rhwydd gan y gwledydd dan ei awdurdod; ond ni dderbyniai Prydain Brotestanaidd, yn ei mabandod, gymmaint a gwelliant o law yr hwn a gyfrifai yn Anghrist: ac felly y parhaodd yn ei hystyfnigrwydd hyd y flwyddyn 1752, y pryd y gwelwyd yr angenrheidrwydd o dderbyn y Cyfrif Newydd, fel y gelwid, ac y cyfrifwyd, drwy awdurdod y brenin a'r Senedd, y trydydd dydd o Fedi yn bedwerydd ar ddeg. Dichon bod rhai hen bobl eto yn fyw, ac yn cofio y cyfnewidiad hwn, a'r anfoddlondeb mawr a barodd ym mhlith y werin anwybodus. "Ië, newid yr *amser*," meddent, "a allant hwy newid y *tymmorau?*" Diflas hynod gan yr hen bobl hyny oedd cadw yn wyl y "Dydd Nadolig *Newydd;*" a hoff iawn fyddai ganddynt gael eu "*Hen* Ddydd Nadolig" yn dygwydd ar y *Sul*, fel y caffent "*yr Eglwys yn agored!*" Ni byddai dim gwaith yn cael ei wneyd ar yr "Hen Ddydd Nadolig," ond porthi eu hanifeiliaid. Dywedent, a chredent hefyd, y byddai amryw arwyddion yn tystio boddlondeb y nef i'r hen wyl; byddent, yn rhai manau, yn ymweled â'r ychain yn cyfodi o un i un, ar awr y plygain, megys i gyfaddef teilyngdod y wir wyl. Gellid, meddent, ddodi y marworyn tanbeidiaf o'r aelwyd ar y lliain bwrdd meinaf, ar yr hen wyl, heb iddo ei losgi; byddai rhos Fair yn blodeuo; a ffon ddraenen Ioseph o Arimathea yn blodeuo yn Ynys Wydrin! Bellach, y mae oes yr ofergoelion hyn wedi myned heibio! Y mae yn

bleser gan i, er hyny, ail feddwl am lawer o ragorau diniwed hen bobl yr oes hòno. Coffa da am danynt. Blodeued llygaid y dydd ar eu beddau. Ofni yr ydwyf bod llawer o'u rhinweddau wedi cael eu claddu gyda hwynt.

Ond i ddychwelyd o'm perlewyg at yr amser y dylid cadw Gwyl y Pasc. Y cyfrif newydd yn y flwyddyn 1752, a ail gydamserodd y Cyhydedd Gwanwyn â'r 21fed o Fawrth—fel yr oeddynt yn y flwyddyn 325, pan gynnaliwyd Cymmanfa Nicea: a'r rheolau a ddefodwyd yn y gymmanfa hòno, fel y gwelir uchod, yw y rheolau presennol i "gael y Pasc, hyd y flwyddyn 1899," neu ddiwedd y ganrif hon; fel y gwelir yn y calendr yn Llyfrau Gweddïau Cyffredin ein Heglwys. Dywedir yno yn bendant:—"*Dydd Pasc* yw, bob amser, y Sul cyntaf *wedi* y llawn lleuad a syrthio ar, neu nesaf ar ol, yr 21fed o Fawrth. Ac os dygwydd y llawn lleuad ar ddydd Sul, *Dydd Pasc yw y Sul ar ol.*"

Y leni, 1825, y mae y llawn lleuad Nisan yn dygwydd ar ddydd Sul, y trydydd dydd o Ebrill; ac, yn ol y drefn uchod, yr hon sydd gyfunol â threfn Cymmanfa Nicea, *y Sul ar ol*, sef y *degfed dydd o Ebrill, yw dydd Pasc;* a hyn rhag i Gristionogion gadw eu Pasc ar yr un dydd ag y ceidw yr Iuddewon eu Pasc hwynt. Y mae yr annhrefn hon yn annhrefnu holl wyliau symmudol y flwyddyn: Pasc Bychan yr almanac a fydd Pasc Mawr y Drefn Osodedig; a Sul y Drindod yr amseronïau a fydd Sulgwyn y calendr cyfreithlon, &c. Gan hyny, Mr. *Gwyliedydd*, a fedrwch chwi, neu rywun o'ch gohebwyr deallus, chwilio allan ryw ddefod amgen nag a welais i, i awdurdodi cadw y 3ydd o Ebrill nesaf yn ddydd Pasc, o herwydd bod y cyferbyniad rhwng yr haul a'r lleuad yn dygwydd yn y *bore*, dri mynyd ar hugain wedi chwech? Ac hefyd, ar ba amser, neu ar ba ddyddiau o'r mis, y ceidw Mammon ei ffeiriau ymddibynol ar y gwyliau symmudol y leni;—dydd Mawrth

Ynyd—Llun y Blodau—Mercher o flaen y Pasc, &c., &c.

"Ym Mon, ac yn Llanerch Medd;
Yn Lleyn, a thrwy holl Wynedd."

Gobeithiaf fod Amseroni fy nghyfaill o Gaergybi yn gywirach am amser y Pasc nag eiddo y *Mwrog* amleiriog, yr hwn a achlysurodd y sylwiadau blaenorol
Oddi wrth eich gohebydd newydd,

AMSERONYDD.[1]

*Chwefror* 1, 1825.

[1] [Ar bwnc yr ysgrif hon ysgrifena gohebydd yn y *Gwyliedydd* am fis Ebrill, 1825, yn y wedd ganlynol:—"Yn ol y rheol hon [a gynnwysir yn un o daflenau y Llyfr Gweddi Gyffredin] e feddyliai dyn . . . ar y golwg cyntaf, mai'r 10fed, ac nid y 3ydd dydd o Ebrill, y dylai Sul Pasc syrthio arno, a chael ei gadw y flwyddyn hon; ond nid ydyw y llawn lleuadau Eglwysawl, a'r gwir lawn lleuadau, yn dygwydd bob blwyddyn ar yr un dyddiau, ond yn syrthio *yn agos* i'r un dyddiau; ac felly yn y flwyddyn bresennol, y mae y gwir lawn lleuad yn dygwydd ychydig o fynydau gwedi 6 o'r gloch y bore y 3ydd o Ebrill; ond y llawn lleuad Pasc, neu Eglwysawl, yn ol yr amser y dygwyddai yn Iudea, sydd raid ddygwydd cyn diwedd yr 2fed dydd o'r un mis. Ac felly, ni a welwn yn eglur, fod y llawn lleuad Nisan yn dygwydd ar yr 2fed o Ebrill, y dydd y cedwir y Pasc Iuddewig; a bod ein Pasc ninnau, sef y Pasc Cristionogol, yn dygwydd ac i'w gadw ar y trydydd, sef y Sul ar ol."

Nid yw o fawr bwys, erbyn heddyw, ar ba ddydd o'r mis y dylesid cadw y Pasc yn y fl. 1825; ac nid oes ond ychydig o ddyddordeb yr ysgrif yn ymddibynu ar ei chywirdeb yn hyn o bwnc.]

# AR AMRYWIOL ENWAU DUW YN Y BIBL.

Ym mhlith yr afrifed Fiblau a gyhoeddir ym mhob iaith yn yr oes frwdfrydig hon, ni thynodd un fy sylwad yn fwy egnïol na'r rhan gyntaf o Fibl Seisneg wythblyg, a gyhoeddwyd yn nechreu y flwyddyn hon (1830). Cyfieithiaf ei *ditl* fel y canlyn:—

"*Y Bibl Cyssegrlan, yn ol y Cyfieithiad awdurdodig, oddi eithr y cyflead o'r Enwau gwreiddiol Hebreaidd yn lle y geiriau Siesneg LORD a GOD*" (neu, yn Gymraeg, yn lle y geiriau ARGLWYDD a DUW).

Rhaid i mi gyfaddef i ryw achreth fy nhreiddio ar y golwg cyntaf, gan ofni bod rhyw neidr yn llechu yng ngwraidd y meillion; ond cefais fy hybu yn ebrwydd drwy yr hyfrydwch o ganfod mai llafur un o ffyddlon weision Crist ydoedd; ac mai rhai o fwriadau penaf y cyhoeddwr oedd, argyhoeddi plant Abraham yn ol y cnawd, bod eu *Messïah* hwynt wedi ymddangos yn wir, yn hanfod Iesu o Nazareth; ac hefyd gadarnhau mabanod yng Nghrist, drwy ddangos yn dra eglur bod yr enwau ysgrythyrol yn yr iaith wreiddiol, y rhai a gyfieithiwyd i ni y Cymry yn ARGLWYDD a DUW, yn llewyrchu goleuni ysblenydd ar swyddau a phriodoliaethau gwahanol y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân.

Oddi ar y grediniaeth uchod, meddyliais na byddai cyfieithiad o rai o resymau y cyhoeddwr ym mhlaid ei orchwyl, a'i eglurhâd o'r enwau Duwfol[1] Hebreaidd, ym mha rai y rhyngodd bodd i'r Goruchaf wneyd ei hun yn adnabyddus i'w greaduriaid o ddynolryw, yn annerbyniol gan ddarllenyddion uniaith y *Gwyliedydd:* a dyma hwynt at eu gwasanaeth. Keseph yw yr enw a gymmerodd y cyhoeddwr arno; cymmeraf finnau yr enw

Morgan.

[1] ["Duwfol"—dull neillduol yr Awdur i ysgrifenu *Dwyfol*, *Dwyfawl*, neu *Dwywawl*. Nid yw y gair yn rheolaidd ei ffurfiad, ac nid oes mo'r angen lleiaf am dano yn yr iaith: ond nid yr Awdur yw yr unig un, na'r cyntaf chwaith, i'w ddefnyddio; canys ceir ef droion yn *Allwydd neu Agoriad Paradwys i'r Cymry*, argraffedig yn *Lvyck* (=*Luik*, *Lüttich*, neu *Liège*, yn Belgium) yn y fl. 1670; ac odid nad yw yn dygwydd yng ngwaith rhai awduron ereill.]

RHAGLITH.

Y Dadguddiad y rhyngai bodd i IEHOVEH ei wneyd yn ei gylch ei hun, sydd trwy enwau darluniadol o'i anian a'i hanfod, a chyfaddasol i'r ddull y derbynia y meddwl dynol wybodaeth a chyfarwyddyd. Ai nid yw, gan hyny, yn beth o'r pwys mwyaf, bod yn holl gyfieithiadau y Bibl, i'r enwau Hebreaidd gael eu cadw, trwy ba rai y gwelodd IEHOVEH ALEHIM yn dda wneuthur ei hun yn adnabyddus? Yn Ysgrythyrau yr Hen Destament dynodir IEHOVEH ALEHIM, y *Rhai Sanctaidd*, trwy enwau gwahanryw, sef ALEH, y Tad; AL, y Mab; a RUACH, yr Ysbryd Glân; y rhai a arwyddant yr hyn a elwir genym ni hanfodau (*persons*), gan y Groegiaid *Hypostases*, a chan yr hen Iuddewon *Sephiroth* yn IEHOVEH.

Yn y IVedd bennod o *Daniel*—8, 9, a 17 adn., gelwir y RHAI SANCTAIDD yn benodol y SANCTAIDD ALEHIM. Felly, a siarad yn gysson â'r iaith ysgrythyrol, nid yw SANCTAIDD a SANCTEIDDRWYDD yn gymhwysiadol ond at IEHOVEH yn unig; o blegid "IEHOVEH yn unig sydd sanctaidd." *Dad.* xv. 4.

Dyma yr achos ein bod yn cyfarfod mor fynych yn yr Ysgrythyrau â'r cyfenw sydd mor gymhwys i'r anian Dduwfol, sef, y SANCT, y SANCTAIDD, cyfenw·a roddir yn gystal i'r naill ag i'r llall—sef i ALEH yn *Esai*, xliii. 3; i AL yn *Hos*. xi. 9; ac i RUACH yn *Esai*, lxiii. 10; y rhai hefyd a enwir yn wahanol ADON, ALEHIM, a IEHOVEH. Gresyn, gan hyny, weled yr enwau Hebreaidd IEHOVEH, IEH, ADON, AL, ALEH, ALEHIM, ac ALUEH, yn cael eu cyfieithu, yn ddiwahaniaeth, drwy yr enwau ARGLWYDD a DUW, y rhai nid ydynt yn ddarluniadol o'r Hanfod Duwfol, nac yn wir arwyddocaol o'r enwau.

* * * * * *

* * * * * *

Er bod ALEHIM yn enw lluosog, cyssylltir ef weithiau â berf (*perwyddiad*) yn y rhif unigol, gan ei fod yn cael ei gymhwyso yn gyffredin at ALEH, AL, a RUACH; megys yn yr adnod gyntaf o *Genesis*—ALEHIM *bera* (Duw a greodd)—yr hwn (ALEHIM) a wyddom drwy dystiolaeth anffaeledig yw y GAIR digrëedig. *Ioan*, i. 1—3. Gelwir y Mab hefyd yn ALEHIM yn xlv *Salm.* Yr Apostol at yr Hebreaid a ddeallai y geiriau yn y Salm uchod yn fynegol am y Mab: "Dy orsedd di, O ALEHIM, sydd byth ac yn dragywydd: teyrnwialen uniondeb yw teyrnwialen dy freniniaeth di. Ceraist gyfiawnder, a chaseaist ddrygioni; am hyny y'th eneiniodd ALEHIM, sef dy ALEH di, ag olew llawenydd yn fwy na'th gyfeillion." *Salm* xlv. 5, 6. Llawer o Ysgrythyrau ereill a ddynodant Hanfod y Tad drwy yr enw ALEH, a Duwdod Crist drwy yr enw ALEHIM. * * * *

Cyfaddefa y cyfieithydd iddo ddilyn esamplau plant *Israel*, yn ei orgraff o'r enwau Duwfol, yn hytrach nag unrhyw ddychymmygion dynol. Mor ofalus oeddynt hwy yng ngheidwadaeth yr ymadroddion Duwfol, fel ag y bu iddynt, oesau yn ol, rifo nid yn unig y geiriau, ond hefyd y llythyrenau cynnwysedig ym mhob llyfr, i gadw eu hysgrifau yn ddilwgr rhag chwanegiad atynt na lleihâd o honynt. *Deut.* iv. 2. Y mae yr ysgrif o'r gyfraith, sydd ganddynt yn eu synagogau hyd y dydd heddyw, heb nodau (*points*), gan felly ateb i gynysgrif Moses, yr hyn ni wrthddadleuir; a'r Iuddewon a ddywedant bod ysgrifenu yr Hebraeg felly yn angenrheidiol, cyn y bydd yn gyfatebol i gynllun Moses.

Arwyddocâd yr enwau anhalogadwy a gyflëir yn yr argraffiad (Seisneg) yn lle ARGLWYDD a DUW.

ADON, y sylfan—a gynneil unrhyw beth—llywydd —perchenog—ac Arglwydd y cwbl. Y mae yn arwyddocäu hefyd, nerth, gallu, anghyfnewidioldeb, parhâd, mawredd, a phob priodoldeb hanfodol i'r Creawdydd. Cymhwysir yr enw yn briodol i'r Tad,

i'r Mab, ac i'r Ysbryd Glân. Gwel *Dan.* ix. 9; *Salm* xc. 1, 2; ac *Esai*, lxi. 1.

ADONIM, y rhif lluosog o ADON.

AL. Un o'r enwau mwyaf anhawdd yn yr iaith Hebraeg yw hwn. Rhai a'i cyfieithant Y CADARN. *Parkhurst* a dybia ei fod yn arwyddocäu *Cyfryngydd*, *Rhagflaenydd*, &c. Ond fe'i ceir yn fynych yn unedig â SHADDAI, KANNOA, IEHOVEH, ac ALEHIM; a dywedir yn hysbysol ei fod yn enw *Mab* ALEH. Gwel *Esai*, ix. 6.

ALEH, un a dyngodd, neu a ymrwymodd trwy lw i gyflawnu y cyfammod a wnaeth. Gwel *Deut.* xxix. 12. Cyfarfyddir â'r enw gyntaf yn *Gen.* ix. 26; a dylid ei ddarllen fel hyn:—"IEHOVEH fy ALEH, bendithia Shem," &c. Dywed IEH Crist (*Ioan*, vi. 45):—"Y mae yn ysgrifenedig yn y prophwydi, Pawb a fyddant wedi eu dysgu gan ALEH. Pob un, gan hyny, a glywodd gan y Tad, ac a ddysgodd, sydd yn dyfod ataf fi." Os edrychir i lyfr y prophwydi, lle y gwneir yr addewid, fe'i ceir yn *Esai*, liv. 13, ac yn adn. 5 o'r un bennod, ceir tystiolaeth—"ALEH yr holl ddaiar y gelwir Ef."

ALEHIM, rhif lluosog o ALEH; a gellir ei gyfieithu—Cyfammodwyr trwy lw. Cyfarchir pob un o'r RHAI SANCTAIDD yn fynych dan yr enw hwn. Ym mhlith llawer o Ysgrythyrau, gwel 1 *Bren.* xviii. 36; *Gen.* xxxv. 11; 2 *Cron.* xv. 1.

ALUEH, un a felltithiwyd, neu a fyddo yn ddarostyngedig i felltith: ac felly AL mab ALEH a ymddarostyngodd i'w *wneuthur* [*yn felltith*] *drosom ni. Gal.* iii. 13. "Crist a'n llwyr brynodd oddi wrth felltith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felltith drosom ni; canys y mae yn ysgrifenedig, Melltigedig yw pob un sydd yng nghrog ar bren." *Deut.* xxi. 23. Iob a ddywed ar yr un testyn (xix. 25—27): "Myfi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw, ac y saif yn y diwedd ar y ddaiar; ac er ar ol fy nghroen i bryfed ddyfetha y corff hwn, eto caf weled ALUEH yn fy nghnawd (h. y., un a wnaed yn felltith drosof fi), yr hwn a gaf fi im'

fy hun ei weled, a'm llygaid a'i gwelant, ac nid arall (neu yn hytrach, nid un dyeithr), er i'm harenau ddarfod ynof."

EHIEH. Ni cheir yr enw hwn ond yn *Ecs.* iii. 14, lle y cyfieithir YDWYF YR HWN YDWYF. Ei ystyr yn ddiammheu ydyw, "Ydwyf yr Hwn sydd, a'r Hwn a fydd." Gellid ei gyfieithu yn un â'r adnod ganlynol fel hyn:—"Ydwyf IEHOVEH—ALEH Abraham, ALEH Isaac, ac ALEH Iacob; wrth yr enw hwn a ddywed—fy mod i IEHOVEH, ac y byddaf yn ALEH iddynt yn dragywyddol."

IEH, a gyfarfyddir gyntaf yn *Ecs.* xv. 2. "Fy nerth a'm cân yw IEH, ac y mae Efe yn iachawdwriaeth i mi." Cyfansoddir yr enw o ddwy lythyren, y gyntaf a'r olaf o'r enw IEHOVEH. Y mae yn un o enwau AL, y Mab. *Dad.* i. 8; xxii. 13. Ac Efe a glodforir dan yr enw hwn pan fyddo ei holl elynion yn fainc i'w draed Ef—*Hallelu* IEH. *Dad.* xix. 1—3. Gwel *Salm* lxviii. 18: "Dyrchefaist i'r uchelder; caethiwaist gaethiwed; derbyniaist roddion i ddynion; ïe, i'r rhai cyndyn hefyd, ym mhlith pa rai y preswyliaist, IEH ALEHIM." Ac y mae esboniwr diffaeledig (*Eph.* iv. 7, 8) yn cyfeirio y geiriau yn bendant at Grist.

IEHOVEH, sydd enw anghyfranadwy, na roddwyd un amser i'r un creadur. *Lightffoot* ar *Esai*, xlii. 8. Yr oedd gan yr Iuddewon y fath barchedigaeth i'r enw hwn, fel na arferent ef ond ar yr achosion mwyaf pwysig. Dywed Eusebius y byddai yr Iuddewon yn ei amser ef yn ysgrifenu yr enw sanctaidd hwn mewn llythyrenau Samaritanaidd, fel na byddai i eneu y dienwaededig ei halogi. Cytunir yn awr, na wybu neb, yn ol y dychweliad o gaethiwed Babilon, pa fodd i roddi cywir sain i'r enw. Rhif unigol yw, heb luosawgrif iddo; ac y mae yn enw ar bob un o'r RHAI SANCTAIDD, er arddangos eu hundod. Y mae y Tad yn IEHOVEH. Cymharer *Salm* cx. 1, â *Mat.* xxii. 44. "Dywedodd IEHOVEH wrth fy ADON, Eistedd ar

fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn fainc i'th draed." Y mae y *Mab* yn IEHOVEH: "Wele y dyddiau yn dyfod, medd IEHOVEH, y cyfodaf i Ddafydd Flaguryn Cyfiawn, a Brenin a deyrnasa ac a lwydda, ac a wna farn a chyfiawnder ar y ddaiar * * *; a hyn fydd ei enw, IEHOVEH ein Cyfiawnder." *Ier*. xxiii. 5, 6. Y mae yr Ysbryd Glân yn IEHOVEH: "O! yr hon a elwir Ty Iacob, a fyrhawyd RUACH IEHOVEH?" *Micah*, ii. 7.

IMMANU-AL. Y mae genym dystiolaeth mai deongliad yr enw hwn yw AL (*Theos*), DUW gyda ni. Y mae yn hynod ddarluniadol o'r anian ddynol yn un â'r Dduwfol yn Hanfod Crist. Gwel *Esai*, vii. 14:—"Wele *Almah* (morwyn *bur*) a fydd feichiog, ac a esgor ar fab, ac a eilw ei enw ef IMMANNU-AL;" a *Micah*, v. 2:—"A thithau *Bethlehem* * * *; o honot ti y daw allan un i fod yn llywydd yn *Ishral*, yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechreuad, er FY NYDD TRAGYWYDDOLDEB."

KANNOA. Y gair hwn a gyfieithir weithiau, *eiddigus;* mewn manau ereill, *sel* (brwdfrydedd). Gwel *Ecs*. xxxiv. 14:—"O blegid IEHOVEH, KANNOA yw ei enw, sydd AL KANNOA." Gwel hefyd *Nahum*, 1, 2.

RUACH. Yn ein cyfieithiadau ni, rhoddir am y gair hwn, weithiau *gwynt*, weithiau *anadl*, waith arall *ysbryd;* ond yn *Gen*. iii. 8, *awel* (yn y Seisneg *cool*). Tebygid y deallid yr adnod hon yn well pe cyfieithid fel hyn:—"Ac wedi, hwy a glywsant y LLAIS, IEHOVEH ALEHIM yn ymddyddan â RUACH yn yr ardd y dydd hwnw: a'r dyn a'i wraig a ymguddiasant o olwg IEHOVEH ALEHIM ym mhren canol yr ardd." Wrth gymharu *Gen*., yr ail a'r 3edd ben., â *Dad*. xxii, nyni a ganfyddwn bod *pren y bywyd* yng nghanol yr ardd: ac i ba le y gwnai ein rhieni cyntaf ffoi ar ol eu cwymp truenus, ond at Bren y Bywyd. Ac eto, mewn trugaredd hwy a attaliwyd rhag bwyta o hono, *rhag iddynt*, fel y mynegir,

*fyw yn dragywyddol*, yn gaethion i bechod, wedi ymddyeithro oddi wrth ALEH, yn gas gan, ac yn casäu, eu gilydd.

Yr *Un Sanctaidd*, a elwir yn y Testament Newydd yn *Ysbryd*, ac yn *Ysbryd Glân*, a elwir yn yr Hen Destament RUACH. Megys y mae IEHOVEH, yr Hwn yn unig sydd *sanctaidd* (*Dad.* xv. 4), yn Ysbryd, felly y mae yr Ysbryd Glân yn IEHOVEH; pe amgen, ni elwid Ef yn *sanctaidd.*

Y mae yr YSBRYD GLAN, yn gystal a'r *Tad* a'r *Mab*, yn meddiannu yr holl briodoliaethau perthynol i IEHOVEH. 1. *Hollwybodaeth:* "Pethau ALEHIM nid edwyn neb ond YSBRYD ALEHIM." 2. *Hollbresennoldeb:* "I ba le y ffoaf oddi wrth dy YSBRYD?" 3. *Sancteiddrwydd:* "Na chymmer dy YSBRYD GLAN oddi wrthyf." 4. *Tragywyddoledd:* "Yr YSBRYD TRAGYWYDDOL."

Dynodir yr *Ysbryd Sanctaidd* trwy yr enwau IEHOVEH, ALEHIM, ADON, y SANCTAIDD, y GORUCHAF, YSBRYD y BYWYD, y GWIRIONEDD, y GRAS, y MABWYSIAD, y DOETHINEB, y FFYDD, y GWYBODAETH, yr ADDEWID, OFN yr ARGLWYDD, y SANCTEIDDYDD, y DYDDANYDD, yr Hwn a erys gyda phobl ALEH yn dragywyddol. Yn y Testament Newydd gelwir Ef yn *Ysbryd Crist;* ac yn yr Hen Destament yn RUACH-AL.

SABAOTH (neu yn hytrach *Tsabaoth*), *byddin* neu *luoedd.* Enw ydyw a unir yn fynych at IEHOVEH, pan fynegir yn fwy penodol ei *allu* a'i *fawrhydi.* "Mil o filoedd a'i gwasanaethent, a myrdd fyrddiwn a safent ger ei fron." *Dan.* vii. 10. "A'r nefoedd, O IEHOVEH, a foliannant dy ryfeddodau, a'th wirionedd *yng nghynnulleidfa y saint!* Canys pwy yn y nefoedd a gystedlir â IEHOVEH? pwy a gyffelybir i IEHOVEH ym mysg meibion y cedyrn? AL sydd ofnadwy iawn yng nghynnulleidfa y saint, ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd."

SHADDAI. Cyfieithir y gair hwn yn Lladin

*Fulminator* (Taranydd), ond yn Gymraeg *Ollalluog.* Rhai a dreiglant yr enw o wreiddyn yn arwyddo *dinystriad.* Iob, dan deimlad o gasineb IEHOVEH at bechod, a lefodd (*pen.* vi. 3, 4), "Fy ngofid sydd drymach na thywod y môr; o herwydd y mae saethau SHADDAI ynof, y rhai y mae eu gwenwyn yn yfed fy ysbryd. Dychrynfäu ALUEH (h. y. un a felltithiwyd dros bechod) a ymfyddinasant i'm herbyn." Y waith gyntaf yr ymddengys yr enw hwn sydd yn *Gen.* xvii. 1.

SHILOH. Unwaith y ceir yr enw hwn yn yr Hen Destament. Llawer o ddeongliadau a roddir i'r gair; megys, Mab—anfon—un anfonedig—cenad—i wneyd heddwch—i waredu—i ddyoddef—y dyoddefwr—y gorphenydd; ond addefir yn unfarn mai un o enwau y *Messïah* ydyw, yr Hwn "a gasglai yng nghyd yn un blant ALEH, y rhai a wasgarasid." Y mae peth dyryswch yng nghyfieithiad yr adnod, yn yr hon y mae Iacob yn bendithio Iudah. *Gen.* xlix. 10: "*Hyd oni* ddêl Shiloh:" nid yw hyn gytunol ag iaith y brophwydoliaeth, na'r cyflawniad o honi ychwaith. Os ystyrir y geiriau yn yr iaith wreiddiol, mynegant yn eglur—"na ymadawai y deyrnwialen o Iudah, na deddfwr oddi rhwng ei draed ef *dros byth*, canys deuai SHILOH, ac a gynnullai bobloedd ato." Yr Iuddewon a dystiasant ger bron Pilat, bod y deyrnwialen *wedi* ymadael o Iudah, pan lefasant, "Nid oes i ni frenin ond Cæsar." Ond nid oedd y deyrnwialen *dros byth*, canys daeth y SHILOH i gasglu yng nghyd yn un blant ALEH a wasgarasid. Teyrnwialen cyfiawnder yw teyrnwialen ei freniniaeth Ef: ei deyrnas Ef sydd deyrnas dragywyddol, a'i lywodraeth Ef sydd o genedlaeth i genedlaeth. A'r angel a ddywedai wrth Fair, "Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf; ac iddo Ef y rhydd IEHOVEH ALEH orseddfa ei dad Dafydd. Ac Efe a deyrnasa ar dy Iacob yn dragywydd, ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd."

Geiriau Hebreaidd, a gyfieithir yn ein Biblau ni, *Dyn*, *Gwr*, &c.

1. *Adam*. *Gen*. i. 26: "Gwnawn *Adam* (ddyn) ar ein delw ni." Arwyddocâd yr enw yw *daiar;* ac a gymhwysir yn gyffredin at ddyn yn ei gyflwr anianol.

2. *Ish*. *Gen*. ii. 23: "Hon a elwir *Isha*, o blegid o *Ish* y cymmerwyd hi." Arwydda yr enw *ddyn* mewn awdurdod, ac a gymhwysir gan mwyaf at un enwaededig. Yr oedd Noah yn *Ish* cyfiawn, Ioseph yn *Ish* llwyddiannus, &c.

3. *Gibbor* (rhif lluos. *Gibborim*), gwr cadarn, penaeth, arglwydd, athraw, &c. *Gen*. vi. 4: "Pan ddaeth meibion ALEHIM at ferched ADAM, a phlanta iddynt, dyma y *Gibborim* a fu *Anashim* enwog gynt."

4. *Anash*, dyn llesg, gwael—un cenedlig—gweinidog. *Gen*. xviii. 2: "A chododd Abraham ei lygaid, ac a welodd dri *Anashim* (gwŷr llesg) yn sefyll * * * Ac efe a ddywedodd, Fy ADON" (Arglwydd), &c. Tebygol mai dyma y waith gyntaf y cafodd Abraham oleufynag eglur o ymddarostyngiad a chnawdoliaeth Crist. Pa ddadguddiad rhyfeddol sydd yma o addfwynder a gostyngeiddrwydd *Immanu-al!* Ni arddangosir Ef yma drwy ei enw mynychaf GIBBOR (h. y., Athraw, Penaeth, Arglwydd); ond trwy ymddarostyngiad anghyffelyb, Efe a ymddangosodd i dad y ffyddloniaid ar ddull ei gyflwr isel, pan fyddai yn "wr gofidus, a chynnefin â dolur,"—"yng nghyffelybiaeth cnawd pechadurus" (*Rhuf*. viii. 3). Oddi ar yr hyn a ganlyn ym mhellach yn y bennod, y mae yn eglur i Abraham â llygad ffydd weled yn ei ofwywr "ogoniant megys yr uniganedig oddi wrth y Tad, llawn o ras a gwirionedd." "Oni wna Barnydd yr holl ddaiar farn?" "O na ddigied Fy ADON," &c.

# BARNEDIGAETHAU DUW.

## HANES Y CORNWYD YN LLUNDAIN, YN Y FL. 1665.

"A phan estynasai yr angel ei law at Ierusalem i'w dinystrio hi, edifarhaodd ar yr Arglwydd y drwg hwn, ac a ddywedodd wrth yr angel oedd yn dinystrio y bobl, Digon bellach: attal dy law."—2 SAM. xxiv. 16.

YMA y gwelwn enghraifft o gyfiawnder dialeddol y Duw byw, yn cospi cenedl bechadurus, a brenin rhyfygus, ag ymweliad yr *haint;* yr hon, mewn ysbaid naw awr, a laddodd ddeng mil a thrigain o'r bobl o Dan hyd Beer-sheba. Yr oedd Israel wedi mwynhau blynyddoedd o heddwch a llwyddiant daiarol, heb fod yn ddiolchus i'w Penllywodraethwr; a'u brenin a rifasai y bobl, ei gantoedd o filoedd o wŷr grymus yn tynu cleddyf, gan felly ymddiried mewn braich o gnawd, yn lle yn yr Hwn a'i hachubasai o grafanc y llew, ac o balf yr arth. Efe a rifasai y bobl heb gymmeryd sylw o ddeddf osodedig yr Arglwydd ar yr achos, yn *Ecs.* xxx. 12. Ond yr haint a'i dygodd i edifeirwch: "A'r Arglwydd a gymmododd â'r wlad, a'r pla a attaliwyd oddi wrth Israel," wedi yr offrymiad o aberth hedd ar fryn Morïah.[1]

Yn *Ezec.* xiv. 21, *ei bedair drygfarn* y geilw I E-HOVEH ALEH "y cleddyf, newyn, bwystfil niweidiol, a haint." O'r pedair drygfarn, haint yw yr ymweliad mwyaf ofnadwy, ac iawn y gelwir yn fwyaf penodol yn "llaw Duw" (1 *Sam.* v. 11), yr

[1] Bryn *Morïah* (ofn yr Arglwydd) ydyw y bryn hynotaf ar wyneb daiar, ond ystyried y dyfynion canlynol:—"Dos rhagot i dir Morïah, ac offryma yno dy unig Isaac yn boeth-offrwm ar un o'r mynyddoedd yr hwn a ddywedwyf wrthyt."—*ALEHIM wrth Abraham, yn Beer-sheba. Gen.* xxii. 2.

"Dos i fyny, cyfod allor i IEHOVEH yn llawr dyrnu Aranïah y Iebusiad." —*Y Prophwyd Gad wrth Ddafydd.* 2 *Sam.* xxiv. 18.

"A Salomon a ddechreuodd adeiladu ty IEHOVEH yn Ierusalem, ym mynydd Morïah, y lle a ddarparasai Dafydd ei dad ef, yn llawr dyrnu Aranïah y Iebusiad." 2 *Cron.* iii. 1.

"Ac hwy a'i harweiniasant Ef allan o'r ddinas, i le a elwid Golgotha, ac yno y croeshoeliwyd Ef."—*Y Pedair Efengyl.*

Hwn yn unig sydd yn rhoddi ei fyllt dinystr yn llaw ei angel pan fyno, ac yn peri i'w haint rodio yn y tywyllwch, fel na wel dynion o ba le y mae yn dyfod, na pha fodd i'w ochel. Nyni a wyddom achosion rhyfel a newyn; ond tarddell *haint*, pwy a'i chwilia i fanyldeb?

Gosodir yma restr byr o ymweliadau *haint* yn amryw wledydd.

Yn y fl. 767 cyn geni Crist, bu haint dros yr holl fyd.

Yn y fl. 78 o oed Crist, yn ninas Rhufain, bu feirw o'r haint ddeng mil, mewn pedair awr ar hugain.

Yn 954, yn yr Alban (*Scotland*), lladdwyd deugain mil.

Yn 1348, yn Llundain, bu feirw 50 mil; yng Nghaer Lyr (*Leicester*), 15 cant; yng ngwlad yr Ellmyn (*Germany*), 90 mil. Yr haint hon a ddechreuodd ym mhorth-drefydd dwyreiniol Môr y Canoldir, yn y fl. 1346. Masnachwyr a'i trosglwyddodd i'r Ital. Yn 1348, aeth dros y Mynyddoedd Mynnau i Ffrainc; a'r flwydd ganlynol mordwyodd i Loegr; y flwydd wedi ymwelodd â gwlad yr Ellmyn, a gwledydd gogleddol ereill. Ei barhâd oedd o gylch pum mis ym mhob gwlad. Yn ninas Fflorens (Ital) bu farw tri o bob pump.

Yn 1362, yn Llundain, a Pharis (yn Ffrainc), bu yr haint yn hynod o'r dinystriol.

Yn 1407, yn Llundain, bu feirw 30 mil.

Yn 1477, yn Lloegr: lladdodd yr haint y flwyddyn hon fwy o rifedi nag a ddyfethodd y cleddyf yn y 15 mlynedd blaenorol o ryfel gwaedlyd rhwng yr ymdrechwyr am y goron, sef pleidiau Yorc a Lancaster.

Yn 1499, yn Llundain, bu feirw 30 mil.

Yn 1594, colledwyd Llundain o'r bedwaredd ran o'i thrigolion.

Yn 1603, ym mis Rhagfyr, dechreuasai yr haint yn Llundain, a chynnyddasai i radd ddychrynadwy yng ngwres yr haf canlynol. Y brenin Iago I, newydd ei ddyrchafu i orsedd Lloegr, a giliodd rhag yr haint

i Wilton, un o balasau Wiliam Herbert, Iarll Penfro. Yn y fl. 1407, ciliasai y brenin Harri IV. o Lundain, i Gastell Leeds, yn Cent: ac yn y fl. 1499, aeth y Brenin Harri VII. i Galais yn Ffrainc, rhag y cornwyd. Yn 1604, bu farw 30,578.

Yn 1611. Dywedir farw yng Nghaer Cystenyn y flwyddyn hon o'r haint, 200 mil.

Yn 1665, bu farw yn Llundain 68 mil.

Gan mai am alanasdra yr haint ddiweddaf hon y ceir yr hanes cyflawnaf, rhoddir yma ddyfynau allan o lyfr Seisneg a gyhoeddwyd dan yr enw "*Hanes y Cornwyd yn Llundain yn y fl.* 1665; *yn cynnwys sylwiadau ac argofion o'r pethau hynotaf a ddygwyddasant yn y tymmor ofnadwy hwnw. Gan Ddinesydd oedd yn anneddu drwy yr holl amser yn Llundain.*"

"O gylch dechreu mis Medi, 1664, bu i mi ac ereill o'm cymmydogion yn Heol *Aldgate* glywed drwy chwedleuon bod y *cornwyd* wedi dychwelyd i Holand; canys buasai yn ddinystriol iawn yno, yn enwedig yn ninasoedd Amsterdam a Rotterdam, yn y fl. 1663; i ba fanau y daethai, meddai rhai, o'r Ital—o'r *Levant*, meddai ereill: ond ni waeth o ba le; y pwnc o bwys oedd, ei fod wedi dychwelyd i Holand, a phawb a gytunent ar hyn.

"Nid oedd genym y fath beth a newyddiadur yn y dyddiau hyny, i daenu newyddion, ac i chwanegu atynt drwy ddychymmygion dynion, fel y gwelais arferu gwedi hyny. Ambell i lythyr rhwng masnachwyr oedd yr holl sylfan i'r chwedlau; ac yn y modd hyn y lledai y newyddion o eneu i eneu yn unig, ac ni threiddient drwy y wlad yn ebrwydd fel y gwnânt yr awron. Ond tybir bod y llywodraeth yn gwybod y gwir, canys cynnaliwyd cyfrin-gynghorau i ddychymmygu y moddion mwyaf tebygol i luddias y cornwyd i'n gwlad; ond cadwyd y cwbl yn ddirgel. Oddi ar hyn diflanodd y son, a dechreuodd pobl ei anghofio megys peth nad oedd yn perthyn i ni, a pheth y gobeithiem nad oedd yn wir. Tua diwedd mis Tach-

wedd, neu ddechreu Rhagfyr, 1664, bu farw dau ddyn (dywedwyd mai Ffrancod) o'r cornwyd, yn *Long Acre*, tua phen uchaf *Drury Lane*. Y teulu, lle yr oeddynt yn cyfanneddu, a geisient gyfrinachu y peth gymmaint ag a allent; ond gan i'r chwedl gynnyddu o dy i dy, daeth i glyw swyddogion y brenin, y rhai a anfonasant ddau feddyg cyfarwydd i chwilio y ty, ac i roddi eu barn ar ansawdd y cyrff trengedig. Ni rusodd y meddygon farnu, eu bod wedi marw o'r cornwyd; ac yn ol y drefn ddinesig, cyhoeddwyd yn yr wythnosol *Restr Marwoldeb*—

'Marw o'r cornwyd, 2. Plwyfydd heintus, 1.'

Ar hyn, tarawyd y bobl â braw mawr drwy yr holl ddinas, ac yn fwy felly yn yr wythnos ddiweddaf o Ragfyr, pan fu dyn arall farw yn yr un ty, ac o'r un clwyf. Yna buom megys yn ddigyffro tros ogylch chwech wythnos: gan na bu neb farw â nodau haint arno, tybiwyd ei bod wedi cilio. Ar ol hyny, tybiaf mai o ogylch y 12fed o Chwefror, y bu un arall farw mewn ty cyfagos, ond yn yr un plwyf, ac o'r un clefyd. Hyn a dynodd sylw y bobl at y pen hwnw i'r ddinas; ac nid ai neb drwy heol *St. Giles*, os na byddai achos mawr yn ei yru.

"O hyn allan, yr wythnosol *Restrau Marwoldeb* a gynnyddasant o 240, eu rhif arferol, i agos 500; ac ogylch Gwyl Ieuan Fedyddiwr, dechreuwyd claddu o fewn un plwyf (*St. Giles*) 120 yn yr wythnos, o ba rai o ddeutu 100 a gyfaddefwyd eu marw o'r *haint*.

"Hyd yn hyn yr oedd y clefyd wedi dal yn yr un ddosbarth ag y dechreuasai ynddo; ond bellach yr oedd yr holl ddinas yn llygredig, a rhyw nifer a syrthient yma ac acw drwy ei 97 o blwyfau.

"Nid oedd dim ammheuaeth erbyn hyn nad oedd angel y cornwyd wedi gyru ei saethau ar hediad drwy yr holl ddinas. Braw a syndod oedd y canlyniad ar y trigolion drwy ei holl barthau; a phawb a allent gilio o gyrhaedd perygl, a ymbarotoisant i ymadael.

"Yr oedd fy annedd i yn *Aldgate;* a chan na threiddiasai yr haint eto i'r parthau hyny, yr oedd meddyliau y trigolion yn lled dawel. Ond ym mhen arall y ddinas, yr oedd braw rhyfeddol wedi cymmeryd meddiant o galon pawb. Y rhai mwyaf cyfoethog a boneddig yn y parthau hyny a ymdrechent i fyned o'r ddinas am y cyntaf, yng nghyd â'u tylwythau a'u gweinidogion. Gwelwyd y terfysg hwn yn dra hynod yn yr heol lydan yr oeddwn i yn byw ynddi. Nid oedd braidd ddim i'w ganfod ond pedrolfeni a throlfenau, yn llwythog o eiddo, merched, plant, a gweinidogion; cerbydau llawnion o'r pendefigion mwyaf, dynion ar feirch yn eu canlyn, a phawb yn prysuro i ffoi. Yna meni hirion a byrion yn dychwelyd o'r wlad yn weigion, blith draphlith drwy eu gilydd, i gyrchu ychwaneg o'r dinasyddion ymaith; heb law nifer mawr o ddynion ar geffylau, rhai yn unig, ereill â'u gweisiion gyda hwynt; ac yn gyffredin pawb yn llwythog o ryw eiddo neu gilydd, wedi eu parotoi i'r daith; fel y gallai pawb wybod eu bwriad wrth y golwg arnynt.

"Golwg echryslawn oedd hwn; a chan nad allwn lai nag edrych arno o'r llwyd foreu hyd dywell nos, ac yn wir nid oedd braidd ddim arall i mi sylwi arno, fe'm llanwyd â meddyliau difrifol iawn yng nghylch y trueni oedd i ddisgyn ar y ddinas, a chyflwr gresynus y rhai a adewid ar ol.

"Y cyfryw oedd ffrwst y trigolion dros rai wythnosau, fel ag yr oedd braidd yn analluadwy gyrhaedd drws y Maerdy gan y dyrfa yn ymwthio am y cyntaf i gael ardystiadau o iechyd, a thrwyddedau i ymadael; canys heb y pethau hyn, ni chaniatëid i neb dramwy drwy dref neu ddinas ar eu taith, nac ychwaith i lettya mewn gwesttai ar y ffordd.

"Fe barhaodd y ffrwst hwn dros rai wythnosau, hyny yw, drwy y misoedd Mai a Mehefin; a hyny yn fwy gan bod si ar led y gosodid, drwy arch y llywodraeth, lidiardau, a rhwystrau ereill, ar y prif-ffyrdd i luddias pobl i ymdeithio; ac hefyd na byddai i drefydd ganiatäu i fföedigion Llundain fyned trwyddynt, rhag y

byddai iddynt ddwyn yr *haint* gyda hwynt; er nad oedd y chwedlau hyn ond si heb sylfan.

"Tramwyasai y clefyd erbyn hyn yn gyflymach tua y dwyrain, ac nid oedd lle i ammheu na ofwyai yr haint yr holl ddinas. Y teithwyr yn yr heolydd a dramwyent yn ofalus hyd eu canol hwynt, rhag myned yn agos i'r tai, ac fel y gochelent gyfhwrdd y naill â'r llall. Nid oedd ond cipedrychiad iseldrem a phruddaidd, yn lle ysgwyd dwylaw caredig, rhwng y cyfeillion mwyaf cydnabyddus, pan gyfarfyddent; pob ty a *siop* yn gauad —pob masnach drosodd—a phob crefftwr a llafurwr heb ddim i wneuthur ond syn-feddylio uwch ben newyn a chlefyd. Y brenin a giliodd, a'i lys gydag ef, i Rydychain; llysoedd y gyfraith yn glöedig. Pob ymadawiad o'r ddinas a wrthwynebwyd gan drigolion y wlad o'i hamgylch; ac erbyn canol yr haf, yr oedd Llundain freiniol fel 'dinas warchauedig.'

"Y pryd hyn gellid dywedyd am Lundain, yng ngeiriau y prophwyd am Ierusalem: 'Pa fodd y mae y ddinas aml ei phobl yn eistedd ei hunan! Y mae hi yn wylo yn hidl, ac y mae ei dagrau ar ei gruddiau.' Ond nis gellid cymhwyso ati hi eiriau y Pregethwr, bod 'y galarwyr yn myned o bobtu yn yr heol;' canys ni alarai neb yn Llundain y pryd hyn, mewn gwisgoedd duon, ar ol eu cyfeillion anwylaf. Ond uchel, uchel, y clywid sain wylofain yn yr heolydd; oergri gwragedd a phlant yn y ffenestri a drysau eu tai, lle yr oedd eu perthynasau agosaf ac anwylaf naill ai ar ben, neu wedi, rhoddi i fyny yr ysbryd. Yr oedd y galargwynion echrydus hyn, gan mor fynych y clywid hwynt wrth dramwy yr heolydd, yn ddigonol i hollti y galon galetaf. Dagrau heilltion galar chwerw a welid bron ym mhob ty, yn enwedig yn nechreuad y clefyd; canys tua ei ddiwedd, yr oedd teimladau dynion wedi caledu, a marwolaeth mor gynnefin iddynt, fel na theimlent gymmaint ymadawiad eu cyfeillion, gan eu bod ar ddysgwyl yr un dynged iddynt eu hunain yn yr awr nesaf.

"Yr oedd coelgrefydd, a thwyll, a phenboethni,

yn brysur, ïe, yn y dyddiau ofnadwy hyn. Yr oedd almanacau, a llyfrau tesni, mewn galwad mawr. Un llyfr a gyhoeddwyd tan yr enw 'Rhybudd Teg' (*Fair Warning*); arall, 'Cofiadur Prydain' (*Britain's Remembrancer*); a'r trydydd a enwyd 'Deuwch allan o honi hi, fy mhobl, fel na dderbynioch o'i phläu hi.' Ac yn bellach na hyn, rhedai rhai hyd yr heolydd, gan brophwydo ar dafodleferydd; ac un, yn enwedig, a gyhoeddodd, fel Ionah yn Ninifeh, 'Deugain niwrnod a fydd eto, a Llundain a gwympir.' Un arall a redai drwy yr heolydd, yn noeth, heb ddim ond ei lodrau o amgylch ei lwynau (gan ddynwared mab Hananïah yn Iosephus, yr hwn a waeddai, 'Gwae, gwae, gwae i Ierusalem!' cyn ei dinystriad), ac a grochlefai ddydd a nos, 'O y Duw mawr ac ofnadwy!' ac ni ddywedai ragor na hyn, er ei holi; ac ni arosai i ateb neb, ond prysurai yn ei flaen â gwynebpryd llawn o ddychryn. Cyfarfum ag ef lawer gwaith; ond ni ynganai air wrthyf fi, nac wrth neb arall, ond parhau i lefain yr un geiriau.

"Yr oedd y gau feddygon hefyd yn brysur, fel cynt ac wedi; y pyst a'r muriau yn dryfrith o gynnygion '*Cyffyriau anffaeledig rhag y pla;*' ac felly am ladrata elw anghyfiawn megys o grafangau yr angeu ei hun!

"Pan ddechreuodd yr haint ledaenu, ymgynghorodd y prif swyddogion yng nghylch y moddion goreu i luddias ei gynnyddiad. Gosodwyd chwilorion, meddygon, a chladdwyr, ym mhob dosbarth o'r ddinas; a chan y gwŷr hyn yr oedd awdurdod i gau i fyny bob ty ac annedd y barnent fod yr haint wedi ymddangos ynddo; ac i osod croes goch, droedfedd o hyd, ar ganol y drws, ac yn ysgrifen uwch ben y groes, '*Arglwydd, trugarhâ wrthym.*' Yr arwyddion hyn oeddynt i aros, nes yr agorid y ty yn gyfreithlawn. Gosodid dau o wylwyr, un yng ngwyneb y ty, a'r llall o'r tu cefn iddo, i rwystro pob dyfodiad i mewn, na mynediad allan: ac fel hyn yn gadael y cornwyd gwyllt i wneyd ei waethaf o fewn terfynau gosodedig, ac megys ei borthi ag ychydig luniaeth, i'w gymhell i ymarbed rhag mwy.

Yr oedd rhai o osodedigaethau y swyddogion wedi eu trefnu er lles y ddinas; ond yr ordinhâd hon, yn carcharu teulu fel hyn, oedd arswydus yn ei heffeithiau; canys, yn lle lleihau, ychwanegwyd at gynddaredd yr haint. Heb hyn, pe dygwyddasai gweinidog neu lettywr fod yn glaf heintus, gallesid ei drosglwyddo i'r heintty, ac wrth hyny roddi chwareu teg i'r trueiniaid ereill am eu bywyd. Wrth gloi y cwbl i fyny, iach ac afiach yng nghyd, nid oedd y gobaith lleiaf wedi ei adael. Y canlyniad o hyn oedd, i lawer o deuluoedd, mewn anobaith, dori allan o'u caethiwed, gorchfygu y gwylwyr, a dianc fel y dygwyddai iddynt; ac wrth hyny yn lledu, yn lle cyfyngu, yr haint.

"Y drefn o gladdu y meirw oedd annynol i'r eithaf; ond yr oedd yn un atebol i ofynion yr amser. Bob bore, cyn codiad yr haul, a phob nos, yr oedd clud-fen y meirw yn myned ei chylch; a phob tylwyth yn gymhelledig i ddwyn eu meirw allan, a'u bwrw iddi, ar ganiad cloch y cludydd. Pan lenwid y fen, prysurid i'r gladdfa, sef ffos eang o hyd, a lled, a dyfnder, ac yno dymchwelid y llwyth, fel bwrw tail i domen. Ni ddarllenid gwasanaeth, a mud oedd y gloch. Nid oedd na brawd na chyfaill yn dilyn, nac un prysuryn yn beiddio ymddangos. Yr oedd nifer o'r offeiriaid wedi gadael y ddinas; ac yr oedd yn olwg newydd weled gweinidogion, o bob enw neu blaid, yn esgyn i'r areithfa mewn eglwys neu gapel, ac ni byddent un amser mewn diffyg o wrandawyr; canys yr oedd yr ymweliad echrys wedi troi llawer i weddïo, y rhai na weddïasent erioed o'r blaen. 'Pan laddai Efe hwynt, hwy a'i ceisient, ac a ddychwelent, ac a geisient Dduw yn fore.' *Salm* lxxviii. 34. Cynted ag y dystewai un pregethwr, un arall, o gredo lledgroes i'r cyntaf, a esgynai yn ei le. Y cyssondeb brawdol hwn, ni pharhaodd ond tra estynodd yr angel ei gleddyf uwch ben y ddinas. Un o'r arwyddion cyntaf bod yr haint yn llareiddio, oedd adnewyddiad ymryson ym mhlith crefyddwyr. Yn nhrymder y cleddyf yn unig, pan oedd ar bob dyn fwy o ofn ei gymmydog nag erioed,

y bu yr eglwysydd fwyaf mewn diffyg gwrandawyr. Un o'r amgylchiadau hynotaf o drueni yr ymweliad hwn, oedd, bod ar bob dyn ofn ei gymmydog, yr hwn a welai yn rhodio yr heol, ac ar ymddangosiad yn ei iechyd arferol; er ei fod ef ei hun, ar yr un pryd, er yn anwybod iddo, yn dwyn yn ei gylch hadau ei farwolaeth ei hun, a llygriad pawb a nesäent ato.

"Arwyddion amlycaf yr haint, oedd, penysgafndod, cyfog, ammhwyllder, syndod, poethellau, a chleision; a dygwyddodd yn fynych, na wyddai yr heintus ei fod yn glaf hyd o fewn teir-awr i'w farwolaeth; y pryd y dangosai un arwydd farwol ar amryw fanau o'r corff, ond gan amlaf ar y fynwes. Wrth ddyn, a dybiai ei hun yn iach, llawer gwaith y dywedwyd gan gyfaill a edrychai ar ei ddwyfron, 'Ymbarotoa, fy nghyfaill, nid oes genyt ond ychydig o oriau i fyw!'"

Meddyg dysgedig a gwybodus (N. Hodges, D.M.), ymwelydd parhäus â'r cleifion, a ddywed:—"Ym misoedd Awst a Medi, y cornwyd, megys ag edyn cyflymach, a ymddangosai wedi dwyn yr holl ddinas tan ei rwysg. Yr oedd y lladdfa yn echrydus; yn gymmaint a bod o dair i bedair a phump o filoedd yn marw yn wythnosol; ac yn un wythnos *wyth mil*, pan oedd y dinystr fwyaf. Pwy a ddichon adrodd echryslondeb y fath dymmor? Yr oedd yr holl deyrnas yn wylo dros drueni ei phrif ddinas. Yn rhai tai yr oedd celaneddau yn gorwedd i aros swyddogion y bedd; yn ereill, ddynion yn cyrchu eu hebwch ddiweddaf. Yn un ystafell clywid griddfanau tranc, yn arall fadrondod gwallgof; ac neppell oddi yno, ceraint a chyfeillion yn croch alaru, nid yn unig eu colled o'r sawl a garent fwyaf, ond hefyd y dysgwyliad brawychus o'u hymadawiad eu hunain ar fyr ennyd. Yr oedd angeu yn esgorydd diffaeledig i'r holl blant, y rhai a drosglwyddid yn ebrwydd o'r groth i'r bedd. Pa ddwyfron na holltai o ofid, wrth weled defnyddion cenedlaeth newydd o ddinasyddion yn crogi ar fronau eu mamau meirwon! Rhai, yn ol eu clwyfo, yn rhedeg oddi amgylch fel meddwon; arafent, syrthient, a threngent yn yr heol.

Ereill yn gorwedd yn hanner marw, megys rhwng cwsg ac effro; ond ni ddeffröent byth, hyd sain yr udgorn diweddaf. Rhai yn gorwedd yn yr heolydd, ac yn arloesi, fel pe buasent wedi yfed gwenwyn; ereill yn syrthio yn farw yn y farchnad, tra byddent yn prynu ymborth i giniawa eu teulu."

Ar fyrdra parhâd y clefyd, rhydd yr un meddyg dysgedig yr hanesyn canlynol:—"Galwyd am danaf at ferch ieuanc, ar y diwrnod cyntaf o'i salder. Cefais ei hanadliad yn rhwydd, ei chynhesrwydd yn gymhwys, ei hwythen rhedweli yn lled lary, a phob peth yn arwyddo ei bod mewn *iechyd;* yn gymmaint ag i mi dybio ei bod yn ffugio afiechyd, nes i mi sylwi ar ei mynwes, ac yno weled arwyddion *marwolaeth.* Bu farw y nos ganlynol, cyn iddi hi ei hun, na neb o'i hamgylch, ammheu ei bod yn glaf drwy unrhyw arwydd arall. Gwedi hyn, ymwelais â gweddw drigeinmlwydd: yr oedd ar ei chiniaw, ac yn tystio na bu hi erioed mewn iechyd gwell. Pan deimlais wythen ei harddwrn, mi a'i cefais yn anwastad, a gwelwn ar ei dwyfron amlder o'r arwyddion diffael. Cyn y nos hi a ddyfynwyd i'r byd tragywyddol."

Dychweler yn ol at hanes y Dinesydd.

"Prin y gellir coelio erchylldod cyflyrau llaweroedd o'r trigolion. Rhai, ym mrydni y gynddaredd, gan boen eu cornwydydd, yr hyn oedd braidd yn anoddefol, a aent yn wylltion wallgofus, a saethent eu hunain, neu a ymdaflent bendramwnwgl drwy y ffenestri. Mamau a ddienyddient eu plant eu hunain yn eu colliant. Rhai yn marw o dra galar; rhai o fraw a chyffro, heb ddim o'r cornwyd arnynt; ereill yn colli eu synwyrau gan ddychryndod.

"Dealler wrth yr hanes blaenorol, bod llaweroedd yn marw heb i chwarenau, neu gornwydydd, dori allan ar eu cyrff; ond os ymddangosent, byddent yn peri poen anaele. Ac nid anfynych y dygwyddodd, pan fyddai y llawfeddygon yn arteithio y chwarenau celyd â chyllyll, neu yn eu gologi â phoethlyn, i'r trueiniaid ddianc oddi arnynt, a rhedeg yn noethion

i'r heolydd, ac i'r afon os gallent, neu i'r merddwfr cyntaf a welent.

"Mynych y teimlais megys iasau yn treiddio i ddyfnderoedd fy enaid, wrth glywed crochlefau griddfanus y trueiniaid arteithiedig: ond o'r ddau ddrwg gyflwr, cyfrifid hwn yn fwyaf gobeithlawn, ïe, yng ngwyneb anobaith ei hun: canys os dygid y cornwydydd i benfeddalu, a thori, a chrawnu, byddai y claf yn debyg o hybu. Yn y dull arall o'r haint, wedi i'r arwyddion ymddangos, ai y claf yn fynych oddi amgylch, yn lled esmwyth arno, hyd o fewn ychydig i'w farwolaeth; rhai hyd oni syrthient yn ddisyfyd; a rhai a darewid yn ddisymmwth yn yr heol â phoen anaele; prysurent adref os gallent gyrhaedd can belled; yno eisteddent, llesmeirient, a byddent feirw. Gellid cyffelybu y farwolaeth hon i farwolaeth o gnawd-falliad cyffredin: rhai a drengent mewn llesmair, fel pe byddent yn marw mewn breuddwyd. Y rhai a ymadawent fel hyn, ni chaent ddigon o rybudd bod yr haint arnynt, nes y byddai madredd wedi llygru yr holl gorff; ac ni wyddai y meddygon eu hunain bod arnynt ddim niwaid, nes iddynt agoryd eu mynwesau, a gweled yno y nodau marwolaeth.

"Dyn heintus a gurodd wrth ddrws dinesydd cydnabyddus iddo; y gwas wrth ei ollwng i mewn a ddywedodd bod ei feistr yn yr ystafell uwch ben. Ar hyn y claf a redodd i fyny y grisiau, ac a gafodd y teulu ar eu hwyrbryd. Codasant mewn peth braw, gan ofyn yr achos o'i ddyfodiad; canys ychydig o rodiena segur oedd y pryd hyn. Yntau a erchodd iddynt eistedd, a bod yn esmwyth, na ddaethai efe ond i ganu yn iach iddynt. 'Beth,' ebent hwythau, 'Mr. ——, i ba le yr ydych yn myned?' '*Myned*,' ebai efe, gyda golwg o ddychryn, 'y mae yr haint arnaf, ac yr wyf yn *myned* i fro a chysgod angeu cyn yfory-nos.' Haws coelio nag adrodd y cyffro a barodd hyn yn y teulu: y merched a'r plant a ddychrynwyd agos yn feirwon; rhai yn rhedeg, dan ysgrechian, drwy un drws, a rhai trwy ddrws arall; rhai i fyny, ac ereill i waered. Gwr

y ty yn unig a arosodd gyda'r gwallgofus; yr hwn, gan ddeall yr achos o'r cyffro, a ddywedodd yn eithaf tawel, 'Wel! wel! ai fel hyn y mae? Oll yn ddychrynedig o'm hachos i! Wel! mi a ddychwelaf i'm ty, a byddaf farw yno.' Ar hyn, disgynodd y grisiau, y gwas yn dala canwyll o hirbell i'w oleuo, gan ei fod yn ofni myned yn agos ato. Aeth y truan ddyn allan, ac a gauodd y drws ar ei ol. Bu y teulu encyd o amser cyn hybu o'u cyffro; ond ni chawsant ddim afiechyd pellach na hyny, ac achos i gofio y noswaith, yn nod y plant, tra byddent byw.

"Pa beth a allai flino meddwl dyn, mewn llawn feddiant o'i synwyrau, yn fwy na gweled dyn arall yn rhedeg o'i annedd, neu o ddamwain o'i wely, allan i'r heol, bron yn noeth, gan ganu, a dawnsio, a dynwared pob ystumiau; a phump neu chwech o ferched a phlant yn rhedeg ar ei ol, yn udo, ac yn galw arno, er mwyn D— i ddyfod adref? Galwent ar bawb a welent i'w cynnorthwyo i'w ddwyn yn ol; ond oll yn ofer; canys ofnai pawb roddi llaw arno, na myned yn agos ato. Parodd yr olwg hon ofid mawr i'm meddwl, gan fy mod yng ngolwg y cwbl drwy fy ffenestri. Deallais wedi hyny, fod y truan-ddyn mewn poen dirfawr, gan ddwy chwaren fawr ar ei gorff, rhy galedion i gasglu a thori; a'r meddygon newydd ei gyffyrio â phoethlynau, &c., y rhai oeddynt, y pryd y gwelais ef, yn llosgi ei gnawd fel haiarn gwynias. Ni chlywais pa beth a ddaeth o'r adyn truenus; ond yr wyf o'r tyb iddo barhau i grwydro, nes iddo syrthio i lawr yn farw.

"Pan aeth y claddedigaethau yn ddirfawr eu rhifedi, aeth y trigolion byw yn rhy ddigalon i gadw i fyny hen arferion. Nid oedd eirch neu ysgriniau i'r meirw, na chloch ymadawiad, na galaru mewn du, nac wylo fel y gwneyd ar y cyntaf. Yr oedd rhwysg yr haint gymmaint ar gynnydd, fel ag y parodd i'r swyddogion roddi heibio cau i fyny y teiau heintus. Yr oeddynt wedi arfer pob moddion gocheliad yn ofer, a'r haint wedi cynnyddu i rym anorchfygol; gan hyny y bobl

a ddechreuasant eistedd yn llonydd gartref, gan edrych yn syn ar eu gilydd, fel rhai wedi eu diffrwytho gan anobaith. Heolydd cyfain a welid yn annhrigiannol—drysau tai yn agored ddydd a nos—ffenestri yn chwibanoglau i'r gwynt, o ddiffyg dwylaw i'w cau.

"Nid oedd gan y bobl erbyn hyn ddim gofal drostynt eu hunain, gan eu bod yn eu digalondeb yn eu cyfrif eu hunain megys 'defaid wedi eu parotoi erbyn dydd y lladdfa.' Cafodd yr ymollyngiad ysbryd hwn effaith rhyfeddol yn ein plith; h. y., fe wnaeth y bobl yn hyf a beiddgar. Ni ochelent eu gilydd fel cynt, ac ni chauent eu hunain i fyny yn eu hystafelloedd; ond gwibient yma a thraw, i unman ac i bobman, ac ymgomient â'u gilydd. Dywedai un wrth arall, 'Nid wyf fi yn gofyn, pa fodd yr ydych; ac ni ddywedaf chwaith i chwi, pa fodd yr wyf finnau; ein tynged yw, bod yn rhaid i *ni* fyned ar ol ein ceraint a'n cyfeillion; ac felly, nid yw yn werth holi pwy sydd iach, na phwy sydd glaf.' Felly rhedent yn ddiddarbod, i unrhyw le, neu i unrhyw gymdeithas.

"Yr oedd heol gul yng ngolwg ffenestri fy annedd; ac aml waith y gwelais dorf fawr yn dylifo o honi, gan mwyaf o ferched, yn udo, yn wylo, ac yn galw y naill ar y llall; ond nid anhawdd dyfalu yr achos. Agos trwy drymder y nos, yr oedd clud-fen y meirw yn sefyll ym mhen yr heol gul; canys os gyrid i mewn, nis gallai droi yn ol, i ddychwelyd: yno, meddaf, y safai y glud-fen, i dderbyn cyrff y meirw; a chan bod y fynwent yn agos, pan elai ymaith yn llawn, hi a ddychwelai yn ol yn ebrwydd. Ni ddichon iaith ddarlunio yr oernadau a'r cryg-lefau a wneyd gan y boblach druain, pan ddygent gyrff eu plant a'u cyfneseifiaid allan, i'w llwytho ar y fen. Ar brydiau, clywid hwynt yn llefain allan o eigion eu penau, '*Hai wchw, hai wchw!*' waith arall, '*Tân, tân!*' ond hawdd oedd deall, nad oedd y cwbl ond effeithiau gwallgofrwydd ar feddyliau gwedi eu dyrysu gan glefyd a gofid.

"Rhyw ddinesydd, wedi dianc yn iach hyd ganol mis Medi, pan oedd yr haint yn fwyaf marwol yn y

ddinas, a ymfendithiai yn fynych herwydd ei dyngedfen dda; ac a siaradai (i'm tyb i) yn rhy benrydd am ei ofal a'i ddarbodaeth, yn gochel dynion a lleoedd ammhëus. Ebai dinesydd arall rhyw ddiwrnod, 'Na fyddwch rhy ddiogel, Mr. ——, anhawdd dywedyd pwy sydd iach, na phwy sy glaf; canys ni a welwn ddynion yn fyw ac yn iach, i olwg dyn, ar un awr, ac yn gyrff meirw yr awr nesaf.' 'Gwir yw hyny,' ebai y dinesydd cyntaf (canys nid oedd yn ddyn rhyfygus tros ben); 'gwir yw hyny, ac nid wyf yn cyfrif fy hun allan o gyrhaedd perygl; ond hyn a ddywedaf, i mi ymgadw yn bryderus rhag nesäu at undyn a dybiwyf bod y clwyf arno.' 'Ai felly?' meddai ei gymmydog; 'ai ni buoch echnos, tan lun y Llew Coch, yn Heol Porth Lludd, gyda Mr. ——?' 'Do,' ebai y cyntaf, 'mi a fûm; ond nid oedd yno neb y gallwn unwaith dybio ei fod â mymryn o haint arno.' Ar hyn aeth ei gymmydog yn fud, gan ei fod yn anfoddlawn i gyffroi ei gyfaill. Ond y dystawrwydd hwn a'i gwnaeth yn fwy ymofyngar; a chan fod ei gymmydog yn dal yn dawedog, dangosodd gryn ammhwyllder, a gofynodd, yn dra thanbaid, 'Beth? nid yw efe ddim wedi marw, a ydyw efe?' Ei gymmydog a barhaodd yn ddystaw, a chan droi gwyn ei lygaid ar i fyny, ei wefusau a ddangosent ei fod megys yn sibrwd gweddi ddirgel. Ar hyn, y dinesydd cyntaf a gollodd ei liw, gan fyned cyn wyned a'r pared, ac ni ynganodd air yn rhagor, ond dywedyd, 'Yna, yr wyf finnau yn ddyn marw hefyd.' Aeth adref, a danfonodd am y meddyg nesaf ato, i roddi iddo gyffyriau i flaenori yr haint; canys ni theimlasai eto ei fod yn y radd leiaf yn afiach. Agorodd y meddyg ei fynwes ef, a chan gyrchu dwfn ochenaid, efe a ddywedodd, 'Cais feddyginiaeth oddi uchod: edrych i fyny at Dduw.' Bu farw y dinesydd ym mhen ychydig oriau.

"Megys ag y bu yr ymollyngiad ysbryd, a soniwyd am dano o'r blaen, yn achos i ddwyn y bobl i ymgyfarfod mewn cymdeithas, felly y bu yn effeithiol i'w dwyn yn dyrfaoedd i'r eglwysydd. Nid oedd dim ofn

arnynt yn ymyl pwy yr eisteddent, na maint o ddryg-sawr a aroglent; ond gan edrych arnynt eu hunain fel pobl dan nod yr angeu, ymdyrent i'r eglwysydd, fel na bai eu bywyd o werth yn y byd, i'w gymharu â *dir-fawr bris y gorchwyl* oedd ganddynt yr awr hòno mewn llaw. Yn wir, yr oedd y sel a ddangosent yn dyfod yno, a'u gwrandawiad difrifol, a'u hamddaros-tyngiad edifeiriol dan y Gair, yn ei wneyd yn ddigon eglur pa werth neu bris anfeidrol a roddai pob dyn ar addoliad Duw, yn y gynnulleidfa luosog, pe teimlent, ac y credent bob dydd y cyrchent i eglwys, mai y dydd hwnw a fyddai eu dydd *diweddaf* o'u pererindod daiarol.

"Yn uchder a chryfder mwyaf yr haint, y pryd nad oedd dim yng ugolwg y trigolion, ond cwbl ddibobliad y ddinas—*y pryd hwnw* y rhyngodd bodd i'r Gor-uchaf erchi i angel y distryw attal ei law; a hyn trwy foddion llwyr anweledig i ddynion; ond digon amlwg mai yr Ewyllys Hollalluog oedd yn gweithredu, megys yn nechreuad yr haint, felly hefyd yn ei symmudiad. *Iddo Ef y byddo y gogoniant. Amen.*"

Hyd yma yr hanes gan y Dinesydd. Y mae rhai tystion Cymreig o erchylldod yr ymweliad a ddarlun-iwyd mor gyflawn gan y Sais: un gân Ddeheuberthig "i'r Chwaren yn Llundain:" un Wyneddig yn y casgliad a elwir *Blodeugerdd.* Sonir yn hon am ran fawr o'r amgylchiadau a ddargofir gan y Dinesydd. Ond fel y dywed y ddiareb, "chwedl a gynnydda fel caseg eira;" felly ni leihawyd trueni y brif ddinas wrth i'r hanes dramwy i fynyddau Meirion; canys dywedir yn y gân, am Lundain,—

"Nid byw ond *pum* priodas o fewn ei chaerau hi."

Ac eto,—

"Heb neb i gladdu y meirw, ond *trigain* nyn yn fyw."

Mynegir hefyd yn y gân un peth anhygoel arall, sef i foneddigion y wlad uno i anfon eirchiad at y llyw-

odraeth i osod y ddinas ar dân, a'i llosgi i'r llawr, megys yr unig foddion i attal lledaeniad yr haint.

Soniwyd gan y Dinesydd am yr amledd pregethu oedd yn eglwysydd y ddinas pan oedd yr haint ffyrnicaf. Cyfieithiwyd tair o'r pregethau hyn i'r Gymraeg, ac argraffwyd hwynt yn y llyfr a enwid *Trysor i'r Ffyddloniaid*, gan y Parch. Wiliam Dyer. Pregethau cymhwys i'r achos, ar *Dad.* iii. 10; a vi. 7; a *Marc*, xiv. 18.

Gallesid chwanegu yma farnedigaeth arall, sef Llosgiad Llundain, ym mhen y deuddeng mis wedi diffoddiad yr Haint. Gweler *Lef.* xxvi. 27, 28. Hefyd "Haint y Chwys" (*the Sweating Sickness*), a ymwelodd â'n hynys naw o weithiau mewn ysbaid seith-ddeng o flwyddau, sef rhwng 1480 a 1552. Yr oedd y clefyd hwn, tra y daliai, mor ofnadwy o'r marwol yn ei effeithiau a'r cornwyd. Hanesyddion tramor a'i galwent "Haint y Seison:" ni ymddangosodd felly ar y cyfandir. Gallaswn, meddaf, chwanegu ar y penau hyn; ond amser a haera, "Digon yw hyn." Mewn ufudd-dod i'w amnaid, rhoddaf derfyn ar fy llythyr hwn ar heintiau y *corff*, mewn ychydig linellau ar *haint y meddwl*, a ledanodd yn chwithig yn ddiweddar drwy lawer gwlad.

A aeth y byd i gyd o'i go'?
  Mae rhyw ymrwyfo rhyfedd;
Mae llwybrau brad mewn llawer bro,
  Gan wyllt ammhwyllo 'n hyllwedd,
I losgi dasau'r ydau heb raid,
  Gwŷn ddiriaid o gynddaredd!

Ar hyd y byd, rhuadwy bair,
  *Cornwydydd* cair eu nodau;
Nid ar y *cyrff* adwaenir cwl,
  Ond ar ry ddwl *feddyliau;*
A'u hoffaf ddysg, heb addysg byw,
  Yw cablu Duw y duwiau!

Os Gog a Magog ddônt i'n mysg,
  Poed chwai i'w terfysg darfu;
Byrhâ yr amser, dyner Dad,
  A doed teyrnasiad Iesu;
Na bo croes blaid yn enaid neb,
  Na chalon heb ddychwelu.

*Chwefror*, 1831.

## HANES Y CAMELEON, NEU Y LYSARD.[1]

GAN i'r Gohebydd Z. yn y rhifyn cyntaf, roddi "Hanes y Llew"—"y cryfaf ym mhlith anifeiliaid, na thry yn ol er neb," minnau a gyflwynaf i chwi ychydig hanes creadur arall, llai ei nerth a'i rwysg yn y greadigaeth na'r llew, ond er hyny dim llai rhyfeddol. Nid cawrfil, ond bychanigyn a ddarluniaf: nid cryf, ond gwan; nid dewr, ond ofnus.

Mewn amryw ieithoedd, y Gryw, Lladin, Ffrangeg, a Seisneg, gelwir ef, heb brin lythyren o wahaniaeth, *Cameleon:* ond yn ein Bibl Cymraeg (*Lef.* xi. 30.) gelwir ef *Lysard*, gan ei fod o deulu neu rywogaeth y geneugoegion, yn bedwartroediawg ymlusgawl. Y mae yn drigiannydd Asia, Affrica, ac America; ei hyd o ddeg modfedd i droedfedd; ei dafod dros hanner hyd ei gorff, yr hwn a ergydia allan yn gyflym i ddwyn i mewn ei ysglyfaeth; a'i gynffon ddolenog a'i cynnorthwya i ddisgyn yn ddiogelach oddi ar gangenau coedydd. Bydd fyw fisoedd ar yr awyr ac ychydig o wybed mân, y rhai a lynca gydag anhawsder. Dywedir y newid efe ei liw yn ol lliw y sylwedd y byddo yn sefyll arno, oddi eithr coch a gwyn. Ni fedd ond yr amrant isaf, i guddio ei lygaid; ac efe a arfer un llygad i wylied o'i flaen, a'r llall o'i ol, gan newid y golygiad, ol a blaen, o'r naill ochr i'r llall, fel y byddo achos.

Yr hanes mwyaf hynod am ei anian symmudliw a roddir gan Mr. Fforbes, yn ei *Gofnodau Dwyreiniawl*,[2] yr hwn, tra bu yn cyfanneddu yn India, a gadwodd *Gameleon* yn ei ystafell dros amryw wythnosau. Dywed mai ei liw arferol, neu gyffredin, oedd *gwyrdd* ysgafn, yn frithedig â *glas* gwan; ei gyfnewidiadau amlaf oedd i *felyn* goleu, *lliw* y gollen ffreinig, a *gwyrdd*

[1] [Cyfroddedig i'r *Gwyliedydd*, rhif 3. 1822.]
[2] [*Oriental Memoirs.*]

tywyll: ond pan gythruddid ef, neu pan ymddangosai ci iddo, ac fe allai ar y cyfryw achosion, mai ofn oedd y lliwydd, ei gorffyn a chwyddai yn ddisymmwth, a'i groen a ymddangosai yn amryliw hugan o felyn gwan, a chryf—gwyrdd, a du; ac ar yr achosion hyn y dysgleiriai yn ei wisg harddaf. Y lliw a'i cyffroai fwyaf oedd du: godreon fyrddau yr ystafell oeddynt dduon ac efe a geisiai eu gochelyd â'i holl egni; ond os o ddamwain y deuai yn agos atynt, neu os gosodid amben ddu ar ei ffordd, fe a ddihoenai yn ysgerbwd; ac a ai can ddued a muchudd Irfon. Wrth y gofal a gymmerai i ochel y gwrthddrychau hyn, a oeddynt achosion y cyfnewid lliwiau ynddo, mae yn amlwg ei fod yn peri iddo boen. Yr oedd y lliw gwrthwynebol yn effeithio arno megys gwenwyn.

Ar hyn, mae ysgrifenydd yn yr *Adolygiad Trimisol*[1] yn sylwi:—"Mae yr hanes uchod yn dra rhyfeddol, ac yn haeddu ychwaneg o chwiliad iddo. Ni wyddom ni ond ychydig am y moddion y mae lliwiau yn menu ar greaduriaid. Cyffröir bual, neu yr ych gwyllt, â lliw coch; yr hwn, yn ol tyb dyn dall, sydd yn gweithredu arno megys rhoch udgorn. Delir y neidr ddu *(viper)* ym Morganwg, a lleoedd ereill, â darn o frethyn fflamgoch, yr hwn, dybygid, sydd yn ei chythruddio i frathu, fel y gellir ei dala yn ddiberygl, a thynu ei hysgythrau. Arferir blodau melynion y *daffodil* i ddenu pysg *(perch)* i'r rhwyd. Yr hwn a wisgo amben *ddu* ym mis Gorphenaf, a gaiff ddengwaith mwy o wybed arni, nag a ga ei gyfaill a wisgo amben *wen*. Dillad *duon* a dynant ac a gadwant sawyr myglys yn gryfach na gwisgoedd o liwiau goleuach: ac fe allai hefyd y tynant, ac y cyfranant effeithiau clefydon gwenwynig, megys y frech wen, neu y cornwyd, yn fwy glynol. Os gosodir dwy briddfaen, un ddu, a'r llall yn wen, ochr yn ochr yn llygad yr haul Wyl Ieuan, mewn ychydig fynydiau bydd y faen ddu yn llawer mwy twymn na'r wen."

[1] [*Quarterly Review.*]

Yn sangreifftiau yr Aipht, amryw luniau creaduriaid a arferid i arwyddo amrywiaethau anwydau dynol, &c., un yn arwydd doethineb, arall ffolineb, &c. Y *Cameleon* a gyfrifid yn arwydd o *wenieithiwr*, neu ragrithiwr symmudliw—am fod y cyfryw yn cyfaddasu eu hunain at archwaeth, a barn, a dymuniadau y rhai a'u porthent oreu.

"Unlliw yw Gwirionedd."

---

## CORFFOLAETH RHAI O'R CYMRY GYNT.

### COFNODYN.

YR oedd rhai o enedigion Cymru yn rhagori gynt o ran taldra eu corffolaeth.

1. Un *Wiliam Ifan* o swydd Fynwy oedd rhwng saith ac wyth troedfedd o hyd; ac anfonwyd am dano i Lundain i fod yn borthor i'r brenin Siarls yr Ail. Un noswaith, er dywenydd i'r teyrn digrif, erchwyd iddo ddawnsio ger bron ei fawrhydi. Pan ddarfu y ddawns, safodd y Golïath o Lan Wysg, a phwy a dynodd allan o'i lawgell ond Sieffrai bach, cor y brenin, er rhyfeddod i bawb o ddyledogion y llys.

2. *Gwilym Gwent* oedd hynod o ran ei gorffolaeth, a'i eofnder, a'i fedrusrwydd mewn brwydrau. Yr oedd efe megys cludydd arfau i Siasper Tudur, Iarll Penfro, a hanner brawd i'r brenin Harri y 6ed, yn y rhyfel cartrefol, ac hefyd yn Ffrainc.

3. *Nicolas ab Gruffydd ab Rhys*, o Groesoswallt yn y Mers, oedd o gorffolaeth glandeg, ac a ddewiswyd yn wr eon (*life-guardsman*) i'r Brenin Harri 6ed.

4. Yr oedd ym Mhowys, ddwy-oes yn ol, felinydd, yr hwn, o herwydd ei gorffolaeth, a elwid *Abram Fawr*. Yr oedd iddo dri o feibion cyfunhyd â'u gilydd ac yntau. Anfonwyd am y tri ar unwaith i'r osgordd freninol i Lundain.

Y pryd hyn yr oedd yn y gymmydogaeth ddwy hen ferched o enw *Sarah*, un yn ysgrythyrol, a'r llall yn anwybodus. Ebai y gyntaf, pan gyfarfuont ar ddamwain, "Wele druan! *Sarah* wyt ti, a *Sarah* ydwyf finnau, yr ydym ein dwyoedd yn prysuro tua'r hir gartref; bydded i ni, gan hyny, weddïo am le i orwedd ym mynwes *Abraham*." "Ym mynwes pwy *Abram*" (atebai y llall), "ai ym mynwes *Abram Fawr?*"—"Ow! ow!" ocheneidiai yr ysgrythyrol—"Gwir a ysgrifenodd yr hen Dudur Aled—

"Hysbys y dengys y dyn
O ba radd y bo'i wreiddyn."

Ar hyn torwyd y gynnadledd.

# UCHDER MYNYDDOEDD

## YM MHEDWAR BAN BYD, UWCH LAW ARWYNEBEDD Y MOR.[1]

Er dangos i drigolion uniaith Nanhwynain a Nant Ffrancon, a manau ereill o'r fath, nad yw eu Wyddfa a'u Carnedd Llywelyn hwynt ond megys tomenydd, cromlechau, neu dyrau pridd y wadd, o'u cymharu â mynyddau ereill mewn gwledydd pellenig, cyfleais isod restr o'r rhai mwyaf hynod yn Asia, America, Ewrop, ac Affrica. Byddai yn anhawdd gan lawer o honynt goelio—pe byddai yn alluadwy gosod Carnedd Llywelyn ar ben y Wyddfa, ac Aran Fawddwy ar ben y Garnedd, a Chader Idris ar ben yr Aran, a Phumlumon ar ben y Gader, a'r Arenig ar ben Pumlumon, a Moel Famau ar ben yr Arenig—Ban uwch Deni ar ben Moel Famau, a Mynydd Du Trecastell ar ben y cwbl; y byddai ucheliant y naw mynydd a enwyd yng nghyd, yn is o 517 o droedfeddi na chlopa un mynydd a elwir Nundidevi. Er mor rhyfedd y dichon i hyn ymddangos, y mae can wired a bod chwech a chwech arall a phump a phedwar a thri, oll yng nghyd, yn llai o rif na phump ar hugain un swm.

Y mynyddoedd mwyaf dyrchafedig ar wyneb daiar ydynt yn Asia, sef,—

| | Troedfeddi. |
|---|---|
| 1. Nundidevi ... ... ... ... ... | ... 25,689 |
| 2. Sumeru, cyfagos i darddiad y Ganges ... | ... 23,000 |
| 3. Bhadrinâth a Cedarnâth ... ... ... | ... 22,300 |

II.—AMERICA.

| | |
|---|---|
| 4. Chimborazo ... ... ... ... | ... 20,280 |
| 5. Cotopasi ... ... ... ... ... | ... 18,600 |

III.—EWROP.

| | |
|---|---|
| 6. Mont Blanc (Mynydd Mynnau), yn ol Syr *G. Sh.*[2] ... ... ... ... ... | ... 15,662 |
| ————, yn ol *De Luc* ... ... | ... 15,303 |
| ————, yn ol *Volney*... ... ... | ... 14,400 |

[1] [Cyfroddedig i'r *Gwyliedydd* am 1833.]
[2] [Syr Geo. Shuckburgh.]

| | | Troedfeddi. |
|---|---|---|
| 7. | Mynydd Ætna, yn ol *Brydone* ... ... ... | 12,000 |
| | ————, yn ol *Saussure* ... ... ... | 10,036 |
| 8. | Mynydd Ossian (Barwynau) ... ... ... | 11,400 |

PRYDAIN FAWR (*Yr Alban*).

| | | |
|---|---|---|
| 9. | Ben Macdhui, swydd Aberdeen ... ... ... | 4,390 |
| 10. | Ben Nevis, swydd y Berth, neu Aberness ... | 4,350 |
| 11. | Benlomon, Ystrad Clwyd... ... ... ... | 3,240 |

LLOEGR (*Cumberland*).

| | | |
|---|---|---|
| 12. | Cross Fell ... ... ... ... ... ... | 3,400 |
| 13. | Helvelyn ... ... ... ... ... ... | 3,324 |
| 14. | Skiddaw ... ... ... ... ... ... | 3,270 |
| 15. | Saddleback... ... ... ... ... ... | 3,048 |

CYMRU (*Gwynedd*).

| | | |
|---|---|---|
| 16. | Yr Wyddfa... ... ... ... ... ... | 3,571 |
| 17. | Carnedd Llywelyn ... ... ... ... | 3,469 |
| 18. | Carnedd Dafydd ... ... ... ... ... | 3,427 |
| 19. | Moel Eilio ... ... ... ... ... ... | 2,377 |
| 20. | Pumlumon ... ... ... ... ... ... | 2,463 |
| 21. | Moel Famau ... ... ... ... ... ... | 1,845 |
| 22. | Cader Idris... ... ... ... ... ... | 2,914 |
| 23. | Aran Fawddwy ... ... ... ... ... | 2,955 |
| 24. | Arenig ... ... ... ... ... ... | 2,809 |
| 25. | Ban Uwch Deni (Brycheiniog) ... ... ... | 2,550 |
| 26. | Mynydd Du Trecastell (sir Gaer) neu y Fan, plwyf Llanddeusant ... ... ... | 2,596 |

IV.—AFFRICA.

| | | |
|---|---|---|
| 27. | Pig Teneriff ... ... ... ... ... | 13,197 |
| 28. | Moel Atlas ... ... ... ... ... ... | |

V.—ASIA eto.

| | | |
|---|---|---|
| 28. | Pig Adda, yn Ynys Ceylon ... ... ... | 8,000 |

Y TIR SANCTAIDD.

| | | |
|---|---|---|
| 30. | Mynydd Libanus, yn ol *Volney* ... ... ... | 9,000 |
| 31. | Mynydd Tabor, yn ol yr un ... ... ... | 3,000 |
| 32. | Mynydd Carmel, yn ol yr un ... ... ... | 1,998 |

## NODAU AR Y RHIFAU BLAENOROL.

*Rhifau* 1, 2, 3. Y clogwynau hyn ydynt y rhai uchaf yn y byd: rhanau ydynt o'r casgliad o fynyddau dirfawr a ddechreuant megys terfyn rhwng Cilicia ac Asia Leiaf, dan yr enw *Taurus*, ac yn eu gyriad tua'r dwyrain-ogledd a ânt dan enwau amrywiol, megys *Caucasus*, *Niphates*, *Paropamisus*, &c.; ac ar y terfyn rhwng India a China, gelwid hwynt *Imäus*, o ba air,

tybygir, y lluniwyd yr enw presennol, sef *Himalaya*. Y mae y pedwar clogwyn uchod o fewn terfynau meddiannedig y llywodraeth Prydeinaidd yn India. Y Cadben Gerard a roddodd hanes i'r diweddar Esgob Heber, iddo ef a'i gyfeillion esgyn y mynyddau hyn, hyd uchder pedair mil ar bymtheg a chwe' chant o droedfeddau; na chawsent ddim gwyrddlesni coed na llysiau yn uwch na 13,000 o droedfeddau, sef o gylch hanner uchder y mynydd; ac nad oedd dim wedi hyny i'w weled, ond, yn gyntaf, creigiau noethion, ac wedi hyny yn bell o'u cyrhaedd, ia ac eira tragywyddol. Y ddwy filltir ddiweddaf a esgynasant oedd mor serth a gradd 42° y *quadrant*, neu gan agosed ag y gellir dychymmygu i serthiant un ochr y brif lythyren A: rhaid felly dybio bod eu llwybr yn glogyrnog, yn caniatäu i'r dringedyddion afael ewin llaw a throed.

Dywedai trigolion mynyddig y wlad, bod un o glogwyni isaf Nundidevi yn bwrw allan dân a mwg: os gwir yw hyn, y mae yn dyrysu coel rhai o'r doethion, o herwydd pellder y foel oddi wrth un môr, gan eu bod yn dal bod dwfr y môr trwy bibellau yn iselder y ddaiar yn un o'r achosion penaf o ennyniad y tân gorlifol.

*Rhifau* 4, 5. Y rhai hyn a dybid hyd yn ddiweddar yn fynyddau uchaf yn y byd. Rhan ydynt o restr dirfawr o fynyddau a gyrhaeddant o'r naill ben i'r llall i'r gwledydd meithion Chili a Periw, sef tros 4,600 o filltiroedd o fewn America Ddeheuol; ac wedi hyny a ganlynant eu gyriad tua môr y gogledd. Y mae eira parhäus yn gorchuddio milltiroedd o benau uchaf y moelydd. Un Humboldt, o wlad yr Ellmyn, a fu fwyaf llwyddiannus yn ei esgyniad i'r mynyddau hyn; a'r uchder eithaf a gyrhaeddodd oedd 19,200 o droedfeddau, sef cyfuwch a chwech o'r mynyddau uchaf yng Nghymru y naill ar ben y llall. Y mae nifer o foelydd tanllyd ym mhlith y rhai hyn, y rhai ar amserau a gynhyrfir gan yr agerdd tufewnol i fwrw allan afonydd eirias, y rhai yn eu disgyniad a doddant gymmaint o eira ag a bair lifeiriant dinystriol yn yr afonydd mawrion, sef yr *Oronoco*, *Amasons*, *La Plata*, *&c.*

*Rhif* 6. Gellir Cymreigio enw hwn i *Barwyn;* a gwyn, haf a gauaf, yw amwisg ei ben, er dyddiau Nöe, os nid er oes Adda.

*Rhif* 7. Mynydd Ætna yw y mwyaf hynod ym mhlith y moelydd tanllyd; yn gyntaf, o ran hynafiaeth ei hanes. (*Pindar* y Groeg-fardd, 435 o flwyddau cyn geni Crist, a'i darlunia megys trigfa dragywyddol yr eira, ac megys un o golofnau y nefoedd.) Yn ail, o ran ei faint a'i uchder. Ofergoel y Paganiaid a haerai mai i ben Ætna y diangodd Deucalion, a'i wraig Pyrrha, o gyrhaedd y diluw mawr. Syr George Shuckburgh a ddywed bod crwn-fesur y terfyngylch a welir oddi ar ei ben yn 1093 o filltiroedd, ac amgylchedd ei odre isaf yn 40 milltir. Ar hyd ochrau y mynydd y mae 77 o ddinasoedd, trefydd, a threflanau; ac os cyfrifir 1200 o drigolion i bob un, nid yw rhif y trigolion ar wyneb ogylch y mynydd ddim llai na 92,400. O ddinas Catania, ar ei odre deheuol, i'w ben uchaf y mae taith o ddeng milltir ar hugain, drwy dri o hinsoddau a ellir eu galw —1. Y cylch *gwresog;* 2. Y cylch *tymmerus;* ac yn uchaf cylch yr *oerfel.* Y cylch isaf sydd yn ffrwythlawn o ydau, gwinwydd, a ffrwythau per a blasus ereill; ei esgyniad a bery dros o ddeuddeg i ddeunaw milltir, a'i amgylchedd a dybir yn 183 milltir. Yr ail a elwir y cylch coediog, llawn o dderw, ffawydd, ffynidwydd. Yma yr adfywiogir y teithwyr newydd dreiddio drwy y cylch gwresog, gan aroglau per yr awel, yn deilliaw oddi ar y llysiau blodeuog sydd yn tryfritho wyneb y ddaiar. "Yma," meddai Brydone, "y mae paradwys, er bod ef allai uffern o dân a brwmstan o fewn ychydig o latheidiau i'n traed ni." Esgyniad yr ail gylch a bery o wyth i ddeg milltir; a'i amgylchedd sydd o 70 i 80 milltir. Y cylch uchaf sydd o barth wyth milltir o esgyniad hyd ben y cawg, ond yn ol ereill, deuddeng milltir. Peryglus a llafurus yw y daith drwy y cylch hwn, tros glogwyni noethion a geirwon, trwy gornentydd o eira toddedig yn llifeirio ar i waered, a thros gludeiriau o ia—trwy gorwyntoedd yn lluchio ac yn chwalu tywod, lludw, mwg, ac eira: ond wedi

treiddio trwy y llafuron hyn oll, ymlawenycha y dringedydd, wedi cyrhaedd pen ei daith, ei fod wedi ennill y fan lle bu yr Ymherawdwr Adrian, a'r philosophydd Plato o'i flaen ef, o gylch dwy fil o flwyddau yn ol. Toriadau allan y mynydd rhyfeddol hwn, yn dân a ffrydiau gorlifol o sylweddau toddedig, a'r hanes o honynt ar gof a chadw, cyn ac wedi yr oes Gristionogol, ydynt un ar ddeg ar hugain; ac o'r nifer hwn, wyth a gyfrifir cyn geni Crist. Nis gellir son yma ond am ychydig o honynt. Yn y flwyddyn 1169, nerth yr agerdd tufewnol a barodd ddaiargryn ofnadwy, nes y maluriwyd dinas Catania i'r llawr, ac y lladdwyd pymtheg mil o drigolion. Ar yr achos hwn sychwyd hen afonydd, a tharddodd rhai newyddion yn eu lle. Dygwyddodd nifer o arllwysiadau tanllyd rhwng hyn a'r fl. 1536, pan dorodd allan yn aruthrol ofnadwy; ac ni ostegodd ar brydiau gwedi hyny tros flwyddyn gyfa. Gan y dirfawr wres a barodd yr arllwysiad yn 1763, ni safodd eira ar ei hen orsaf tros bum mlynedd. Mor ddychrynadwy oedd effeithiau amryw o'r arllwysiadau, fel nas dichon iaith nac ymadrodd ddarlunio eu herchylldod: afonydd o elfenau tawdd yn dylifo i waered i droed y mynydd, gan gladdu dinasoedd, tai, trigolion, ac anifeiliaid, heb gael un attaliad nes eu fferu yng nghanol y môr; a'r awyr drwy yr amser mor farwol wenwynig, fel y lladdai fugeiliaid yng nghyd â'u deadellau yn y meusydd. Y rhyferthwy diweddaf o'm blaen yn bresennol a ddygwyddodd yn Hydref, 1787, pryd y chwydodd y mynydd afon danllyd o feini a sylweddau toddedig yn dair milltir ei hyd, chwarter milltir ei lled, ac o chwech i ddeunaw troedfedd o ddyfnder. Pwy na ddolefa, "Mawr a rhyfedd yw dy weithredoedd, O Arglwydd Dduw Hollalluog; cyfiawn a chywir yw dy ffyrdd di, Brenin y saint!"

Rhag bod yn annymunol o'r maith, terfynaf yma gyda mynydd Ætna; ac os ceir hamdden, ryw bryd arall, eir ym mlaen â nodau ar rai o'r mynyddoedd dilynol; os byw fydd eich ewyllysiwr da a—

*Medi* 23 [1832]. DIENW.

# HIRHOEDLIAD.

"Tri oedran hoew-lan helynt,
Trioedd a fu gyhoedd gynt;
Tri oed *pawl gwern* a fernir
Ar *gi* da mewn erw-goed ir;
A thri-oed *ci* (iaith hoew-ryw)
Ar *farch* da ei barch er byw;
Tri oed *march* dihafarch-droed
Ar *wr*, ond bychan yw'r oed;
Tri oed *gwr*, herwr hoew-rym,
Ar yr *hydd*, llamidydd llym;
Tri oed *carw* hwyr-farw, hirfain,
Ar *fwyalch* goed, eurfalch gain;
Tri oed y *fwyalch* falchdeg
Ar *dderwen* mewn daiaren deg;
Teiroes derwen a enwir
O warant hen ar rwn tir."
* * * IOLO GOCH.

Ar waith Iolo ac ereill yn dyfalu fel uchod, Huw Cae Llwyd, o gylch y fl. 1480, a ganai fel hyn:—

"Gan rai wrth ganu yr oedd
Ymryson am yr oesoedd;
Un a'i heirch, megys Noe hen,
I oed *eryr* a *derwen;*
I'r *llew* y tebygai'r lleill,
I *geirw* tebygai ereill.
Ni thebygwn hwn i *hydd*,
Nac i *adar*, neu *goedydd;*
Difai genyf ei dyfiad—
Dwyn oed hir—yw dawn y Tad."
H. CAE LLWYD.

"O dyrwyna Duw'r einioes,
Awr ond *un* i wr nid oes."
TUDUR ALED.

Lloerigion gynt a freuddwydient mai blwyddau lleuadol, o gylch naw diwrnod ar hugain a hanner, oedd y blwyddau cynddiluwiol; ond y tyb disail hwn a ddygai i lawr oes Methuselah i bedwar ugain o'n blwyddau ni, ac a leihäi yr ysbaid y rhodiodd Enoch gyda Duw ar y ddaiar i ddeng mlwydd ar hugain; ac oed Enoch, pan anwyd ei fab Methuselah, i lai na thair blwydd ar ddeg! Yn lle dyfetha mwy o amser

i frwydro â'r cysgod hwn, ystyriwn drefn Rhagluniaeth yn estyn oesau y patriarchiaid cyn y diluw er amryw ddybenion buddiol; sef, er ebrwyddach gyflawnu y gorchymmyn cyntaf a roddwyd—"Amlhëwch, a llenwch y ddaiar, a darostyngwch hi"; er cynnorthwyo yr epiloedd dyfodol yn y celfyddydau a'r gwybodau angenrheidiol i gynnaliaeth a chysuron bywyd; ac, yn benaf, er cadarnhau eu crediniaeth crefyddol, a lledaenu eu gwybodaeth am y crëedigaeth, eu colled o Eden, a'r addewid o'r fendith, y byddai i "Had y wraig yssigaw pen y sarff." I gyflawnu yr arfaethau uchod, dealler i Methuselah gydoesi ag Adda 243 o flwyddau, ac i Sem, ail mab Noah, gydoesi â Methuselah 101 o flynyddoedd. Yr oedd yr hiroesau hyn yn achlysurol, dybygid, i gynnal gwybodaeth o'r unig wir Dduw yn y byd, ac i beri ufudd-dod i'w ddeddfau Ef; ond cymmaint oedd effaith llygredigaeth y cwymp wedi menu ar ddynolion yn y chwe' chanfed flwydd i Noah, fel ag y llygrasai pob cnawd ei ffordd ar y ddaiar; yn gymmaint felly ag i Dduw yr amynedd benderfynu—"Dileaf ddyn, yr hwn a greais, oddi ar y ddaiar." Oes dyn a fyrhawyd yn raddol gwedi y diluw. Yr ysbaid rhwng y crëedigaeth a'r dylif oedd 1655 o flwyddau, yr hyn, os rhenir â *naw* cenedlaeth, a rydd *naw ugain a phedair* blwydd i bob cenedlaeth; ond nid oedd ysbaid y *naw* cenedlaeth cyntaf wedi y diluw, sef o'r boddiad hyd enedigaeth Abram, ond 352 o flwyddau, sef llai na *deugain* o flwyddau i bob cenedlaeth. Nid yw hyn yn rhagori llawer ar hyd cenedlaethau yr oes bresennol; canys cyfrifir yn awr ddeng mlwydd ar hugain i bob cenedlaeth, y naill gyda y llall.

Yr oesau a gwtogwyd yn raddol wedi hyn, oddi eithr yn oed y patriarchiaid o Abraham i Moses, i ba rai y rhyngodd bodd y Goruchaf ganiatäu estyniad einioes, i gyflawnu dybenion ei Ragluniaeth, i fod yn offerynau yn ei law i gyfodi gwir grefydd allan o bydewau gau-dduwiaeth oeddynt yn dechreu gorlenwi y byd o newydd.

Yn y Salm xc. a gyfenwir "Gweddi Moses, gwr

Duw" (gan y tybir iddo ef ei chyfansoddi ar y ddedfryd o ddeugain mlynedd grwydrad a chwtogiad einioes plant Israel yn yr anialwch, o herwydd eu gwrthodiad myned i feddiannu Gwlad yr Addewid), y darllenir, yr hyn a goffëir i ni ym mhob claddedigaeth:—"Yn nyddiau ein blynyddoedd y mae deng mlynedd a thri ugain: ac os o gryfder y cyrhaeddir pedwar ugain mlynedd, eto eu nerth sydd boen a blinder; canys ebrwydd y derfydd, ac ni a ehedwn ymaith." Y mae y ddedfryd hon ar blant Israel wrthryfelgar yn yr anialwch wedi parhau o oes i oes dros dair mil o flwyddau hyd heddyw. Ambell un o "gryfder" yn cyrhaedd oed addfedach nag a ddedfrydwyd; ond mil, a mwy, am un, yn syrthio i'r bedd yn gynnarach.

Fel y canfyddwyd weithiau ambell fab Anac yn rhagori ar ei gyfeillion droedfedd neu ddwy mewn uchder corffolaeth, felly hefyd, mewn oesau diweddar, ceir amrai ddynion wedi *dyblu* oed y ddedfryd gyffredinol. Gosodir yma restr o nifer o'r cyfryw, heb fyned can belled yn ol a Democritus chwerthiniog, yr hwn a gyrhaeddodd *gant a naw*, na Phadrig Wyddel, yr hwn wedi iddo babyddio yr Iwerddon, a hunodd yn chwech ugain a dwy flwydd oed; ond dechreuir yn nheyrnasiad Harri yr Wythfed, a chedwir o fewn terfynau y Fel-Ynys.

| OED CRIST. | | OEDRAN. |
|---|---|---|
| 1531. | Mathew Voss, yn ol argraffiad ar glochdy Llan Illtud Fawr, ym Mro Morganwg ... | 129 |
| 1542. | Thomas Newman, o Brislington, ger llaw Caer Odor ... ... ... ... | 152 |
| 1568. | Roger Brook, o Haliffacs, Caer Efrog ... | 133 |
| 1587. | Wiliam ab Hywel, o Dregaian, Mon. Dywedir ei fod yn dad dau a deugain o blant—yr hynaf yn 89, a'r ieuaf yn 8 oed, ar gladdedigaeth eu tad ... ... ... ... | 105 |

Tomas ab Ieuan ab Rhys, bardd o Forganwg, a fuasai fonach ym Margam. Cân o'i eiddo a

ddywed ei fod yn 130 oed yn y fl. 1604; a chan ei fod yn fyw yn y fl. 1615, rhaid ei fod o leiaf, pan fu farw, yn ... ... ... 141

1621. Iwan Yorath, a gladdwyd yn Llanmaes, Morganwg, ddydd Sadwrn, Gorph. 17, 1621. Buasai ym mrwydr Bosworth yn 1485; a'i gyfrif y pryd hyny yn 20 oed, yr oedd yn ... 156

**(Ceir yr hanes yng nghofrestr plwyf Llanmaes.[1])**

1635. Tomas Parr,[2] o Lanfihangel yng Nghantyn, ar gyffin Amwythig ... ... ... 152

**Er bod yn y Rhestr hon bedwar neu bump yn hŷn mewn oedran nag ef, er hyny, yr hynodrwydd o'i gyrchiad i lys y brenin, a barodd i'w goffadwriaeth ragori ar bawb ereill. Felly yr aeth yr "hen Barr" yn fwy diarebawl na neb. Pan ddaeth y genad i'w gyrchu i Lundain i'w dy ef ger llaw Cefn y Cestyll, efe a ganfu hen ysgerbwd yn pesychu ar yr aelwyd, a gofynodd iddo, "Ai chwi yw Tomas Parr?" "O, nag e; John Parr wyf fi; y mae fy nhad yn tori cynnud yn y gludair yna ger llaw." Ymaith â'r tad yn ei gerbyd; ond y cyfnewidiad sydyn yn ei awyr a'i fywioliaeth a barodd i'w olwyn dori wrth y pydew ym mhen ychydig wythnosau wedi iddo gyrhaedd y brif ddinas. Tybir, pe gadawsid ef yn llonydd yn ei fangre gartrefol, y gallasai fwynhau estyniad einioes ddeg neu ugain o flwyddau yn rhagor: ond tewi ar hyn a weddai oreu. Gwelais goffâd ei ail briodas ef yng nghofrestr Cegidfa, ac mi a adwaen ei annedd o ba un y cyrchwyd ef i ymweled â'r Brenin Charles I. Dywedir iddo ef ddwyn ei benyd yn gyhoeddus, mewn cynfas wen, pan oedd yn gant ac ugain oed!**

1648. Thomas Damm, o swydd Gaerlleon ... 154

1668. Wiliam Edward, Caerau, Morganwg ... 168

1668. Elisabeth Yorath, gwraig Tomas Wilson, offeiriad plwyf Llanmaes, a gladdwyd Chwefror 13 ... ... ... ... 177

1670. Henry Jenkin, pysgodwr yng Ngogledd Lloegr ... ... ... ... 169

1686. Gainor Fychan, ger llaw Dinas Mawddwy 140

1711. Jane Scrimshaw. Bu farw yn Elusendy Rosemary Lane, Tower Hill, Llundain, Rhagfyr 6... ... ... ... ... 127

[1] [Gweler y dyfyniad o'r Coflyfr, *Cyf.* i. 95.]
[2] [Dywedir i fab yr "hen Barr" gyrhaedd 113, ei ŵyr 109, a'i orwyr 124.—*Golygydd y Gwyliedydd.*]

| OED CRIST. | | OEDRAN. |
|---|---|---|
| 1714. | Wiliam Wakeley, o Shiffnal, swydd y Mwythig ... ... ... ... | 124 |
| 1719. | George Stanley, o Homington, Wilts ... | 151 |
| 1737. | Margaret Patten, Paisley, Scotland ... | 136 |
| 1749. | Mrs. Bowles, o Westhanney, Berks. Bu farw Ebrill 4 ... ... ... ... | 124 |
| 1757. | Robert Parr, o Gynfer, swydd y Mwythig | 124 |
| 1760. | Ann Richman, o Ben Marc, Morganwg | 120 |

Yr oedd hi yn cofio brwydr St. Ffagan, yr 8fed o Fai, 1648, pan oedd hi o gylch *wyth* oed.

| | | |
|---|---|---|
| 1770. | Wiliam Ffairbrother, o Wigan, Lancashire ... ... ... ... | 138 |
| 1772. | Mrs. Clum, ger llaw Litshffild. Buasai yn byw yn yr un ty 103 o flwyddau; a bu farw Ionawr 23 ... ... ... ... | 138 |
| 1773. | —— Macffinley, Yswain, o Tipperary, Iwerddon. Bu farw ym Mehefin ... ... | 143 |
| 1774. | Mr. Tice, o Hagley, Caerwrangon. Bu farw Chwefror 6 ... ... ... | 125 |
| 1775. | Peter Garden, o Auchterness, Scotland. Bu farw yn Ionawr ... ... ... | 131 |
| 1776. | Mary Yates, o Shiffnal, y Mwythig ... | 128 |
| 1776. | Mr. Movat, llawfeddyg o Dumffris, Scotland. Chwefror 21 ... ... ... | 136 |
| 1776. | Mr. John Mount, o Langholm, Dumffris. Mawrth ... ... ... ... | 136 |
| 1778. | John Brookey, Rhos Hesgog, Dyfnaint ... | 135 |
| 1780. | Wiliam Elis. Bu farw yn Llerpwl ... | 130 |
| 1782. | John Robert, gof du, o Lantrythyd, Morganwg ... ... ... ... | 111 |

(Yr oedd yn ei gynnefin iechyd o fewn ychydig ddyddiau i'w farwolaeth. Wrth chwilio yn fanylach i gofrestrau, cafwyd bod ei oed ef yn 120.—*Iolo Morganwg.*)

Y mae yn anhawdd credu rhai cofnodau o oedran amrai hirhoedlog, megys un yn y *Cambrian Register* (ii. 209), lle y mae G. O.,[1] Arlwydd Cemmaes, ym

[1] [George Owen, Arlwydd Cemmaes, yn swydd Benfro.]

mhlith hynod oreuon Dyfed, yn son am *Wiliam Owen*, Yswain, yr hwn a fuasai yn bresennol yng nghoroniad tri ar ddeg o deyrnon Prydain, ac yn byw dan y pedwerydd ar ddeg. Ni buasai glaf onid unwaith yn ei oes; a phan y bu farw, 29 o Fawrth, 1574, nid oedd iddo ddant ar goll. Os rhifir teyrnon Lloegr yn ol o'r Frenines Elisabeth hyd Harri V, byddai W. O. yr un oed â'r hen Domas Parr, sef 152: ond wrth gyfrif fel hyn, a chyfrif hefyd Edward V, er na choronwyd y bachgen erioed, yr ydym yn fyr o bedair teyrnasiad; ac os cyfrifir Phylip o Yspaen, heb law ei briod Mair, a myned yn ol i amser Edward o Gaer yn Arfon, gwnai hyny yr yswain hirhoedlog o Ddyfed yn 247 oed!

*Arall.*—Ar fur Eglwys y Faenor, ger llaw Merthyr Tudful, y mae cofargraff am ferch a fu byw mewn saith teyrnasiad, ac a fu farw yn *gant ac wyth* oed.

*Arall.*—Yn Dalkeith, yn Scotland, dywedir bod gynt gofnod am un Ann Scot, yr hon a gladdwyd yno yn 125 oed; a chyflëir yma fyr gyfieithiad o'r llinellau a addurnent ei beddrod:—

"Pum waith pum mlwydd yn wyryf lwys,
Deng waith pum mlwydd yn briod ddwys,
Deng waith pum mlwydd yn weddw brudd,
Yn awr wyf dan dywarchen gudd;
A gwelais ar fy ngwlad fy hun,
Breninoedd *wyth*—brenines *un*."

Soniwyd yn y *Gwyliedydd*, ychydig rifau yn ol, am *Lewys Ifan*, o'r Llechwedd Du, ym mhlwyf Llanowddyn. Gallasid chwanegu at ei hanes, ei fod, ychydig amser cyn ei farw, yn 113 oed, yn gwelleifio sythflew ei ddefaid cyn eu cneifio. Felly yr oedd *Ifan Prys*, oriedydd o dref Llanfyllin, yn dilyn ei gelfyddyd o fewn blwyddyn neu ddwy i'w farwolaeth, yn gant a thair neu bedair o flwyddau oed. Dichon i ddarllenwyr y *Gwyliedydd* yn y dref hòno roddi hanes cyflawnach a chywirach am dano, ac am Mr. *Peter Llwyd*, a fu farw yn yr un dref o gylch hanner canmlwydd yn ol, yn gant a naw oed. Un o Lwydiaid Pentrehobyn, ger llaw y Wyddgrug, oedd efe, a buasai

yn oruchwyliwr dan yr hen Syr Watcin; ond efe a ddiswyddwyd am afradloni da ei arlwydd. Chwedl a ddywedai i Syr W. ryw ddydd yn Awst golli ar ei gyfeillion wrth adara grugieir Berwyn, a myned yn lluddedig at dy gwladaidd i erchi ymborth, yr hyn a gafodd yn rhwydd, a diod o laeth oddi wrth ei fam; a dywedai y wreigdda yn lled gwynfanus, "Mi a welais y dydd, syr, y gallaswn eich disychedu â diod frag." "Beth yw yr achos," ebai yntau, "nas gellwch felly yn awr?" "O, y mae fy meistr tir wedi codi fy rhent." "Pwy yw eich meistr tir?" "Syr Watcin." "Ai e? o'r goreu, yr wyf fi yn gydnabyddus â'r gwr boneddig hwnw: deuwch i Langedwyn ddydd Llun nesaf, a mi a siaradaf ag ef drosoch chwi." Hi a ostyngodd yn llaes, gan ddiolch iddo. Dydd Llun a ddaeth, a gyrwyd am Mr. Peter Llwyd i wynebu y wraig o Gwm ——. Daeth y twyll i'r goleu; adferwyd yr ardreth i'r hen gyfrif; a rhoddwyd talent y goruchwyliaeth i arall. Tyddynwr arall, yn ddolurus dan yr un wasg, a ddywedai,—

"Ni chawn dy, gwely, nac aelwyd,
Petai ar llaw Peter Llwyd!"

Anghofiwyd hyn oll, a bu Mr. Ll. fyw flynyddoedd hirion wedi, yn nhref Llanfyllin, mewn parch a chymmeriad hyd ei farwolaeth.

I ddiweddu y traethawd hwn ar hirhoedliad, gellir sylwi, er bod megys un o ddeng mil, wedi cyrhaedd oedran maith, yn disgyn yn esmwyth i'r bedd—ei synwyrau yn ddiball, a'i ddannedd (ef allai) dan eu rhif o ddeuddeg ar hugain; eto, yn gyffredin, dyddiau blinion yw dyddiau henaint, yn y rhai bydd achosion lawer i'w meddiannydd ddolefain, "Nid oes i mi ddim dyddanwch ynddynt." Eu gwerthfawrogrwydd, ac ef allai eu hunig werthfawrogrwydd, a gynnwysir yn yr achlysuron a roddant i'r sawl na "chofiasant eu Creawdwr yn nyddiau eu hieuenctyd," i adbrynu yr amser, trwy ffydd ac edifeirwch. Mai dyddiau blinion yw dyddiau henaint, yn gyffredin, gosodir yma, megys

cload, deimladau a chyfaddefiad Ieuan Brydydd Hir (yr hynaf o'r enw), yr hwn oedd yn ei flodau o gylch y fl. 1450.

"Cwyno yr ydwyf rhag henaint,
Cwyn hir gan ddryghin a haint;
Cwyno annwyd, cyn ennyd,
Collais oll y gwres a'r gwrid:
Gwyden annwydog ydwyf
Gwedi nerth—gwywa' dyn wyf!
Tra fûm i mewn tyrfau mawr,
Was ynfyd, ieuanc, sonfawr,
Ebrwydd, ehudrwydd hoew-drum,
A chryf iawn yn chwareu fûm;
Dieiddil a da oeddwn,
A chryf, a gorwyllt, a chrwn;
A hefyd esgud ysgawn,
I ben yr allt buan yr awn:
Trin y bel, a phob helynt,
A rhedeg fel gwaneg gwynt.
Heddyw, os i'r rhiw yr af,
O arfeddyd—hwyr fyddaf!
Lle bo'r gamfa feraf fach,
Llymsi fyddaf yn llamsach.
Ni chredir (nychu'r ydwyf)
Y rhodia'i mwy—rhy drwm wyf.
Un llun yw hun a henaint,
Yn hud gan ofal a haint:
Esgeiriau yn ysgyrion
Y sydd i'm ffydd yn ddwy ffon:
Ysgwyddau anosgeddig,
A chorff heb na lliw na chig:
Gleiniau fy nghefn a drefnwyd
Yn geryg craig, neu gorc rhwyd.
Rhyfedd yw'r ais, a'u rhifo,
Fel cronglwyd lle tynwyd to;
A'r breichiau fel ffustiau ffyn,
A gwaew sy ym mhob gewyn:
Anaf lesg yn goresgyn,
Y blew, y gwallt, yn blu gwyn,
A'r dannedd, O salwedd son,
Aflunaidd yn felynion;
A'r golwg, ddïwg ddeall,
Truan o ddyn! yn troi'n ddall.
Crynedig i'm croen ydwyf—
Cryniad deilen aethnen wyf!
Gwr oerach nag Eryri,
A Berwyn oer, i'm barn i;
Ni thyn na chlydwr na thân,
Na dillad, f' annwyd allan.
Troi a sefyll tra safwyf,
Tan grafangau'r angau'r wyf!
Rhoed Duw im' bwyll, rhaid im' bellach
Ryngu bodd yr angeu bach."

# GWIW-GOFIANT

AM Y PARCHEDIG JOHN JENKINS, A.C., DIWEDDAR BERIGLAWR CERI, YN SWYDD TREFALDWYN, YR HWN A FU FARW TACHWEDD 20, 1829, YN 59 OED.

"Cydymaith a gâr bob amser."
SELYF DDOETH.

TESTYN y Cofiant hwn a anwyd yr 8fed o Ebrill, 1770, ac a oedd ail fab o chwech i Mr. Gruffydd Jenkins o Gilbronau, plwyf Llan Goedmor, ger llaw tref Aber Teifi. Y mab hynaf a fu farw yn faban, ac ar hyny yr ail a gyfrifwyd yn deisban teulu i etifeddu treftadaeth ei hynafiaid. Cafodd ei egwyddori yn yr ieithoedd mewn ysgol gymmydogol, ac wedi iddo gyrhaedd oedran cymhwys, anfonodd ei fam weddw ef i brif ysgol Caerfyrddin. Yn y fl. 1789 derbyniwyd ef yn aelod o Goleg Iesu yn Rhydychain, a chyn pen hir symmudodd i Goleg Merton. Ym mhen yr ysbaid arferol, graddwyd ef yn Wyryf yn y Celfyddydau (A.B.). Yn yr un flwyddyn (1791), tan nodded ei ewythr, Dr. Lewis, periglawr Whippingham, yn Ynys Wyth *(Isle of Wight)*, urddwyd ef yn Ddiacon ac yn Offeiriad drwy hawl i guradaeth y plwyf hwnw. Bu yno yn gweinyddu gyda difrifoldeb a dwys deimlad o fawrbwys ei swydd dros chwe' blynedd. Yn y fl. 1799 newidiodd ei sefyllfa ar y tir i weinyddu ar y môr, yn gapelydd ar y llong ryfel *Agincourt*, gorsaf yr hon oedd yn y llynges warchadawl ar gyffiniau yr India Orllewinol. Y prif lyngesydd oedd yr Anrhydeddus Wiliam Waldegrave, ail fab i John, ail Iarll Waldegrave, a chefnder i fam y ddiweddar Henrietta, Iarlles Powys. Yng nghorff yr un flwyddyn dyrchafwyd y llyngesydd yn Arglwydd Radstock, er gwobrwyo ei wroldeb a'i ymddygiad mewn amryw frwydrau, *St. Vincent*, yn y fl. 1797, ac ereill.

Ym Mawrth, 1802, symmudodd Mr. J. oddi ar fwrdd yr *Agincourt* i'r *Theseus*, yr hon, ym mhlith ereill, oedd

yn gwylio Ynys Jamaica, a bu ar hon hyd fis Gorphenaf, 1804. Yn y cyfamser yr oedd y fad felen (*yellow fever*) wedi gwneyd galanasdra dirfawr ym mhlith y llong-luoedd. Mr. J. oedd yr unig gapelydd a adawodd Rhagluniaeth i sefyll ei fôr; gan fod ei frodyr gapelyddion naill ai wedi marw, ai symmud oddi yno i hinsoddau mwy tymmerus.

Yn y fl. 1804 y bu laddfa echrydus ar drigolion gwynion *Cape Francis*, yn ynys Domingo, gan y Duantwys, y rhai a wrthryfelasent, ac a gymmerasent feddiant o'r ynys oludog hòno. Ar y trydydd dydd gwedi y gyflafan, anturiodd Mr. J. gydag un Muddle (Is-Gadben) i'r Ynys Domingo, ac at y trawslywydd du a enwid *De-Salines*, i gynghreiriaw ac i eiriol am fywydau y gweddill a adawyd o'r trigolion gwynion mewn parthau ereill o'r ynys. Aeth y ddau hyd breswylfod y Llywydd; arweiniwyd hwynt i ystafell dywell, ac yno y buont oriau hirion, heb wybod a gaent ddychwelyd yn fyw yn ol, ai peidio. Ym mhen hir ennyd gollyngwyd hwynt ymaith heb eu neges, a chyrhaeddasant y llynges, mewn bad agored, drwy nos dywell a môr tymmestlog. Trwy eu dadguddiadau hwynt, llwyddodd y llynges i achub bywyd o gylch mil o drigolion gwynion *Monte Christi*, y rhai a drosglwyddwyd i ddiogelwch Ynys Cuba.

Yr oedd *eofndra* yn gynneddf berthynol i dylwyth Mr. J. Os dywedid yn Ngheredigion, yn oes y "ffusto," bod "un o waed Cilbronau" ar y maes, ni byddai ammheuaeth gan neb na ddeuai hwnw yn fuddugol o'r chwareu cnapan, neu unrhyw gamp arall. Un o hynafiaid Mr. J. yn nyddiau Cromwel, ar ei ddychweliad o'i daith i'w breswylfod, a'i cafodd mewn terfysg trwy draws ymddygiad un o filwyr ei fawrhydi. Un ergyd ffon yr uchelwr a barodd i'r milwyr lyfu y llwch: ond gorfu iddo giliaw i'r anialwch, i gael ei borthi yno, hyd ddychweliad Charles II. Oddi ar hyn, cymmerodd y tylwyth *fraich a dwrn yn dal cnwpa* yn grib arfau (*crest*), ac oddi tano yr arwyddair—"*Da yw ffon amddiffyniad.*"

*Pereiddlais* oedd gynneddf arall yn hanfodol i dylwyth Cilbronau. Yr oedd Mr. J. yn fardd alaw o anian; a gobeithiaf na thybir fi yn rhyfygus os tybiaf bod y gynneddf hon yn offerynol, tan oruch-reolaeth Rhagluniaeth, i achub ei fywyd rhag yr haint felen, yn nghladdfa dynolion hinsawdd boethgras yr India Orllewinol. Dywedai Mr. J. y byddai arferol, pan oddiweddai y pruddglwyf (rhagfynedydd yr haint) ef—pan oedd ei gyd-forwyr yn meirw ar ddeheu ac ar aswy—iddo, o gymmeryd ei grwth (*violoncèlo*), a chwareu arni rai o beraidd donau Gwent a Morganwg, y rhai ydynt lawer mwy bywiog a chynhyrfiol nag arafach geinciau Gwynedd a Dyfed. Os beïir arnaf am goffäu hyn, gofynaf, Pa ham yr erchai Paul i Timothëus, "arfer ychydig win?" Pe buasai Paul ar fwrdd y *Theseus*, yng ngwyneb yr haint felen, ai ni ddywedasai hefyd wrth Mr. J., "Chwareu yn fynych ar dy delyn?" Yr oedd Apostol mawr y Cenedloedd yn wr call, callach o lawer na rhai o'i ddeonglwyr hunanol.

Difyrwch arall i ysgafnhau ei feddwl, y pryd y teimlai hyny yn angenrheidiol, oedd casglu tocynau o dlysau y grëedigaeth. Hysbys ydyw i deithwyr, a darllenwyr teithiau, fod y cylchau nesaf i'r Cyhydedd, parth deheu, parth gogledd, yn llawer cyfoethocach yn y tlysau hyn, nag ydyw y parthau gorsafawl rhyngynt a'r pegynau. Am barthau y Cyhydedd; "*yno* y mae bdeliwm a'r maen onycs:" *yno* y caed y deuddeg maen gwerthfawr a addurnent ddwyfroneg Aaron: *yno* y tyf yn anianol amrywiaethau o "lili y maes," na wisgwyd Solomon yn ei holl ogoniant fel un o'r rhai hyn. Gyda ni, cyfrifir glas y dorlan, a chaseg y dryghin, yn adar asgellog brithion liwiau; ond balchach o lawer y gwisgir adar paradwys, ac adar ereill, *parotach* eu hateb, ac ugeiniau ereill yng ngwledydd y Dwyrain. Gyda ni, ym minion ein môr o Amlwch i Gaer Dydd, ni cheir ond llymeirch, rhython, a chregyn geirwon ereill, na thalant nemawr ond eu llosgi yn yr odyn galch. Ond yn y parthau cyhydeddawl y mae mildai gorwychion, anneddau

bywiolion y dyfnder mawr, i'w casglu ar y traethau o bob maint, a llun, a lliw. Y rhai manaf o honynt, prin mwy eu maint na gronynau gwenith, ydynt yn dysgleirio o harddwch fel y meini gwerthfawrocaf; a'u hamryfal drigolion a ddadganant ogoniant eu Creawdwr mawr mor gyflawn a'r behemoth a'r lefiathan. O'r mân gregyn heirddion hyn, Mr. J., yn ei oriau hamddenol oddi wrth ei oruchwylion mwy pwysig, a gasglodd drysor helaeth; ond efe a'u rhanodd oll rhwng tri neu bedwar o gyfeillion, yn ol ei ddychweliad i dir ei wlad, fel nad oes ym meddiant ei gyfneseifiaid gymmaint ag un o'r tlysau ceinion.

Bu Mr. J. ar fwrdd y *Theseus* o Fehefin 6, 1801, hyd Fehefin 11, 1804; a thrwy y rhan fwyaf o'r ysbaid hwn dan haul entrych y cylchau llosg, rhwng graddau lledred 10° ac 20°. Er cadarned ei iechyd cynhenid, efe a'i teimlai erbyn hyn yn gwanhau cymmaint, fel ag y gorfu iddo ddychwelyd i wlad ei enedigaeth. Yr oedd y llong ryfel *Belerophon* yn dychwelyd i Loegr y pryd hyny, ac ar fwrdd hon daeth Mr. J. i'w fro gyntefin ar y 26fed o Fedi, 1804. Llawenydd i galon ei fam dyner oedd ei dderbyn ef, a dau ereill o'i meibion ar yr un amser, er i'r tri ddyfod, yn anwybodus i'w gilydd, o dri dosbarth gwahanol y byd. Un a oedd feddyg yn y llynges freninol, ond yn awr nid yw: y trydydd oedd swyddog ar long fasnachol (*East Indiaman*), ac y mae y pryd hyn yn byw gyda'i deulu yn nhref Caerfyrddin, wedi treiddio yn ddiangol trwy helyntiau heddwch a rhyfel. Ni adferwyd Mr. J. i'w gynnefin iechyd hyd yr haf rhagwyneb, y pryd yr ymrwymodd i wasanaethu eglwys Maenor Deifi, yn swydd Benfro. Tra y gweinyddodd ar y môr, ei ymddygiad syml a boneddigaidd, a'i ddiwydrwydd yn ei alwedigaeth, a ennillasant iddo hoffder a pharchedigaeth ei brif lyngesydd, Arglwydd Radstock, trwy ymgais yr hwn etholwyd ef yn un o Gapelyddion ei Uchelder Wiliam Henry, Dug Clarens, yn awr ei Fawrhydi ein Brenin Wiliam IV. Yr un gymmwynaswr a'i cymmeradwyodd hefyd i sylw y Dr. Burgess, y pryd hyny

Esgob clodwiw Ty Dewi, yr hwn a ryglyddodd fendith plwyfolion *Ceri*, yn swydd Trefaldwyn, am ei anfon ef yn ficar bugeilaidd iddynt. Daeth yno i gartrefu yn y fl. 1807. Yr oedd y persondy a'r adeiladau gwedi adfeilio bron yn furddynod, drwy hir annhrigiant a diofaledd ei ragflaenor (un Mr. *Carless*); ond gan nad oedd bydolrwydd mewn meddiant o'r gonglen leiaf yng nghalon Mr. J., ymfoddlonodd ag yng nghylch degwm yr hyn oedd gyfiawn ddyledus iddo gan gynnrychiolwr yr hen offeiriad. Cyn pen hir adeiladodd bersondy newydd, un o'r helaethaf a'r harddaf yn yr esgobaeth; yr hwn a elwid gwedi hyny (ac nid heb achos) gan y beirdd a'i mynych gyrchent—"Llys *Ifor Hael* o Geri"—a dywedent,

> "*Basaleg*—mae heb sylwedd!
> I *Geri* mae gwrw a medd."

Yn y fl. 1813, archwyd ar Mr. Jenkins gan ei esgob, y Dr. Burgess, tros y Gymdeithas er Taenu yr Efengyl mewn Parthau Tramor, gymmeradwyo offeiriad ieuanc i fyned yn genadydd i St. John's, Newffoundland; ac efe a gynnygiodd y swydd i wr ieuanc athrylithfawr â phruddgall, y Parch. D. Rowland, y pryd hyny yn gurad Llan Wynnog a Charno, yn swydd Trefaldwyn. Er bod iechyd Mr. R. erioed yn glwcus, nid ymgynghorodd â chig a gwaed, ond ymddarparodd i'w daith bell, ac ar Wyl Ioan Fedyddiwr, 1813, aeth ar fwrdd yr *Antelope*, gyda Sir John Duckworth, a oedd yn myned i fod yn rhaglaw yn Newffoundland. Er bod llawer o longau yn cyd-hwylio, eto ar ddymuniad Esgob Llundain, cafodd Mr. R. y parch o fyned ar long y prif lyngesydd, yr hwn a'i gosododd ef yn gapelydd iddo ar y fordaith. Bu yn ei orsaf bellenig o gylch pedair blynedd, er mawr foddlondeb ac adeiladaeth y trefedigion; ond rhyndod yr hinsawdd auafawl oedd elynol i'w glwyf gwreiddiedig, yr ysgyfeinwst. Dychwelodd tua gwlad ei enedigaeth gyda llong oedd yn rhwym i Oporto, a chan ewyllysio ymweled â rhan o

Gyfandir Ewrop, efe a ymdeithiodd drwy Portugal, Spaen, a Ffrainc, a thros y culfor cyrhaeddodd dir Prydain tua diwedd y fl. 1817. Gwedi ymweled â'r esgob yn Abergwili, yr hwn a welai ynddo deithi cymhwys i weinidogaethu yn Eglwys St. Petr yn nhref boblog Caerfyrddin, a chael ei benodi i'r swydd, cyn cymmeryd meddiant o honi, meddyliai yn ddyledus arno ddyfod i Geri, i ddiolch i Mr. J. am ei haelioni bob amser tuag ato ef. Mr. J. a wahoddodd gyfaill adnabyddus iddo i'w gyfarfod ef, ac i'w groesawu â cherdd i dir ei wlad o'r fro bellenig. Nifer o ynglynion[1] o bobtu, sef rhwng Dewi Brefi a G. Mechain, a fu y canlyniad. A'r ynglynion hyn, er gwaeled y dichon iddynt fod, a osodasant sylfan yr holl eisteddfodau taleithiol a gynnaliwyd yng Nghymru rhwng y blwyddau 1819 a 1829. Canys ym mis Awst, 1818, daeth y Dr. Burgess i Geri, ar ei daith gylchynol drwy ei esgobaeth, lle yr arosodd rai dyddiau yn ymddyddan â Mr. J. a'i gyfeillion, ar destynau Cymreig, defodau yr oesau gynt, eisteddfodau taleithiol, &c., &c. A chlo y cyfarfod hynod hwn oedd ymroad penderfynol rhwng yr Esgob a Mr. J. i roddi ymgais i ail ennyn dawn ac athrylith farddonol y Dywysogaeth, y rhai er oesoedd maith a aethent dan encudd gwarth ac ammraint, trwy gynnal eisteddfodau cylchynol drwy y pedair talaeth. Gan bod y ddau sylfaenydd yn Ddyfedwys, cydunwyd bod i'r cyfarfod cyntaf gael ei gynnal yn nhref Caerfyrddin ar yr 28fed o Hydref oedd yn canlyn. Pan ddaeth y dydd, a'r Arglwydd Dinefawr yn y gadair, y boneddwyr cynnrychiol a ymunasant yn Gymdeithas Gymruaidd Dyfed, ac etholwyd disgynydd Rhys ab Tewdwr yn Llywydd, a'r Parch. D. Rowland yn Ysgrifenydd. Tranoeth, sef y 29fed o Hydref, 1818, cynnaliwyd yr ail gyfarfod ym mhalas yr Esgob yn Abergwili, ac yno yn wyddfodol, yr Esgob; T. Bowdler, Yswain; y Parchedigion J. Jenkins, o Geri; Peter Roberts, o Helygen; Elieser

[1] [Gweler yr Englynion hyn, *Cyf.* i. 279-282.]

Wiliams, o Lan Bedr; W. J. Rees, o Gasgob; D. Wiliams, o Ystrad Meurig: a'r bardd wrth fraint, Iolo Morganwg. Ar yr 8fed a'r 9fed o Orphenaf, yn y flwyddyn rhagwyneb, cynnaliwyd yr eisteddfod gyntaf yng Nghaerfyrddin, a'r ail yn y fl. 1820, ym Mhowys, ac oddi yno amgylch o gylch, i Went, i Wynedd, &c., &c. Ym mhob un o'r cyhyrddau hyn yr oedd Mr. Jenkins yn Gyfarwyddwr, yn annel ac yn biler, caredig i'r beirdd, cariadus gan bawb. Ond nid aeth i gyfyl yr eisteddfod fawr ddiweddaf yn Ninbych yn y fl. 1829, a hon oedd yr unig un nad oedd yn bresennol: canys blin i'w feddwl ef oedd canfod dybenion dechreuol y cymdeithasau yn cael eu gwyro, y naill eisteddfod ar ol y llall, trwy Seisnigrwydd bradwyr yr iaith Gymraeg, oddi wrth goleddu doniau cynhenid ein cenedl, i wobrwyo â gorhaeledd ysgrech-lefain a phib-ganiad estroniaid.

O'r flwyddyn 1818 allan, aeth annedd *Ifor Hael o Geri* (canys â'r enw hwn y perchid Mr. J.) yn *Fasaleg* i holl feirdd a chantorion tafod a thant drwy Gymru penbaladr. Yr wythnos gyntaf ym mhob blwyddyn newydd, cynnelid yn ei breswylfod *lys agored* am dridiau neu bedwar o leiaf, a chroesaw i bawb a'i cyrchai, os medrai gyfansoddi ynglyn, lleisio tôn, neu gyweiriaw telyn.

Yn y fl. 1823, ar gylchwyl ei enedigaeth, sef yr 8fed o Ebrill, efe a briododd Miss Elisabeth Jones,[1] ail ferch y Parchedig Edward Jones, ficar Aberiw, a nith ac etifeddes y diweddar Edward Heyward, Ysw., o'r *Crosswood* (Trawsgoed), ger llaw y Trallwng. Yr hyn a ennillodd ei serch ef ati yn ddechreuol, oedd ei medrusrwydd yn cyfansoddi barddoniaeth Seisneg; ac ar brydiau hi a anturiai bryddest Gymraeg. Hi yw y brif ofyddes, yr unig ferch a raddwyd ar gyhoedd Eisteddfod Caerfyrddin, yn y fl. 1819. Ym mhen ennyd aeth y graddau hyn yn giprys, pan gynnelid Gorseddau anghyhoedd "ar bob bryn uchel, a than bob pren irlas."

[1] [Gweler *Cyf.* i. 164.]

Ar y 4ydd o Ebrill, 1824, y ganwyd i Mr. J. ei unig fab a'i etifedd, yr hwn a fedyddiwyd dan yr enw John Heyward Jenkins.[1] Bardd o'r gymmydogaeth[2] a gymmerodd yr *Ifor* bychan yn ei freichiau pan oedd yn bymthegnos oed, ac, yn ol dull yr hen Dderwyddon yn Nhribanau *Marchwiail* ac *Eiry Mynydd*, a gânt Dribanau *Cain Cynnwyre* uwch ei ben: dau o honynt ar gof a chadw fel hyn (yr haul yn tywynu yn eglur ar ei godiad)—

Cain Cynnwyre Dandde'r dydd
Ehed yn uwch hyd yn Echwydd—
*Ifor bach* yn fawr y bydd:

Yn perchen Awen lawen lem,
Anwyl fo, yn ail i'w *fam*,
Ac ail i'w *dad* heb giliaw dim.[3]

Yn ol pob argoel, ond yn ddarostyngedig i ragluniaeth y Pen-arglwyddiaethydd, y mae ein *Ifor* ieuanc yn debyg o gyflawnu dymuniad ei fardd: y mae efe eisoes[4] mewn athrofa yn swydd Amwythig yn yfed o ffrwd ffynnon gwybodaeth.

Yn ei oriau hamddenol, yng nghyfryngau ei orchwylion offeiriadawl, Mr. J. a fyfyriai ar bynciau dyrys yn hynafiaeth ei wlad. Ei draethodau ar *Garon* (Carausius yr hanesiaeth Rhufeinig), ar Aedan ab Blegywryd, tywysog Gwynedd, pwy oedd efe (gan na wyddai y dysgedig Dr. Powel), ac ar destynau ereill, a ymddangosasant yn y *Cambrian Quarterly Magazine*. Ei lythyrau, dan enw *Hooker*, a lanwasant

[1] [Yn ddiweddar cyfnewidiodd "Ifor bach" y cyfenw *Jenkins* am *Heyward*, ac weithian adnabyddir ef megys John Heyward *Heyward*.]

[2] [Yr Awdur ei hun ydoedd y bardd hwn.]

[3] [Ym mhlith ysgrifau yr Awdur y mae dau driban arall, yn rhedeg fel hyn:—

"Cain Cynnwyre Chwefror trydydd,
Ioan bach yn fuan fydd
Yn fardd o glod i feirdd y gwledydd.

"Cain Cynnwyre gwyn Carnatyn,
Oer Pen Aran, rhewog dyffryn,
Ni bydd 'Steddfod bob pen blwyddyn."]

[4] [Sef, yn y flwyddyn 1831, pan ysgrifenwyd y cofiant hwn.]

rai dalenau yn y *Gwyliedydd:* a phregeth o'r eiddo a draddododd ger bron Cymdeithas Eglwysig Dyfed, a gyhoeddwyd.

Bu Mr. J. hefyd yn ddiwyd yn ei amser i gasglu yng nghyd yr holl donau Cymreig a fedrai afaelu arnynt, gan eu trysori yn ei nodlyfrau. Blin oedd ganddo sylwi bod y tonau Cymreig yn cael ei trawswyraw o'u cyfansoddiadau cynnwynawl, i foddio clustiau merwinllyd y to presennol. Anrhegodd ei gasgliadau alawaidd i un o benceirddiaid yr oes; canys yr oedd efe yn hael gyfranydd i ereill o bob peth a feddai—ei wybodaeth, ei gynghor, ei fedd, ei win, a'i fragawd, ei fwrdd, ei letty, a'i arian, i bawb, fel y byddai yr angen arno.

Difyrwch arall ganddo ef oedd gwneyd casgliadau o welygorddau Cymru, ond yn benaf gwehelythau Dyfed; a'i gyfeillion lluosog, o Fon i Ddofr, ac o Gaerlleon Gawr i Gaer Dydd, a ohebent ag ef yn ewyllysgar ar y testynau hyn.

Ei sefylliadau yn yr Eglwys, heb law ficariaeth Ceri, oedd deoniaeth wladawl Maelienydd; prebendaeth Mochdref yn eglwys golegawl Brycheiniog; ac yn ddiweddar, prebendaeth yn eglwys gadeiriol Caer Efrog. Yr achos o'i ddyrchafiad diweddaf sydd werth ei adrodd o ran bod yr hanesyn yn rhagor-dystio yr hyn a goeliai pawb am hynawsedd mwyneddus Mr. J.

Pan oedd efe ar fwrdd y *Theseus* ar gyffinfor Jamaica, yr oedd arni lanc caruaidd o enw Vernon, mab esgob Caerliwelydd, yn is-swyddog *(midshipman)*. A chan nad oedd y fad felen yn parchu achau, efe a syrthiodd yn drymglaf; a'i swydd isel a'i cyfyngai i ystafell ddiawel ar waelod y llong. Tybiai Mr. J. y byddai yr haint yn debyg o ladd y gwr ieuanc ar fyr amser, os na chai newid annedd ei wely. Amlygodd hyn i'r cadben; ond, yn ol deddfau llongwriaeth, nid oedd yr archiad yn ganiataol. Ar hyn, tynerwch anianol Mr. J. a'i hannogodd i roddi i fyny ei ystafell ei hun i'r claf, a thrwy ofalu yn barhäus am ymgeledd cymhwys iddo, efe a hybodd o'r haint. Mr. J., wrth ymweled yn fynych â'i oddefydd, a ddeallodd fod mor-fuchedd yn

annymunol ganddo. Ac felly penderfynwyd rhyngynt i Mr. J. ysgrifenu at yr esgob, i erfyn arno alw ei fab adref, gan ei fod, o ran cynneddfau, yn wr ieuanc cymhwysach i'r weinidogaeth eglwysig nag i alwedigaeth filwraidd a'i gofidiai â thrwst arfau, a golwg ar ddillad wedi eu trybaeddu mewn gwaed. Y tad a dosturiodd, cydymdeimlodd ag ewyllys ei fab, yr hwn a ddychwelodd adref, aeth i'r athrofa, ac urddwyd ef yn offeiriad. Gwedi hyn, bu gohebiaeth trwy lythyrau am rai blwyddau rhwng Mr. Vernon a Mr. J. Yn y rhai hyn, cyfaddefai mab yr esgob bod Mr. J., tan Ragluniaeth, wedi bod yn offerynol, i achub ei fywyd ac i amlhau ei gysuron ef. Terfynodd y gohebiaeth, a dyrchafwyd yr esgob yn archesgob Caer Efrog. Yn y fl. 1828, gwedi hir ddystawrwydd, megys ar gyffiniau anghof, derbyniodd Mr. J. lythyr heb ei ddysgwyl, oddi wrth Mr. Vernon, bod prebendaeth o 600 o bunnau yn y flwyddyn o werth, yn eglwys gadeiriol Caer Efrog, ac yn rhodd ei dad ef, yr archesgob, trwy ei gyfryngdod ef, at wasanaeth ei hen gyfaill a'i athraw ffyddlon. Cymmerodd Mr. J. feddiant ar ei swydd newydd, ac a aeth i Rydychain i gymmeryd y radd o Athraw yn y Celfyddydau, i'w gymhwyso i ddal y swydd: ond megys profiad mor ddiflanedig yw pob uwchafiaeth daiarol, bu ei draul ef yn fwy na'i elw, gan mor fuan gwedi hyn y dygwyddodd ei farwolaeth ef.

Nid oes brin ammheuaeth na ddarfu i awelon tanbaid y cylchau llosg, yn y blwyddau y bu Mr. J. yn eu hanadlu, effeithiaw yn ddiarwybod iddo ei hun, ar ansawdd ei iechyd. Tua diwedd ei oes byddai gwasgfaon yn flynyddol, neu yn amlach, yn ei oddiwes, yn enwedig ar ol oeri neu wlychu. Gwres Gorphenaf a gytunai ag ef oreu, ac a wnai iddo, mewn awr lawen, ganu mor beraidd a'r eos. Gorsaf yr anhwyl a'i blinai fwyaf, a'r hyn ni ddeallai ei feddygon yn drylwyr, oedd rhwng ei wddf a'i eneu.

Ei glefyd diweddaf a'i goddiweddodd ddydd Llun, yr ail o Dachwedd, 1829, ac a'i daliodd hyd ddydd

Gwener, yr ugeinfed o'r un mis, y pryd, heb gymmaint a chyrchu ochenaid, yr hunodd mewn tawelwch, er galar a gofid ei gyfeillion, a phawb a'i hadwaenai. Ei blwyfolion lluosog a dderbyniasant y newydd athrist fel amddifaid wedi eu colledu o'u hannel penaf. Cyfarfuant mewn cynghorfa, ac ysgrifenwyd yr ymroad canlynol, yn nghoflyfr y plwyf:—

"Gyda y tristwch mwyaf teimladwy, y mae trigolion Plwyf Ceri fel hyn yn cofhau yn alarus farwolaeth eu ficar caredicaf, y Parch. J. Jenkins * * * Tros hir flynyddoedd efe a'u hareiliodd hwynt megys eu bugail, gyda chyfarwyddyd, tynerwch, a buddioldeb. Ynddo ef yr unwyd y rhinweddau goreu, pa un bynag a gyfrifid hwynt iddo megys dyn, ai megys Cristion. Yn chwennych, gan hyny, amlygu eu dwys deimlad o'u colled, y mae cynnifer o'r plwyfolion ag sydd yma yn gynnyrchiol yn cymmeradwyo y bwriad canlynol, a thra y maent yn gwneyd hyny, y maent yn hyderus bod holl drigolion Plwyf Ceri yn un-farn â hwynt: sef eu bod yn bwriadu ar foreu y claddedigaeth, gyfarfod wrth yr Eglwys am naw o'r gloch, a myned oddi yno tan arweiniad y Wardeniaid i gyfarfod ac ymunaw â'r canhebrwng; ei ddilyn i'r Eglwys, ac wedi y gwasanaeth, at y bedd, a phob un i ddarparu ei fenyg a'i ambenrwym ar ei draul ei hun."

Cyflawnwyd y bwriadau caredig hyn, yn y modd mwyaf addas a rheolaidd; ac wedi i'r canhebrwng gyrhaedd porth y fynwent, torf arall a ymunodd, sef o gylch chwech ugain o blant ysgol rad y plwyf, â *crâp* du yn rhwym am eu breichiau. Y rhai hyn yn ddwy restr a gloasant y prudd orymdaith.

Ni bu erioed mwy galar ar wyneb daiar deg,
Ym mhlith y mil blwyfolion nid oedd un fron heb freg;
Ni threiddiai i'r awyr dawel ond aml isel och!
O galon torf alarus a chwyn y glwyfus gloch.

Yr oedd cantorion Eglwys Ceri y pryd hyn ym mhlith y rhai mwyaf cyfarwydd yng Nghymru, gwedi cael eu hethol a'u haddysgu yn ofalus gan eu pengantor,

yn awr yn fud ar elor ger eu bron. Yn yr amser priodol o'r gwasanaeth, dechreuasant ganu yr emyn Seisneg,—

"Vital spark," &c.;

ond ar iddynt gyrhaedd y ban,—

"O death, where is thy sting?"

yr oeddynt o un i un â'u teimladau gwedi lladd eu lleisiau, yr hyn a fenodd fel saeth yn treiddio i galonau yr holl gynnulleidfa.

Cyn i'r plwyfolion ymadaw, ymunasant mewn bwriad arall, sef dyfod i'r eglwys y Sabboth canlynol, bawb mewn cyflawn alarwisgoedd; a chafwyd rhif y rhai a ddaethant yn naw ugain a thri. Y praidd blwyfol, eto heb ddangos digon o barch i'w hanwylaf fugail, a aethant wedi hyn i'r draul o huliaw yr areithfa, yr allor, a'r sedd offeiriadol, â brethyn du; ac megys clo ar y cwbl, anrhegasant y Parch. D. Davies, curad i Mr. J., â llestr arian, ag argraff perthynol arno, ar ei ymadawiad â'r plwyf, wedi colli ei gymmwynaswr hael.

Yn y fl. 1830, cyfododd ei frodyr gofadail mynoraidd iddo yn Eglwys plwyf ei enedigaeth, sef Llangoedmor, yng Ngheredigion; a thri mis yn ol gosodwyd un arall uwch ei feddrod yng Nghanghell Eglwys Llanfihangel yng Ngheri, â'r argraff arno yn gyfieithiedig fel hyn:—

"Cyssegredig i Goffadwriaeth
Y Parch. John Jenkins, Aelod o Eglwysi Gadeiriol
Caer Efrog a Thy Dewi,
Capelydd i Dug Clarens, a thros 22 o flwyddau
Ficar y Plwyf hwn:
Ym mhob sefyllfa bywyd—ai Offeiriad—ai Ustus—
ai Mab—ai Gwr—ai Tad—ai Brawd—ai Cyfaill
—ei ymddygiad oedd ragorawl:
Bu farw yn 59 oed,
Gan adael ei Weddw brudd, Mab bychan,
A rhif lluosog o Gyfeillion,
i alaru eu colled."

Terfynir y cofiant blaenorol â Galargwyn, a ymddangosodd gyda y Cofiant Seisneg yn y *Cambrian Quarterly Magazine*, am Ionawr, 1830.

"Collais fy nghyfaill callaf,—
Gweled ei golled a gaf!
O 'nghyfaill! ni anghofiaf,
Gyfan oes ei gofio wnaf:
Un y buom drwy'n bywyd,
A chael bodd uwch law y byd;
Adwaen *i*, os edwyn neb,
Lawnder ei ffyddlondeb.
Ias o gur fu'r ysgaredd,
*Eto'n fyw!* yntau'n ei fedd!
*Ifor* oedd, a dihafarch,
Gwr i bawb a garai 'i barch;
Mwynaidd, gwaraidd, a gwrawl,
Ugain feirdd a gân ei fawl.
Ym mha fro mae'r Cymro call
I'w euro'n *Ifor arall?*
*Iforiaid* oll yn feirwon—
Gwr i'w swydd—ni wiw gair son!
Llais afiaeth yn Llys Ifor,
Dystawodd, ciliodd y côr!
Côr o feirdd, cyrf o urddas—
Llawen eu bloedd—llu'n eu blas:
Y cynfeirdd[1] yno canfum,
Ac *un* o'i feirdd gwan a fûm.
O galar! lle bu gwyliau[2]
Llon, a hedd, i'n llawenhau;
Bellach, y wledd a ballawdd,
I dorf y nwyf darfu nawdd!
Yn lle gwledd, a gorsedd, a gawr,
Mae ias iaen ym mis Ionawr.
I'r beirdd—Cymru a'i barddas,
Am yr IOAN y mae'r ias—
Ias o ofid; deisyfwn
I lawn hedd gael dilyn hwn.
Ein colled a'n niwed ni
Oedd ennill i'w ddaioni:
Ar ei ol, i'r bythol bau,
O *un* i *un* awn ninnau!
Bro dangnef yw haddef hwn;
Amddifaid, ymoddefwn!"

*Hydref* 3, 1831.

[1] Aneurin, Taliesin, &c.
[2] [Gweler *Cyf.* i. 244.]

# COFIANT ROBERT VAUGHAN

## O'R HENGWRT, YSWAIN, A'R HYNAFIAETHYDD GODIDOG, YR HWN A FU FARW YN Y FL. 1667.

MR. *Gwyliedydd*,—Y mae diolchiadau pob hoffwr hynafiaeth ei wlad a'i genedl yn ddyledus i chwi am eich bwriad o gyhoeddi ail argraffiad o waith y dysgedig Mr. Robert Fychan o'r Hengwrt, dan yr enw *British Antiquities Revived*,[1] neu Adhybiad Hynafiaethau Prydeinaidd. Er gwneyd eich argraffiad yn hysbysach i hynafiaethwyr Cymroaidd, dichon y bydd o wasanaeth i mi osod gar eu bron ychydig o hanes yr awdwr myfyriol a chlodwiw.

*Yn gyntaf*, *ei Ach*.—Efe a hanai lin-o-lin o Gadwgan, ail fab Bleddyn ab Cynfyn, Tywysog Cymru yn yr unfed ganrif ar ddeg. Un o brif anneddau Cadwgan oedd ger llaw Dolgellau; am hyny achwyr a'i galwent "Cadwgan o *Nannau*." Tua diwedd ei oes, er gwell diogelu cyffiniau dwyreiniol Powys rhag ymgyrchiadau Seison y Mers, dechreuodd adeiladu Castell y *Trallwng Goch;* ond cyn pen hir, fe'i cynllwynwyd ac a'i lladdwyd yn y parc ger llaw, nid gan elynion is-glawddogion Offa, ond gan fradwr annynol, ei nai, mab ei frawd ei hun, Madog ab Rhirid. Madog, mab y Cadwgan uchod, a ymsefydlodd yn Nannau, a'i fab, a'i ŵyr, a'i orwyr yn olynol: yna Meirig, mab hynaf Ynyr *Fychan*, ond Hywel ab Ynyr, ei frawd, a anneddodd yn y Wen-graig, ar odre Cader Idris. Yno y bu ei ddisgynyddion hyd y chweched genedlaeth ar ei ol, y pryd y priododd Gruffydd ab Ynyr o'r Wen-graig etifeddes yr Hengwrt, yr hon oedd wyres i'r Barwn Lewis Owain, a laddwyd ger llaw Mallwyd gan Wylliaid Mawddwy,

[1] [Daeth yr ail argraffiad allan yn Swyddfa y *Gwyliedydd*, Bala, yn 1834.]

yn y fl. 1555. Mab o'r briodas hon oedd ein hynafiaethydd godidog; ac efe a ymsymmudodd o'r Wengraig i dreftadaeth ei fam yn yr Hengwrt, lle y treuliodd ei oes yn casglu ysgriflyfrau o bob parth, pell ac agos: ŵyr, neu orwyr iddo ef, a pherchenog yr Hengwrt, a briododd Ianet Fychan, etifeddes Nannau, a mab iddynt hwy oedd Syr Robert Howel Fychan, tad y Barwnig urddasol a biau Nannau yn bresennol,[1] a thad Gr. Howel Fychan, o Rug, ac a berchenoga yr Hengwrt.

*Yn ail, ei Lafurwaith.*—Cadwai Mr. R. Fychan yn barhäus yn ei lyfrgell ysgrifenydd hylaw i'w gynnorthwyo i adysgrifo hen lyfrau a ymddiriedid iddo gan ddysgedigion ac ereill o'i gydnabyddiaeth. Yr oedd dau ereill o gasglyddion ysgriflyfrau yn gydoeswyr ag ef: un oedd Mr. John Jones, o'r Gelli Lyfdy, plwyf Ysgeifiog: cydunodd hwn â Mr. R. Fychan y byddai i gasgliad yr hwn a fyddai marw gyntaf, fyned at drysorfa y byw; yn ganlynol, pan fu marw Mr. Jones, aeth ei gasgliad, o gylch hanner cant o ysgriflyfrau cynnwysfawr, i lyfrgell Hengwrt, i'w chwanegu at o gylch saith ugain o'r cyfryw lyfrau a gasglesid gan yr oesydd hwyaf. Y *trydydd* casglydd oedd Mr. Wiliam Maurice, uchelwr o blwyf Silin, yr hwn, er i'w ferch Lettus briodi D. Wiliams, Yswain, o Lan Alaw ym Mon, a adawodd ei lyfrgell, yn cynnwys 96 o ysgriflyfrau helaeth yn yr iaith Gymraeg, a deg yn Lladin, i Syr Wiliam Wiliams, Barwnig, o Lan Fordaf, hendaid y Barwnig urddasol sydd yn bresennol yn Wynnstay.[2]

Nid ammherthynol a fyddai enwi rhai o'r ysgriflyfrau a gasglwyd yng nghyd gan ein hynafiaethydd yn yr Hengwrt:—1. Hen Lyfr o Gyfreithiau Dyfnwal, Maelgwn, Hywel Dda, a Bleddyn ab Cynfyn. 2. Llyfr Cyfreithiau yr hen Gymry, annarllenadwy o henaint. 3. Llyfr o Gyfreithiau yr hen Gymry, na chynnwysir mewn llyfrau ereill. 4. Llyfrau Morgan a Chyfnerth,

[1] [Sef, yn y flwyddyn 1838, pan gyfroddwyd yr ysgrif hon i'r *Gwyliedydd.*]
[2] [Tad y barwnig sydd y pryd hwn yn berchen y nenbren yno. Aeth Llyfrgell odidog Wynnstay ar dân yn y fl. 1858.]

Yneid. 5. *Y Llyfr Du* o Gaerfyrddin.[1] 6. *Y Llyfr Gwyn* o Hergest. 7. Llyfr Gwyn Rhydderch. 8. Y Cwta Cyfarwydd. 9. Meddyginiaeth Meddygon Myddfai.[2] 10. Seryddiaeth. 11. Trioedd Y. Prydain. 12. Llyfr Coch Asaph. 13. Cyfrinach y Beirdd, o law Gutyn Owain. 14. Calendar Gutyn Owain. 15. Dwned D. Ddu o Hiraddug. 16. Dwned Einion Offeiriad. 17. Dwned Simwnt Fychan. 18. Llyfr Achau Deheubarth. 19. Achau y Pum Llwyth, a Phymtheg Llwyth Gwynedd. 20. Llyfr Achau, ar ddull newydd, gan Mr. R. F. 21. Amseroni, gyda nodau R. F. ar Gofrestr damweiniau, o oes Gwrtheyrn hyd y fl. 1269. 22. *Liber Landavensis*,[3] allan o Lyfrgell Ioan Selden. 23. Ardrethau Deiliaid Owain Glyndwr, a Syr Wiliam Gruffydd o'r Penryn, a Chastellydd yr Holt ar Ddyfrdwy. 24. Brutiau y Breninoedd, y Tywysogion, y Seison, &c., &c. 25. Barddoniaeth, fyrdd, &c.

Ond ni wiw chwanegu yn bellach, gan mor luosog y llyfrau; llawer o honynt o law y gwr boneddig diflin ei hun; ereill o law Wm. Lleyn, Gruffydd Hiraethog, W. Cynwal, Meredydd Llwyd, Dr. Powel o Riwabon, Dr. Davies o Fallwyd, Llwyd o'r Llai, &c.[4]

Ym mhlith gweithiau myfyrddwys ein hynafiaethydd, yr oedd nodiadau ar lyfrau *ysgrifen;* megys, Llyfr Monachlog Dinas Basing; Nodau helaethion ar yr hen awdwr Gildas Nennius; ar Frut Caradog o Lan Carfan, gyda sylwadau ar amrywiaeth deuddeg o hen gopïau ar femrwn; Nodau ar y Trioedd Ynys Prydain: Nodiadau ar lyfrau argraffedig, megys y *Monasticon*, gan Syr W. Dugdale; *Primordia*, gan Archesgob Usher;

[1] [Hwn a gyfrifir yr ysgriflyfr hynaf ar gadw yn y Gymraeg. Y mae weithian wedi ei argraffu.]

[2] [Argraffwyd y gwaith hwn, ond nid o ysgriflyfr Hengwrt, gan Gymdeithas y Llawysgrifau Cymreig, yn 1861.]

[3] [Cyhoeddwyd ef gan Gymdeithas y Llawysgrifau Cymreig, yn 1840, gyda chyfieithad i'r Seisoneg gan y diweddar Barchedig W. J. Rees, A.C. Hwn oedd y gwaith cyntaf a ddygwyd allan gan y Gymdeithas hòno.]

[4] [Ar farwolaeth Syr Robert W. Vaughan, y diweddaf o'r enw, daeth Ysgriflyfrau yr Hengwrt i feddiant W. W. E. Wynn, Yswain, Peniarth, diweddar A.S. dros Feirionydd; a phrin y gallasent ddygwydd i ddwylaw neb a fedr eu prisio yn amgenach.]

*Calenig*, gan Ioan Leland; *Hen Awduron*, gan yr Esgob Bale; *Histori Cymru*, gan Dr. Powel; *Y Gorsafau* Rhufeinaidd, gan Antoninus, &c. Gadawodd hefyd fyr hanes o'i daith o Feirion Fynwy; Cylchau Meirionydd; Hanes Tylwyth Cors y Gedol, &c.

Yn ol tystiolaeth Mr. Ed. Lhuyd, ein hynafiaethydd, Mr. R. F. oedd y cyntaf, yn yr oesau diweddar, a fedrai ddarllen y cerfiad Lladin ar Golofn Eliseg, ger llaw Monachlog Glyn Egwest, yr hon a gyfodasid gan Gyngen ab Cadell o Bowys, yn y 9fed ganrif, er cofiant am ei hendaid, Eliseg. Y golofn hynod hon a daflwyd i'r llawr, ac a dorwyd, gan y terfysgwyr penboethion yn amser Cromwel, o herwydd mai enw y maes lle yr oedd yn sefyll oedd "Maes y *Groes!*" Yn ddiweddar o flynyddoedd, Trefor Llwyd, Ysw., o Blas Trefor, a ail gyfododd o'r clawdd y darn a achubwyd o'r golofn, ac a'i gosododd lle y mae eto yn sefyll.

Ond yr unig waith a gyhoeddwyd gan Mr. R. F. oedd ei *British Antiquities Revived*, a sonir am dano yn nechreuad y cofiant hwn, ac a fwriadwyd ganddo i ddadymchwel daliadau boneddion o Ddeheubarth, a P. Enderby, y Sais, yn ei *Cambria Triumphans*, y rhai a ddywedent mai *Cadell*, ac nid *Anarawd*, oedd mab hynaf Rhodri Mawr, pan ranodd Dywysogaeth Cymru rhwng tri o'i feibion. Ein hynafiaethydd a dystiodd yn ddïwrthryn mai Anarawd oedd y mab hynaf o'r tri. Y pwnc arall a sefydlwyd ganddo yn yr un llyfr oedd bodolaeth *dau Waethfod—un* o Bowys, a'r *llall* o Geredigion, er cywiro achau amrywiol ddisgynyddion y ddau flaenor. Cyn hyn, rhoddai ach-feirdd hiliogaeth y naill *Waethfod* i'r llall, gan dybied yn gyfeiliornus nad oedd ond un o'r enw. Syrthiodd ein hynafiaethydd cyfarwydd Dr. O. Pughe i'r amryfusedd hwn yn y *Cambrian Biography*, dan yr enw *Gwaethfod*, lle y dywedir ei fod ef yn "Arlwydd Ceredigion a Gwent, ac yn dad i Gwerystan, taid Bleddyn ab Cynfyn," a'r Cynfyniaid oll yn hanu o Waethfod arall, o Bowys, gan mlynedd cyn y Gwaethfod o Geredigion. Ond brycheuyn bychan yw hyn yng ngwaith ein dysgawdwr,

os ystyrir na chenadwyd iddo gan y llyfrydd gwancus yn Llundain ond o gylch pymthegnos o amser i gasglu yng nghyd holl ddefnyddion y llyfr.

Ni lwyddodd, ac, ef allai ni lwydda, un gwrthebiad i ddaliadau Mr. R. Fychan ar yr un o'r ddau bwnc uchod. Dywedir i wr boneddig ger llaw Dinbych y Pysgod (Syr Thomas Cannon) gyhoeddi llyfryn yn erbyn yr *Adhybiad;* ond nis gwelais y gwaith erioed; a dymunol a fyddai cael argraffiad o'r ddau, tan yr un rhwymyn. Ni welais chwaith ond un o lyfrau Mr. R. Fychan, a chlywais am *un* arall ar werth yn Llundain, ym mhlith llyfrau Mr. Edw. Jones, gynt o'r Henblas yn Llandderfel, a gyrais at gyfaill am ei brynu i mi. Cefais ateb yn ol, iddo ef gynnyg a chynnyg nes y codwyd pris y llyfryn i *dair punt;* ac iddo ar hyny wangaloni, a'i ollwng i'r Sais. Diolch i *chwi*, Mr. *Gwyliedydd*, dyma fi, drwy eich ymgais chwi, yn debyg o gael y llyfr *teirpunt* am ychydig o *sylltau!* Llwyddiant i chwi, a chaffoch fil o enwau prynwyr ym mhlith meibion Gomer. Hanner-rwymwch fy llyfr i, llythyrenwch ef, a phlith-ddalenwch ef, fel y meiddiwyf ysgrifenu sylwadau ar y sylwedydd nodedig Mr. Robert Fychan o'r Hengwrt.

Yr eiddoch,

UN O HIL GWAETHFOED O BOWYS.

*Ionawr* 7, 1833.

# HANES Y CADBEN WILIAM MILTWN

(A enwid ym mhlith y Beirdd GWILYM CANOLDREF),

A THARDDIAD TEULU Y MILTWNIAID O RIRID FLAIDD; YNGNGHYD AG YCHYDIG SYLWADAU AR EI GYFANSODDIAD O SALMAU DAFYDD AR AMRYWIOL FESURAU CERDD, AC HEFYD AR Y CYNGHANEDDION.

RHIRID FLAIDD a fu o gylch y flwyddyn 1150 yn benarglwydd ar bum plwyf Penllyn, Eifionydd, Pennant Melangell, y Glyn ym Mhowys, a'r Un Dref ar Ddeg (*Ruyton of the Eleven Towns*) yn swydd y Mwythig. Cymmerodd ei gyfenw milwraidd *Blaidd* oddi wrth ei orhendaid, y Blaidd Rhudd o'r Gest, yn Eifionydd. Haer, ferch Gillin ab y Blaidd Rhudd, a briodes yn gyntaf Fleddyn ab Cynfyn, tywysog Cymru; ac wedi ei gyflafan ef yn Ystrad Tywi yn y fl. 1073, hi a briodes Gynfyn Hirdref, a enwid felly oddi wrth ei dreftadaeth ger llaw Nefyn yn Arfon. Merch o'r briodas ddiweddaf oedd Enerys, a hi briodes Wrgeneu ab Collwyn ab Moriddig, uchelwr o Bennant Melangell, ym Mhowys, a'u mab hwynt oedd Rhirid Flaidd. Felly yr oedd Rhirid yn nai fab hanner chwaer i Feredydd ab Bleddyn, tywysog Powys, ac yn gadfridog gwrol yn ei fyddin ef. Rhai achwyr a dystiant mai o achos y carennydd hwn y graddwyd Rhirid Flaidd yn un o 15 Llwyth Gwynedd, yn lle Nefydd Hardd o Nanconwy, a iselwyd yn fab aillt am ladd ei arglwydd Idwal, mab Owain Gwynedd, yng Nghwm Idwal yn Eryri. Er bod Rhirid yn flaidd mewn cad ac ymorchest, yr oedd, er hyny, yn ol tystiolaeth ei gydoeswr, Cynddelw Brydydd Mawr, yn wladwr hael a hynaws. Gosodir yma rai dyfyniadau allan o bryddest Cynddelw.

* * * * *

"Priodawr *Pennant* penaf uchelwr
Uchelwyr fodrydaf;

Nid i flaidd praidd y prydaf,
Namyn i flaidd glyw y glewaf.
* * * * *
Nid blaidd coed coll ei afael,
Namyn blaidd maes, moesawg, hael."

Yn y dyddiau blinion hyny, nid oedd haiach i ryfelwr yn disgyn i'w fedd mewn heddwch; a chesglir oddi ar gofiant y bardd i Ririd Flaidd gael ei ladd gan un Goronwy.

"Gwnaeth *Goronw*, gwr anlew,
Gyflafan annhelediw,
Adladd Ririd rwyf anaw,
A byth nys beiddiei be byw.
* * * * *
Neud am Dreig *Bennant* benaf galar
* * * * *
Gwr ni oedd hygawdd a oedd hygar,
Hygyrch ei neuadd cyn lladd llachar
* * * * *
Gwr oedd *feirdd* arfoll carddgoll cerddgar,
Gwr oedd *flaidd* llysaidd, llysid ei fâr;
Gwr oedd rudd ei lafn o lif gwyar,
Gwr oedd ruthr aruthr ar ei esgar,
Gwr athrigiad aer, gwr athrugar,
Gwr athrist i feirdd ei fod yn wâr;
Gwr a'm gwnaeth hiraeth hir ysgar—ag ef,
Yny dêl llu nef a llu daear."
* * * * *

Rhirid Bothon (neu genaw Blaidd), gorwyr i Ririd Flaidd, a briodes Sisli *(Cecilia)* ferch ac etifeddes Syr Alecsander Miltwn (*Middletown*, Trefganol), swydd Mwythig, yn agos i Garn Atyn,[1] Ceidwad Castell Trefaldwyn. Robert, mab y Pothon a Sisli uchod, oedd y cyntaf o genedl Rhirid Flaidd a gymmerodd y cyfenw Miltwn. Wyr i Robert oedd Dafydd Miltwn hen. Yn ei fabolaeth syrthiasai mewn cariad ag Elin, merch Syr John Don o Utkinton, swydd Gaer, ond ni fedrai ennill ewyllys da ei thad, yr hwn ar awr anffodiog a'i cymhellodd hi i briodi un arall, a oedd yn well wrth ei fodd ef.[2] Nis gallai disgynydd y Blaidd Rhudd foddloni i'r anfri hwn. Aeth i gyfarfod Elin Don a'i phriod newydd ei huno yng nghwlwm priodas,

[1] Corndon Hill.
[2] Richard Don o Croton.

ac a drywanodd y priodfab ger llaw porth y fynwent, a chymmerodd Elin ymaith mewn gorfoledd, ac a'i priododd pan gyrhaeddodd le diogel, cyn machlud yr haul. Ac felly, fel y dywed Mr. Yorke (*Royal Tribes*), "bu Elin Don yn ferch ieuanc, yn wraig, yn weddw, ac yn wraig eilwaith, yng nghorff yr un dydd." Yr oedd y llywodraeth wladol, yn gystal a greddf foesol, mewn cyflwr isel yn y dyddiau hyny. Y mae hanesion yr oesau hyny yn ymddangos i ni heddyw fel breuddwydion y nos. Yn lle cospi Dafydd Miltwn am y gyflafan ddybryd, gosodwyd ef gan y llywodraeth yn dderbynydd ardreth y brenin drwy dalaeth Gwynedd.

Bu i Ddafydd Miltwn ac Elin Don ddeg o blant: 1. Roger Miltwn o Waenynog; 2. Tomas Miltwn o Arth Gynan; 3. Ffoulk; 4. Dafydd Miltwn o Gaer; 5. Sion; 6. Edward; 7. Elisabeth, gwraig Dafydd Holand; 8. Ann, gwraig Morus Gethin o Gerniogau; 9. * * gwraig Mathew o'r Grin, yn Llyweni; 10. * * gwraig yr hen Harri Heaton.

I'r trydydd mab (Ffoulk) y bu naw o blant; sef, 1. Ffoulk; 2. Wiliam; 3. Sion o Ystrad; 4. Richard; 5. Robert; 6. Hwmffrai; 7. Tomas; 8. Dows *(Dulcibella)*, gwraig Ffoulk ab Rhys ab Bened o Fod Elwyddan; 9. Elisabeth.

Richard, y pedwerydd mab, a briodes Jane, merch Huw Dryas (Drihurst) o'r Ardd, yn Ninbych. Bu yn geidwad Castell Dinbych dan dri theyrnasiad, sef Edward VI, Mair, ac Elisabeth. Ym mhorth yr Eglwys Wen, is law Dinbych, ar y llaw ddeheu, y mae taflen o elydn er coffadwriaeth am y ddeuddyn hyn. Y ceidwad Miltwn ar ei liniau, a'i ddwylaw ym mhleth, ger bron allor, a *naw* o'i feibion yn penlinio o'r tu cefn iddo; a'i briod ef, yn yr un agwedd defosiynol, ac o'r tu ol iddi hithau *saith* o ferched. Enwau yr un ar bymtheg hyn oedd fel y canlyn:—1. Richard; 2. Simon; 3. Wiliam; 4. Tomas; 5. Charles; 6. Huw; 7. Ffoulk; 8. Robert; 9. Pyrs; 10. Sian; 11. Liws; 12. Margred;

13. Ales; 14. Elin; 15. Gras; 16. Barbara. Bu farw eu tad yn y fl. 1577. A Rhys Cain, yn ei farwnad ef, a geidw goffadwriaeth o rifedi ei blant ef, fel y canlyn:—

"Mae cedeyrn am eu codi
Ac o ryw hon a'i gwr hi—
*Naw* mab rhoed ym mhob rhediad,
A *saith* loer—urddas wyth wlad."

Ym mhlith y naw meibion uchod, bu i *dri* ragori yn eu hoes, er lles a bendith i'w gwlad a'u cenedl. Y pedwerydd mab, TOMAS, a fu yn fasnachydd yn Llundain, ac a lwyddodd cymmaint yn ei alwedigaeth, fel ag y bu iddo wasanaethu swydd siryf dan y Frenines Elisabeth, ac arglwydd maer yn nheyrnasiad Iago I. Ei gyfoeth a'i galluogodd i brynu Castell y Waen, a'i holl berthynasau, gan yr Arglwydd St. John o Bletso, yn y fl. 1595. Hwn oedd y cyntaf o Filtwniaid Castell y Waen, er bod y teulu yng Ngwaenynog, a phalasau ereill, er rhai oesau yn ol. Mab i Syr Tomas y Cyntaf, maer Llundain, a phrynydd Castell y Waen, oedd y Syr Tomas Miltwn, a ymarfogodd, pan oedd yn 57 o flwyddi oed, ym mhlaid y Senedd yn yr anhapus ryfel cartrefol; ond y golofn benaf a ddyrchafodd er coffadwriaeth i'w enw, oedd yr argraffiad cyntaf o'r Bibl Cymraeg yn wythplyg, cymhwys i'r llawgell, fel y gellid ei werthu am bris isel i'w wladwyr tlodion oeddynt ym moreu y Diwygiad yn hiraethu, yn sychedu, ac yn newynu am Air y Bywyd yn eu hiaith eu hunain. Yr argraffiad hwn o'r Bibl a ddaeth allan yn y fl. 1630. Y parchedig a'r duwiol Stephen Hughes, yn ei *Lythyr at rai Gweinidogion cyfrifol yng Nghymru*, a argraffwyd yn y fl. 1671, a grybwylla y syberwyd haelionus hwn o eiddo Syr Tomas, yn y geiriau hynod a ganlyn:—

"Syr Thomas Midleton oedd yr hwn, yn anad neb arall, a ddangosodd y trugaredd hwn yn gyntaf i'n gwlad, sef ei fod mewn cost i brintio y Bibl yn llyfr bychan, er budd i'r cyffredin bobl; er ei fod o'r blaen yn llyfr mawr yn yr eglwysydd. Y mae y coffadwriaeth

o Syr Thomas Midleton am y gwaith hyny yn anrhydeddus, ac yn fendigedig yng Nghymru, ac a fydd felly tra fo crefydd Gristionogawl ynddi.

"Yr wyf fi yn dymuno ar Dduw o'm calon, ar i bob bendith ysbrydol a chorfforol ddisgyn o'r nef ar bob un o epil Syr Thomas Midleton yng Ngwynedd, neu yn unlle arall. Rhodded Duw iddynt fendithion yn aneirif, fel tywod y môr, fel glaswellt y ddaiar, ac fel ser y nefoedd: a dyweded pob un yng Nghymru ag y sydd yn caru Duw, ac yn hiraethu am iechydwriaeth eneidiau pobl yno, Amen ac Amen, poed felly y bo, Arglwydd grasol; bendithia epil Syr Thomas Midleton, a bydded ei enw ef dros byth yn anrhydeddus."

Huw, chweched mab Richard Miltwn, ceidwad Castell Dinbych, fel ei frawd Tomas, a aeth i Lundain yn ieuanc, gan weinyddu yng ngalwedigaeth eurych (*goldsmith*); ond ei ddawn gynhenid oedd yn rhy helaeth i gymmeryd ei chaethiwo o fewn ceurydd y brif ddinas. Creigydd ac afonydd, mynyddoedd a chorsydd, oeddynt destynau ei fyfyrdod penaf. Ei ymgais cyntaf oedd ceisio glo llosgi i'w wladwyr yn Ninbych, o fewn milltir i'r dref; ond yn hyn bu yn aflwyddiannus. Cafodd well tyciant ym mwyngloddiau arian a phlwm yng Nghwm Symlog a'r Darren Fawr, uwch law Aberystwyth. Ei elw misol o'r gweithiau hyn a gyfrifid yn ddwy fil o bunnau. Ond yr hyn a ennillai mewn un man, efe a wariai mewn manau ereill. Yn nerth y miloedd a ennillodd yng Ngheredigion, y dyfrhaodd ddinas Llundain â dwfr rhedegog, a arweiniwyd dros 40 milltir o ffordd, dan 200 o bynt, drwy wlad anwastad, tros ddyffrynoedd a than fynyddoedd, allan o ffynnonau oerion Amwel a Siadwal, * * * ger llaw tref *Ware*, yn swydd Hertffordd. Yn y fl. 1608 (medd Mr. Pennant) y cymmerodd y Cymro dihafarch y gwaith mawrgais mewn llaw; efe a darawodd y graig, ac ar Wyl Mihangel, 1613, yr Afon Newydd a ddylifodd, i lenwi pibellau Llundain sychedig â digonedd o ddwfr iachus; a hyn yng ngolwg y Brenin Iago I, a phenaeth-

iaid y deyrnas. Os gofynir, Pa wobrwy a gafodd y gwladgarydd anturiawg gan y brenin, y brif ddinas oludog, ac uchelwyr y wladwriaeth, am ei orchestwaith? Gwnaed ef yn Farchog yn y fl. 1614! ac yn Farwniad yn 1622! Ond nid oedd y plu brithion hyn yn ei gap, yn talu dim yn ol iddo o'r holl filoedd a wariasai yn dwyn yr afon i Lundain, wrth yr hyn y tlododd ei hun a'i deulu, i gyfoethogi dyeithriaid. Tra yr oedd ynnill blynyddol yr Afon Newydd yn llenwi codau Cymdeithas yr Echwynwyr, dywedir fod rhai o deilwng etifeddion Syr Huw yn gorfod ymborthi ar defyll bara elusendai. Pe buasai Syr Huw yn un o lwyth *Iuda*, ac nid o lwyth *Rhirid Flaidd*, nid fel hyn y dygwyddasai. O *Lundain* annïolchgar! a oedd ryfedd i bibellau afon Syr Huw ballu diffodd dy goelcerth wenfflam yn y fl. 1666? Tra bu y Marchog mewn llwyddiant, ei wladwyr yn Ninbych a'i hetholasant chwe' gwaith olynol yn Aelod y Senedd dros eu tref. Bu Syr John Wynn o Wydir yn daer arno am gymmeryd yn llaw warchgloddiad y Traeth Mawr, rhwng Harlech a Phenmorfa; ond yr oedd Syr Huw erbyn hyn yn heneiddio, ac ansyberwyd ei wlad tuag ato yn ei ddigaloni, a Syr John yn rhy grintach: felly cafodd llanw y môr ei rwysg arferol, heb nemor attaliad, hyd y dydd hwn. Hunodd Syr Huw Miltwn yn nhawelwch angeu yn y fl. 1631; ond gwiwgofus a fydd ei enw tra safo Llundain, ac y diwellir hi â dwfr allan o ffynnonau deugain milltir o ffordd.

Y mab arall i Richard Miltwn, ceidwad Castell Dinbych, a soniaf am dano, yw y trydydd o'r naw brawd, sef Wiliam. Cafodd ei ddysg ym Mhrifysgol Rhydychain; ond er ei fwriadu i ryw swydd gartrefol, yn y gyfraith neu yr eglwys, fel y dywedodd Meredydd ab Rhys am Fadog ab Owain Gwynedd,

"Ni fynai dir—fwyned oedd,
Na da mawr, ond y *moroedd*."

Felly Wiliam Miltwn aeth yn ieuanc i wasanaethu yn

y fyddin, ac oddi yno i'r llynges freninol. Gwedi ymgais aflwyddiannus Philip II, brenin Spaen, i oresgyn Lloegr, â'i *Armada* fawr, yn y fl. 1588, cyffrowyd anian pob dewr yn Lloegr a Chymru i ddial y sarhâd, ac i dalu y pwyth. Heb law llongau lluosog y frenines, yr oedd amrai ereill dan hwyliau yn gwbl ar gost eu perchenogion. Yr oedd y Cadben Tomas Prys, y bardd o Blas Iolyn, yn un o'r anturwyr hyn; a dywedir mai efe, y Cadben Wiliam Miltwn, ac un Cadben Koet, oeddynt y tri wŷr cyntaf a losgasant fyglys yn Llundain, yn y fl. 1583, er mawr syndod y dinasyddion; er i Syr Walter Raleigh gael y gair o ddwyn gyntaf i'r brif ddinas yr arfer aflesol hòno. Tra bu byw Elisabeth, parhaodd y rhyfel rhwng Lloegr a Spaen. Bwriad y frenines a'i chynghoriaid yn hyn oedd, gwanhau ymgais diorphwys Philip i erlid y Protestaniaid, a diwreiddio eu daliadau oddi ar Gyfandir Ewrop, drwy ei gymhell i ranu ei nerth i wylied ar unwaith ei holl feddiannau yn Ewrop ac America. Yn y fl. 1591, anfonwyd chwe' llong o Loegr dan lywyddiad T. Howard, ail mab y Duc o Norffolc, i gyfarfod llyngesig Spaen, llwythog o arian, ar ei dychweliad o America. Ond Philip wyliadwrus a wybu am y gynllwyn mewn pryd i anfon deng cymmaint o longau i drosglwyddo ei lyngesig drysor-lwythog adref. Wiliam Miltwn oedd y cadben a anfonwyd gan y Llyngesydd Howard i wylied dyfodfa y gelynion, ac i roddi iddo hanes eu nerth a'u rhifedi. Yntau, wedi dilyn o hirbell am dri diwrnod, a ddychwelodd at ei lynges, nid gyda yr un annogiad gor-eofn ag un ei wladwr Syr Dafydd Gam i Harri V, cyn brwydr Azincwrt: "Digon i'w lladd—digon i'w cymmeryd—a digon hefyd i ffoi;" ond bod deng llong ym mhen un yn ormod o antur. Yn ol y cynghor hwn, ciliodd y Llyngesydd Howard â phump o'i longau; ond Syr Richard Grenville, yn ei long *Revenge* (Dial), a ommeddodd ffoi; ond efe a safodd ei fôr, nes y cyfyngwyd ef rhwng llynges Spaen ac Ynys Fflores (un o'r Azores). Yna efe a amcanodd dori ei ffordd drwy

dair ar ddeg a deugain o longau; ac wedi iddo yn wrol gynnal y frwydr ddiobaith dros bymtheg o oriau, efe a werthodd y fuddugoliaeth, yng nghyd â'i fywyd, yn ddrud i'w elynion. Yr oedd y Spaeniaid wedi cael aml enghraifft o'r blaen o ddewrder a medrusrwydd morwyr Prydain.

Bellach soniaf am yr hynodrwydd penaf yn nodweddiad y Cadben Miltwn, sef ei athrylith a'i ddawn farddonol. Y Dysgawdwr Ioan Dafydd Rhys, yn ei *Ramadeg* Cerdd Dafod, a gyhoeddwyd yn Llundain yn y fl. 1592, tudalen 234, a rydd iddo y tystiolaeth clodfawr a ganlyn:—"Y chwanegiad hwn a dderbyniais oddi wrth fy hen gyfaill caredig, y milwr calonocaf ar fôr ac ar dir, a'r mwyaf cyfarwydd mewn barddoniaeth Cymreig—Gwilym Ganoldref. A phe buasai efe gyfranog yn fy myfyrwaith hwn, fe ymddangosasai gyda mwy o awdurdod a pherffeithrwydd." Y chwanegiad a gynnwys o'r tudal. 234 hyd 249—bedair awdl ar amrywiol ddulliau pedair *Oes:* y gyntaf gan Wilym Tew i Fair ("Gochelwch y Surdoes"), o gylch y fl. 1460; yr ail gan Lewys Morganwg, 1520; y drydedd gan Simwnt Fychan, 1568; a'r bedwaredd gan Wilym Ganoldref ei hun, 1590—"ar y pedwar mesur ar hugain, y pedair Cynghanedd, a'r Cymmeriadau oll, mewn caniad o un pennill ar ddeg:" dechreu—"Crist o nef, cerais dy nod," &c.

Gan weled nad oedd *Gramadeg* I. D. Rhys yn addysgu y Cymry yn gyffredin, o herwydd ei fod gan mwyaf yn Lladin, cyhoeddodd y Cadben W. Miltwn, yn y fl. 1593, ei *Lyfr Barddoniaeth* yn 12plyg bychan, yn yr hwn yr eglurir "pedwar perthynasau Cerdd, sef Cymhariad, Odl, Cynghanedd, a Mesur." Y mae hwn, yn gystal ag un I. D. Rhys, yn gwbl yn ol Dosbarth gaeth Caerfyrddin. Ail argraffwyd y *Llyfr Barddoniaeth*, yng nghyd â *Flores Poetarum Britannicorum*, o gasgliad y Dr. Davies o Fallwyd, gan y Parch. D. Lewys, o Lanllawddog, yn y fl. 1710; a bu yn wasanaethol wedi hyny i bob cyhoeddwr gramadeg barddoniaeth. Ond y prif achos o ysgrifeniad y cof-draith

hwn yw Mydryddiaeth y Cadben Miltwn o *Salmau Dafydd*, ar y rhan fwyaf o'r 24 mesurau, heb law rhai mesurau ereill, nad ydyw *nodau angen* Dosbarth Caerfyrddin arnynt. Cyhoeddwyd y gwaith hwn gwedi marwolaeth yr awdwr gwiwgof, gan ei wladwr barddonol, Mr. Tomas Salsbri, yn y flwyddyn 1603.

Yr oedd Edmwnt Prys yn offeiriad sefydlog, wedi cyfanneddu y parth hwyaf o'i hir oes yn nhawelwch Maentwrog; nid oedd gan hyny gymmaint rhyfeddod iddo ef gyfansoddi Salmau Dafydd ar ddau neu dri o fesurau rhyddion, ag oedd i Wilym Ganoldref, yng nghanol prysurdeb a bloddest byddin ryfelawg, neu ym mhlith tân, a mwg, a tharandrwst brwydrau y weilgi, gyfansoddi yr holl Salmau hyny ar y caethion fesurau, yn bencerddaidd ac yn orchestol. Diau ei fod yn un o ryfeddodau yr oes, ac yn addurn teledwiw yn nodweddiad rhyfelwr. Pa bryd y dechreuodd ar ei faith orchwyl, ni wyddys; ond tystiodd â'i law ei hun, ar ddiwedd y Salm olaf, iddo ei gorphen y 24ydd o Ionawr, 1595, mewn ynysig yn yr India Orllewinol.

*"Apud Soutum Insulam Occidentalium Indorum."*

## ANGHREIFFTIAU O'R CYNGHANEDDIAD.

### SALM I. Adn. 5, 6.

*Mesur Cywydd.*

Ni welir annuwiolion
Ofer yn hir i'r farn hon;
A gwn na saif, gwan o said,
Deirawr y pechaduriaid,
Drwy fawl oll, i'r dyrfa lawn
O wŷr cofus—rai cyfiawn.
Duw a edwyn ffordd dyn da;
Dinystrir enwir yna.

### SALM III. Adn. 3.

*Englyn Unodl Union.*

Wyd Geidwad godiad Duw gwedi—i'm pen,
Rhag poen i'm hamgylchi;
Wyd fy mwcled mewn c'ledi,
Ion teg, a'm gogoniant i.

SALM XVIII. ADN. 18.

*Gwawdodyn Byr.*

Buont yn eirwon yn ymhoni
Yn fy nghul adwyth, yn fy ngh'ledi;
Yr Arglwydd culwydd, Celi—uchelfawr,
Yw y Bugail mawr, â bagl i mi.

SALM XXI. ADN. 13.

*Trybedd y Myneich.*

Moliant addoliant it' a ddyler,
Ein Ner, derchafer drwy or'chafion;
A hyny yn brydferth i'n Duw nerthawl,
I'w allu bo mawl â duwiawl dôn.

SALM CX. ADN. 7.

*Hen Fesur o Lyfr Hergest.*[1]

E yf o'r afon,
A hoffo'n hyffordd,
Ar y ffordd, gorhoff Ion:
Am fy Ner, syber son,
Cyfyd ei wyneb cyfion.

Yn awr, Mr. *Gwyliedydd*, esgusodwch fi am fod, mal hogyn diofal, cyhyd yn dywedyd fy neges, yr hyn ydyw, eich gwneyd chwi a'ch darllenyddion lluosog yn wybodus, fod *ail argraffiad* o *Salmau Dafydd*, o gyfansoddiad Wiliam Miltwn, newydd ei gyhoeddi gan Robert Jones, Bardd Mawddach, ac argraffydd yn Llanfair Caer Einion, ym Mhowys. Ei bris yn wnïedig, *dau* swllt; mewn byrddau, *hanner coron.*[2]

[1] Mesur *Cynghawg* yw hwn, yn ol Dosbarth Morganwg.
[2] [Yr Awdur ei hunan oedd golygydd yr argraffiad hwn; ac y mae Rhagymadrodd o'i eiddo wedi ei osod o'i flaen.]

# COF-HANES Y GWIR BARCHEDIG THOMAS BURGESS,

### YN DDIWEDDAR ESGOB TY DDEWI, OND YN AWR[1] ESGOB SALSBRI.

WRTH ystyried ymgais diflin yr esgob clodlawn a arweddai yn ddiweddar fagl Dewi, nid yn unig i drefnu ac i wella y llywodraeth eglwysig o fewn ei esgobaeth, ond hefyd i helaethu yr arferiad o dafodiaith gynhenid yr holl Dywysogaeth, gallai plant Gomer ryfeddu at yr ysbryd gwladgarawl a'i cynhyrfai. Yr oedd pwysfawredd ei alwedigaeth, a theimlad o'r cyfrif oedd ofynawl ganddo i Benaeth yr Eglwys gyffredinawl, yn ddigonawl, trwy fendith oddi uchod, i annog un o'i gynneddfau crefyddol ef—"i fod yn wyliadwrus, yn athrawaidd, yn iawn gyfranu gair y gwirionedd, mewn addfwynder i ddysgu y rhai gwrthwynebus, ac i argyhoeddi y rhai sydd yn gwrthddywedyd." Ond gan ei fod o enw a genedigaeth yn Sais, pa ham y dangosai fwy o ymdrech i barhau i'r Cymry eu dewisiaith, nag ereill o'i gydraddolion? Efe a deimlai y dylai pawb gael eu dysgu, mewn pethau o bwys tragywyddawl iddynt, yn yr iaith a ddeallent oreu. Ni feiddiwn ddywedyd bod gwaed Cymreig yn ei wythi yn effeithiaw arno; ond hyn a wyddom, ei fod o waedoliaeth Cymreig lledryw. Yn nheyrnasiad y Frenines Elisabeth, o gylch y fl. 1566, yr oedd y Dr. Nicolas Robinson yn esgob Bangor Fawr yng Ngwynedd. Yr oedd yr esgob hwn yn Gymro cyfarwydd yn ei famiaith, canys y mae hanes iddo ef, ar ddymuniad Morus Wynn o Wydir, gyfieithu *Buchedd Gruffydd ab Cynan*, o Gymraeg i Ladin. A Syr J. Wynn, baroniad, mab y Morus Wynn uchod, oedd gydnabyddus â'r Esgob Robinson, ac a ddywed

[1] [Sef, yn fl. 1826, pan ymddangosodd y Cofiant hwn yn y *Gwyliedydd*.]

am dano yn un o'i ysgrifau, fel hyn:—"Y swydd hon o Arfon, a fu yn faethle i chwech o ddysgedigion, a fuont esgobion mewn amryw fanau, yn nheyrnasiad y Frenines Elisabeth. O flaen y Dr. Risiart Fychan, y bu y Dr. Nicolas Robinson yn esgob Bangor. Gwr oedd efe o enedigaeth o dref Aber Conwy, o rieni parchus a goludog. Yr oedd ei dad yn benswyddog y dref hòno, yn cynnal llysoedd drwy awdurdod y llywodraeth, â swyddogion dano. Yr oedd yr esgob yn ysgolhaig godidawg, ac yn bregethwr hyawdl, yn enwedig os pregethai yn ddifyfyr; canys yn y modd hyny yr oedd yn rhagori arno ei hun. Ond yn fy marn i, nid oedd ei ddawn mor ddysglaer pan fyfyriai ym mlaen llaw. Myfi a'i clywais amrai weithiau—yn Eglwys Bawl yn Llundain, pan oedd y Senedd yn ymgyfarfod, ac yn fynych yn y wlad. Yr oedd efe yn wr synwyrlawn; a gadawodd nifer o blant ar ei ol, mewn cyflwr cysurus." Un o'r plant hyn oedd y Parchedig Huw Robinson, periglawr Bychdwn, yn swydd Ham: a merch iddo ef a briododd y Parch. T. Burgess, ei ddilynydd ym mherigloriaeth Bychdwn. Y T. Burgess hwn a ddygwyd i fyny mewn dysg yn Ysgol Caerwynt (*Winchester*); ac oddi yno bu yn aelod sylfaenawl o'r Coleg Newydd yn Rhydychain. Yn yr un athrofa glodfawr yr addysgwyd ei ŵyr ef, yr esgob diweddar yn Nhy Ddewi. O'r athrofa hon yr etholwyd ef yn Ysgolydd Coleg *Corpus Christi* yn Rhydychain. Gwedi hyny dyrchafwyd ef i fod yn Ysgol-frawd ac yn Athraw yn y Gymdeithas hòno. Bu yn aelod trigiannawl o'r Brifysgol am un mlynedd ar bymtheg.

Yn y fl. 1778, efe a gyhoeddodd Sylwadau ar Gyfansoddiadau yr hen Feirdd Groegaidd, *Sophocles*, *Euripides*, ac *Æschylus*.

Yn y fl. 1779, cymmerodd y radd gyntaf, sef Dysgybl yn y Celfyddydau (A.B.)

Yn y fl. 1780, bu ben-ymdrechwr am gamp-dlws y Brifysgol, ar y testyn—"Olrheiniad Hynafiaethau."

Yn y fl. 1781, cyhoeddodd ei argraffiad o waith

*Dawes* anfarwol, y *Miscellanea Critica:* yng nghyd â Rhagymadrodd, ac Olysgrif yn llawn o nodau dysgedig o'i gasgliad ei hun. Trwy gymhelliad ei gyfaill haelionus, Mr. Tyrwhit, y bu iddo aros yn y Brifysgol wedi iddo gael ei radd, fel y gallai yfed yn helaethach o ffrydiau gwybodaeth, yn lle ymneillduo ar wasanaeth eglwysig, can gynted ag y byddai mewn oedran addas. I'r dyben hwn, y cyfaill dysgedig a ffyddlawn uchod a gymhellodd arno ged blynyddawl, cydwerth â chyflog is-eglwyswr.

Yn y fl. 1782, cymmerodd y gradd o Athraw yn y Celfyddydau; ac yng nghorff yr un flwyddyn urddwyd ef yn ddiacon, ac yn offeiriad.

Yn y fl. 1784, cymmerodd wib gyflym, yn ysbaid y cyfrwng haf, drwy Fflandrys, Holand, a Brabant; yn yr hon y seiliodd gydnabyddiaeth â'r athrawon hynod hyny mewn dysg Groegaidd, sef *Valkenaer*, *Ruhnkenius*, a *Wyttenbach*.

Yn y fl. 1785, torwyd ar ei orchwylion athronaidd a llenyddawl yn y Brifysgol, trwy ddygwyddiad annysgwyliedig, sef gwahoddiad caredig oddi wrth y Dr. Barrington, esgob Salsbri, i ddyfod yn gapelydd teuluawl ac yn holiedydd (*examining chaplain*) iddo ef.

Y cyhoeddiad cyntaf o waith Mr. Burgess, at wasanaeth crefydd, oedd y "Silliedydd Caer Caradog," i'w arferyd yn yr Ysgolion Sabbothawl, yn y fl. 1786, yr hwn a ddilynwyd yn fuan gan ddau draethawd "Ar Adeiladaeth y Deml yn Ierusalem gan Herod."

Yn y fl. 1787, treuliodd chwech wythnos yn Paris yng nghymdeithas *Barthelemy*, awdur *Anacharsis*, cyhoeddydd *Largus*, *Cofion Groegaidd*, &c.; a *Larcher*, cyfieithydd *Herodotus*.

Yn y fl. 1788, aeth eilwaith i Holand, a bu chwech wythnos ym Mhrifysgol Leyden, pan ysbyswyd iddo gan Ruhnkenius, fod Wyttenbach wedi cwblhau ei gasgliadau o amrywiol gyfansoddiadau *Plutarch;* ac na fedrai gael un llyfrwerthydd a'i cyhoeddai. Ar yr achos hwn, ysgrifenodd Mr. Burgess i Loegr at

esgob Salsbri, y Dr. Barrington, yn awr esgob Durham; a bu i'r esgob gymmeradwyo y gwaith i ddirprwywyr Argraffwasg Clarendon yn Rhydychain; a derbyniwyd y cymmeradwyad, er boddlondeb hynod i ddysgedigion y byd.

Yn y fl. 1789, cyhoeddodd draethawd dienw, sef "Ystyriaethau ar Gaethiwed, a Diddymiad Masnach y Caethion," yr hwn, yn ol hyny, a gyfaddefodd fod yn eiddo ef, yn rhestr ei gyhoeddiadau. Ail gyhoeddwyd y traethawd hwn yn ddiweddar gan ryw ewyllyswyr da i ddiddymiad y fasnach greulawn hòno.

Yn y fl. 1791, efe a bregethodd ac a gyhoeddodd draethawd ar "Dduwdod Crist;" a chanlyniad o'r un testyn a bregethodd ac a gyhoeddodd yn y fl. 1818.

Yn y fl. 1791, ar farwolaeth yr Esgob Thurlow, symmudwyd yr Esgob Barrington o Salsbri i Durham; a Mr. Burgess a'i canlynodd ef, yn yr un alwedigaeth o gapelydd; ac ym mhen ychydig fisoedd, sef y cyfleusdra cyntaf, dangosodd yr esgob ei barchedigaeth iddo, drwy ei gyflëu yn un o gadeiriau y côr.

Yn 1795, rhoddodd yr esgob iddo beriglorïaeth Winston, lle paradwysaidd ar lan afon Tees; lle y treuliodd ei wyth mlynedd diweddaf yng Ngogledd Lloegr, gan ranu ei amser rhwng dyledswyddau ei blwyf, ei gadeiriaeth, a'i wasanaeth o gapelydd yng Nghastell Auckland.

Yn y fl. 1799, priododd ferch i John Bright, Yswain, cares agos i'r bresennol Arlwyddes Caerwynt.

Yn y fl. 1803, cyssegrwyd ef yn esgob Ty Ddewi. Ac yn 1804, bu yn offeryn bendithfawr i sefydlu "Cymdeithas Undeb Eglwysig" yn ei esgobaeth; dyben penaf yr hon oedd ffurfio sefydliad er dwyn i fyny wŷr ieuainc yn gymhwys i urddau offeiriadawl; y rhai oeddynt, o barth moddion bydawl, yn ddiallu i fyned tan addysg yn y prifysgolion Seisnig. Trwy gydweithrediad parhäus offeiriaid yr esgobaeth, yng nghyd â chymhorth haelionus oddi wrth amrai yn Lloegr, cydsyniad a chynnorthwy y ddwy brifysgol, syberwyd y brenin a'i brif gynghorwyr, y mae y dyben mawrydig

agos â'i gwblhau. Y mae Coleg Dewi, ger llaw Llan Bedr ar Deifi, wedi ei adeiladu, er mawr glod i awen yr adeiledydd (Mr. Cockerel), ac un ddosbarth o hono eisys yn barod i dderbyn ysgolheigion.

Ym mis Hydref, 1820, derbyniodd esgob Ty Ddewi orchymmyn oddi wrth ei fawrhydi y brenin i drefnu sefydliad dan yr enw, "Cymdeithas Freiniol Llëenogaeth," yr hon y mae ei fawrhydi wedi gwaddoli yn haelfrydig ag 1155 o bunnau yn flynyddawl: 1050 o bunnau i'w cyfranu rhwng deg o wŷr hynod am eu gwasanaeth llëenawl i'r byd: a 105 o bunnau am ddau eurdlws i anrhegu yn flynyddawl awdwyr moledig am weithiau o deilyngdod rhagorawl, neu olrheiniadau buddiol mewn dysgeidiaeth. Yr eurdlysau am y fl. 1824, a farnwyd i Wilym Mitfford, Yswain, am ei "Hanesiaeth Gwlad Groeg a'i Thrigolion;" ac i Angelo Mai, ceidwad Llyfrdy y Vatican yn Rhufain, am chwilio allan amryw gyfansoddiadau yr hen oesoedd, a dybid yn gyffredin eu bod wedi myned ar goll a diflant.

Am y flwyddyn ddiweddaf (1825) rhoddwyd yr eurdlysau i Iago Rennel, Yswain, am ei gyfansoddiadau daiaryddiaethawl; ac i Ch. Wilkins, Yswain, am ei chwiliadau i deithi mamiaith yr India Ddwyreiniawl.

Gosodir yma restr o gyhoeddiadau penaf yr Esgob Burgess:—

1. Sylwadau ar Gyfansoddiadau y Cynfeirdd Groegaidd, B.A. 1778.
2. Traethawd ar Olrheiniad Hynafiaethau, 1781.
3. Argraffiad o'r *Miscellanea Critica*, yng nghyd â Nodau Sylwadawl, 1780.
4. Dau Draethawd ar Adeiladaeth y Deml gan Herod, 1786.
5. Ystyriaethau ar Gaethiwed, a Masnach y Caethion, 1789.
6. Ymsyniadau ar Ysgrifau Dadleuawl y Dr. Priestley, 1790.
7. Dwy Bregeth ar Dduwdod Crist, 1791.
8. Tri Catechism ar Ansawdd ein Proffes, megys

Cristionogion, Aelodau o Eglwys Loegr, a Phrotestaniaid.

9. Casgliad o Draethodau ar Blaniad ac Anymddibyniaeth yr Eglwys Brydeinaidd.

10. Casgliad o Draethodau ar Dduwdod Crist.

11. Amddiffyniad o Wirinedd 1 *Ioan*, v. 7, yn erbyn haeriadau *Griesbach*, Esgob Caer Bedr,[1] a'r *Adolygiad Trimisawl*.

12. Detholiad o Draethodau a Sylwadau ar 1 *Ioan*, v. 7.

13. Nodiadau Eglurhaol *Wetstein*, *Bengelius*, a *Sabbaticus*, ar 1 *Ioan*, v. 7.

14. Llythyr at Offeiriaid Esgobaeth Ddewi, ar gyfran o'r Ail Gredo Antiochia, yn y bedwaredd ganrif, ym mhlaid gwirineb 1 *Ioan*, v. 7.[2]

Gwelir bod y rhan fwyaf o'r testynau uchod yng nglŷn ag athrawiaeth a chred o'r pwys mwyaf i bawb sydd yn arddel crefydd yr Ion croeshoeliedig. Dichon i destyn fod yn ardderchog ac yn bwysig ynddo ei hun: ond bob amser bydd gwerth a buddioldeb unrhyw draethawd a ysgrifenir arno, yn ymddibynu ar alluoedd a doniau yr ysgrifenydd. Byddai llai nifer y llyfrau difudd, pe gwnai pob awdur bwyso ei hun yng nghlorian "Pwyll pendefig Dawn," cyn iddo ymruthro yn ddifyfyr, i ddyrysu pynciau a fyddont yn bell uwch law ei ddealltwriaeth. Nid iawn y gweddai arfau Arthur Gawr ar Wenhudiw. Geill un, wrth ysgrifenu ar destyn, chwanegu at drysorfa gwybodaeth defnyddiawl; tra na wnai arall, ar yr un pwnc, ddim amgen na gwneyd yn fwy cyhoeddus ei anallu ei hun. Ond am gyhoeddiadau yr esgob dysgedig dan ein sylw, yn enwedig y rhai ar bynciau dadguddiedig yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, gellir haeru yn eofn, iddo wneyd cyfiawnder i'w destynau, trwy ddymchwelyd gwrthddadlau yr ymrysonwyr, a gwirio, ym marn

[1] [Y Dr. Herbert Marsh, cyfieithydd *Michaelis*.]

[2] [Yn ol y gofres ar ddiwedd *Harford's Life of Burgess* (Llundain, 1841), y mae holl gyhoeddiadau y Dr. Burgess yn 111 o rifedi. Symmudwyd yr esgob rhagorol hwn o Dy Ddewi i Salsbri yn 1825, a bu farw yn Southampton, Chwef. 19, 1837, yn 80 mlwydd oed. Gadawodd ei holl lyfrau i Lyfrgell Coleg Dewi Sant, Llanbedr.]

darllenwyr diduedd, wahanol Bersonau yn y Duwdod gogoneddus—sef Tad, Mab, ac Ysbryd Glân.

Rhaid yn oed i ei wrthwynebwyr gyfaddef ei fod yn ysgolhaig godidog, ac yn chwiliedydd i'r dyfnderau. Yn ei ddeheurwydd yn troi rhesymau yr anghred yn eu herbyn eu hunain, fe allai nad oes iddo gymhar ym mhlith ysgrifenyddion yr oes. Ond hyn sydd yn ddiwad, nad yw y ddull hon o ymddadlu yn tystio fod daliadau y dadleuydd ei hun yn wirionedd: canys nid yw ein profiad ni fod ereill ar gyfeiliorn yn gwirio ein bod ni ein hunain yn ddigyfeiliorn. Hyn sydd eglur, mai yr hwn a brofo arall ar gyfeiliorn oddi ar ei resymau ei hun, yw y rhesymydd goreu. Ac ar y maes hwn, ar byncian ysgrythyrawl dadleuedig, nid oes ymdrechwr mwy penigamp na'r Esgob Burgess. Os nad yw yn wastad yn gallu profi y pwnc y mae yn ei amddiffyn, y mae efe o leiaf yn gwneyd yn amlwg fod ei wrthwynebydd yn seilio ei resymau ar sugndraethau twyll.

Megys cynllun o ddull yn gwrthbrofi, gosodir yma rai o'i sylwadau o blaid y gred gyffredinawl fod y *nef* yn lleawl, yn gymdeithasfa o ysbrydion gwynfydedig. Ac fel y sylwyd eisys, os nad yw ei resymau yn *profi* gwirionedd ei ddaliadau ei hun, y maent er hyny yn *diddymu* rhai ei wrthwynebydd, Mr. Belsham, yr hwn a haerai fel hyn:—

"Y mae y dadguddiadau diweddar mewn *seryddiaeth*, yn gwrthbrofi y godyb plentynaidd fod y *nef* yn lle o hanfodoldeb. Y mae Duw bob amser, ym mhob lle, yn bresennol. A *chyflwr* yw y nef, nid *lle*. Bod yn berffaith rinweddawl, ac yn berffaith ddedwydd, yw bod mewn *nef*, lle bynag y byddo gorsaf y *bod* dan ystyriaeth."

I hyn yr atebai yr Esgob:—

"Dadguddiadau diweddar mewn seryddiaeth ydynt yn gwbl anghymhwys i wrthbrofi lleoldeb y nef. Cyfyngir *seryddiaeth* yn llwyr i ddeddfau y bedyssawd *gweledig* a *sylweddawl*, heb fod yn y lleiaf yn gymhwysiadawl at yr hyn sydd *anweledig* ac *ansylweddawl*. Nid yw Mr. Belsham, yr wyf yn barod i goelio,

yn gweled eithafoedd ei wrthddadl i fodolaeth nef gymdeithasawl. Os nad oes nef unfodawl, nis geill fod uffern unfodawl, na gwahanfodolaeth rhwng y cyfiawn a'r anghyfiawn yn y byd tragywyddawl; nis geill fod 'lle gwedi ei barotoi i ddiafol ac i'w engylion,' ac i 'ysbrydoedd y cyfiawn, y rhai a berffeithiwyd;' dim adgyfodiad y meirw; dim dydd y farn; ac yn ganlynawl, dim 'bywyd y byd sydd ar ddyfod.' O herwydd nid oes genym obaith am fyd arall, ond a sylfaenir ar yr un ddadguddiad ag y sydd yn sicrhau i ni fod nef ac uffern gwahanfodawl; hyny ydyw, un i'r rhai cyfiawn, a'r llall i'r anghyfiawn. Os nad yw hyn wirionedd, nid yw yr holl obaith a fynwesom o ail gyfarfod ein hanwylion rieni, brodyr, chwiorydd, plant, a chyfeillion, o fwynhau cymdeithas engylion, patriarchiaid, a merthyron, y rhinweddol a'r daionus o oesau ereill, yn y byd a ddaw, yng nghyd â'r holl dyniadau galluog i fuchedd grefyddawl, y rhai y mae y fath obaith yn eu meithrin—*oll*—*oll* ond hudoliaeth fel breuddwyd y nos—*oll* ond tywyllwch, ammheuaeth, ac annuwiaeth, os yw gwrthddadlau Mr. Belsham yn erbyn awdurdod yr Ysgrythyrau, yng nghylch nef unfodawl, a chyndrigiant Crist yno cyn gosod sylfeini y bydoedd, yn *wirionedd! Ond nid ydynt* wirionedd! Y mae ei resymeg, oddi ar seiliau anghysson ac anaddasadwy, yn anrhesymawl; ei ddadleuon oddi ar iaith yr Ysgrythyrau yn wagsaw, ac yn anramadegawl; a'i brif-bwnc yn groes i undeb barn yr Eglwys gyffredinawl. Ein Iachawdwr a ddywed, 'Yn nhy fy Nhad y mae llawer o drigfanau. Yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi.' Er hyny, Mr. Belsham a haera nad oes y fath le a *nef*. Yr apostolion a ddarlunient y nef, dan yr enwau canlynawl:—*dinas*—*teyrnas*—*gwlad*—*Ierusalem newydd*, &c.—geiriau mor gyflawn ddarluniawl o hanfodiad penodawl, a chymdeithasiad ysbrydawl, nas gellir gwadu lleoldeb y nef, a chydfodoledd cyfanneddiad gweinidogion ffyddlawn yr Arglwydd, heb wadu ar unwaith awdurdod Duwfawl yr Ysgrythyrau Sanctaidd."

Haerai Priestley, Paine, ac ereill o'r un athrofa, eu bod yn hapus o gael eu geni mewn *oes* o oleuni, a rhydd ymofyniad; *oes* hefyd o ryddid yn caniatäu iddynt arfer *rheswm* i'w cyfarwyddaw i chwiliaw allan y gwirionedd. I hyn atebai yr esgob, "Na ddarfu i'r rhesymwyr hyn fanteisiaw dim, er mor euraid yr *oes* y buont fyw ynddi, tuag at iawn ddeongliad yr Ysgrythyrau; gan na chwanegasant gymmaint ag un pwnc at eu credo, nad oedd mewn bod ym mhlith rhyw hereticiaid neu gilydd yn y tair oes cyntaf o oed Crist. Nid oes," meddai efe, "bwnc yn eu credo, yn yr oes oleu resymawl hon, na chafodd ei holi, a'i farnu yn gyfeiliornus, drosodd a throsodd, gan Dadau y Brif Eglwys, mewn cymmanfaoedd cyhoeddus, o fewn ysbaid y cannoedd a enwyd uchod. Felly, y mae y geugred Duwwadawl (fel y gelwid Undodiaeth y pryd hyny) yn gorphwys ar ei gwaddod, ac megys gwedi hepian, o ran dim dadguddiad newydd, er ys pedwar cant ar ddeg o flwyddau.

"Gwaith ofer yw gosod rheswm amddifad i ddeongli yr Ysgrythyrau. Nis geill rheswm amgyffred ond y rhanau moesawl ac hanesawl o honynt: am ddirgeledigaethau Gair Duw, y mae llusern ysblenydd rheswm oleu mewn tywyllwch, ac ni ŵyr ddim! Pa achos oedd am ddadguddiad oddi wrth Dduw, os yw rheswm dynawl yn ddigonawl i'n cyfarwyddaw ar y llwybr sydd yn arwain i'r bywyd; neu pa fodd y geill peth fod yn ddirgelwch, os bydd o fewn cyrhaedd amgyffrediad rheswm?"

Yn ei ymddygiad cymdeithasawl a theuluaidd, nid oes ym-mhlith meibion dynion un mwy difalch, a llariaidd ei dymmer, nag esgob Salsbri. Y mae yn reddfawl iddo ymarweddu gyda'r fath fwyneidd-dra a symlrwydd calon ag a hynodai ymddygiad y Cristionogion cyntaf. Er ei fod yn awr, debygem, wedi chwanegu at ddyddiau blynyddoedd gwr, neu wedi gadael ei ddeg o seithiau, y mae er hyny mor awchfrydus i amddiffyn crefydd, ac mor fywiog ac anniffygiawl ag erioed i ddisylfaenu dadleuon gwrthwynebwyr

Cristionogaeth yn gyffredinawl, ond yn fwy enwedigawl y sawl a ddrygliwiant osodedigaethau a daliadau yr Eglwys Sefydledig. Er hyn ymddengys, meddyliem, ei fod o'r tyb y gellid yn hawdd ddwyn i ben undeb cyffredinawl rhwng Eglwyswyr a Neillduwyr Protestanaidd, gan ei fod o'r farn, bod yr amryfeiliant rhyngynt yn fwy ar ymddangosiad allanawl nag mewn pynciau sylweddawl. Ond ag Eglwys Rhufain (Pabyddion) ni fyn ddal na masnach na chymmundeb; o herwydd bod undeb rhwng dwy eglwys mor wahanawl eu seiliau yn annichonadwy; er a freuddwydiai y Parch. Mr. Wix ac ereill i'r gwrthwyneb. Nid rhaid i ni ond chwiliaw ychydig i hanesiaeth Ewrop, ac yn enwedig yn ein teyrnas ein hunain, yn nheyrnasiad y brenin Ioan, a'i fab Henri y 3ydd, i weled llygredigaeth daliadau, a chreulawn orthrech y grefydd Babaidd, pan fyddai mewn grym, i ddangos anian y bwystfil â saith ben a deg corn; yr hwn, er ei fod er ys oesau yn ddiniweidiach ei ymddygiad at ddynolryw nag y bu, nid yw hyny brofiad ei fod wedi newid ei anian reddfawl: y mae eto yn meddu yr un ysbryd, er bod yr ysbryd hwnw yn hepian, a than oruchwyliaeth llywodraethau Protestanaidd. Safed Protestaniaid ar eu gwylfa, rhag iddo eilwaith ymddihunaw, "cyn myned i ddistryw."

Hir oes, heb loes, heb lysiant—i *Burgess*
Heb argoel aflwyddiant;
Poed o'i ol orseddol sant,
Gwr o'i ddawn ac urddunant.

# LLYTHYRAU IDRIS FYCHAN

## AT OLYGYDD SEREN GOMER.[1]

### LLYTHYR I.

Mr. Gomer,—Y mae Cader Idris, meddant, yn hen sefyllfa seryddion; a minnau, ar ddysgwyl ymddangosiad *Seren Gomer*, a ddringais yn fy meddwl i ben y glogwyn, i graffu ar ei llewyrchiad cyntaf: a chan droi tua'r deheu, gwelwn Fôr Hafren fel gwydr ysblenydd, a'r tir eto yn lled dywyll. Yna, meddwn, môr yw y parthau dysglaer yn y lleuad, a chyfandir ac ynysoedd yw "y gwr â'r baich drain." Ar hyn, gwelwn yn eglur Gernyw, Dyfnaint, a Gwlad yr Haf, o'r tu hwnt i'r gloew-for; a chribau mynyddoedd Cymru olynol yn

[1] [Ymddangosodd y ddau Lythyr hyn yn y *Seren Gomer* wythnosol; y cyntaf yn y 4ydd rhifyn, Ionawr 22, 1814, a'r ail yn y 27fed, Gorphenaf 2, yn yr un flwyddyn. Gwrthwynebwyd y cyntaf gan y Golygydd (y Parch. Ioseph Harris), y Parch. Elieser Wiliams, Ioan Tegid, ac ereill. Yr oedd y Golygydd a Thegid yn frwdfrydig iawn dros eithafion yr ysgol newydd mewn llythyraeth, ac E. Wiliams yn bur wydn o blaid yr hen ysgol. Y mae rheswm Mr. Wiliams o blaid arfer *di* yn gadarnhaol yn gystal a nacaol, mor gywrain ddigrif, fel y mae yn werth ei gofnodi, rhag disgyn o hono i ebargofiant.

"Rhag eich blino ni soniaf fi ddim ond am un neu ddau o bethau yn ychwaneg, a hyny'n *gyntaf*, mewn perthynas i'r modd y cyfnewidir y gair *di* mewn cyfansoddiad. Y mae yn wir fod y gair *dy* yn chwanegu'r ystyr, ond y mae'n eglur hefyd fod y gair di'n fynych pan gyfansoddir ef â gair arall, yn chwanegu'r ystyr yn yr un modd, canys fel y mae'r llythyren *a* mewn cyfansoddiad yn y Groeg, yn lleihau'r ystyr, ac weithiau, o'r tu arall yn ei chwanegu ac yn ei liosogi yn anghyffredinol, felly y mae'r gair *di* yn y iaith Gymraeg weithiau yn naccaol, megys *difai*, *difeddwl*, &c. ac weithiau y mae'n chwanegu at ystyr y gair yn y cyfansoddiad, megis, dioddefaint, *diben*, difyrru a phan fyddo'n *chwanegu'r* ystyr, y mae yn ei *chwanegu* ac yn ei liosogi mewn modd rhyfeddol, canys talfyriad ydyw *di*, bryd hynny, o'r gair *diau*, felly pan sonier am yr hyn y mae dynion yn gael o galedi, fe ddywedir eu bod yn *goddef adfyd*, neu yn *goddef* trallod, ond pan sonier am oddefaint y gwaredydd, fe ddywedir *dioddefaint*, hynny yw, *goddefaint* yn *ddiau*, mewn modd na bu erioed y fath *oddefaint*, o'r blaen. Ond yn y modd diweddar o ysgrifenu'r gair, fe ellir rhoddi ystyr arall iddo, a meddwl mai, *dy oddefaint di* a hysbysir, a bod yn bur debyg bod un o flaenoriaid yr ymbleidiau yn ein plith yn gofyn i'r llall, pa beth a wnaeth waredigaeth mor fawr i'n canlynwyr? a bod y llall yn atteb, *dy oddefaint di*, nid *dioddefaint* yr Achubydd."—*Seren Gomer*, rh. 7, Chwef. 12, 1814.

Yn y wedd yna yr *ymresymai* gwr o ddysg y Parch. Elieser Wiliams ar lythyraeth yr iaith Gymraeg yn y 19fed ganrif o gyfrif Cred!]

Cristionogaeth yn gyffredinawl, ond yn fwy enwedig...
sawl a ddrygliwiant osodedigaethau a daliadau
Y Eglwys Sefydledig. Er hyn ymddengys, meddy...
ei fod o'r tyb y gellid yn hawdd ddwyn i ben un...
cyffredinawl rhwng Eglwyswyr a Neillduwyr Pr...
anaidd, gan ei fod o'r farn, bod yr amryfeiliant rh...
ynt yn fwy ar ymddangosiad allanawl nag mewn p...
sylweddawl. Ond ag Eglwys Rhufain (Pabydd...
fyn ddal na masnach na chymmundeb; o herwydd...
undeb rhwng dwy eglwys mor wahanawl eu s...
annichonadwy; er a freuddwydiai y Parch. M...
ac ereill i'r gwrthwyneb. Nid rhaid i ni ond...
ychydig i hanesiaeth Ewrop, ac yn enwedi...
teyrnas ein hunain, yn nheyrnasiad y breni...
fab Henri y 3ydd, i weled llygredigaeth...
chreulawn orthrech y grefydd Babaidd, ...
mewn grym, i ddangos anian y bwystfil â...
deg corn; yr hwn, er ei fod er ys oesau yn...
iach ei ymddygiad at ddynolryw nag y...
hyny brofiad ei fod wedi newid ei anian
mae eto yn meddu yr un ysbryd, er bo...
hwnw yn hepian, a than oruchwyliaeth ll...
Protestanaidd. Safed Protestaniaid ar eu...
iddo eilwaith ymddihunaw, "cyn myned...

Hir oes, heb loes, heb lysiant—i *Burg...*
Heb argoel aflwyddiant;
Poed o'i ol orseddol sant,
Gwr o'i ddawn ac urdddunant.

goleuo; yn gyntaf, Banau swydd Gaer a Brycheiniog, yna Pumlumon, Cader Idris, yr Aran, Eryri, &c. Gwelwn effaith y seren yn ymledu fwyfwy i'r gwastadedd, megys y goleuni càiaid ar doriad y wawr: yr estroniaith, wedi unwaith oresgyn yn helaeth, yn cilio yn ol i'r dwyrain, yng Ngwent, Ewyas, Ystrad Yw, Maelienydd, Cedewain, a Maelor; a'r hen gyffiniau, o Gaer Dydd i Gaer Lleon Gawr, megys llinyn y cyhydedd yn terfynu rhyngthi a llywodraeth y Frythoneg. Tybiwn hefyd, yn llewyrch eich *Seren*, y byddai undeb a brawdgarwch yn cynnyddu mwy na chynt rhwng amrywiol bleidiau, fel "na chenfigenai Ephraim mwy wrth Iudah, ac na chyfyngai Iudah mwy ar Ephraim:" gwelwn, yn yr ysbryd, ogan ymbleidiol ac erlidigaeth, fel gwiberod anferth yn tynu eu colynau atynt, ac, â'u cynffonau rhwng eu gaflau, yn diflanu i'r tywyllwch, o gyrhaedd llewyrch y *Seren*. Amen: felly bo.

Dymunaf eich nawdd i sylwi ychydig ar ansawdd a threfnedigaeth y *Seren*. Ni welais eto ond un golwg arni; ond ychwaneg o sylw a rydd ychwaneg o gydnabyddiaeth. Nid hunan-serch, nid awydd i feio, sydd yn fy nghymhell i hyn, ond awydd i gymmeradwyo undeb o bob rhyw; undeb mewn brawdol gariad; undeb hefyd a chydffurfiad cyffredinol yn y ddull o lythyreg, neu y *drefn o ysgrifenu Cymraeg*. Yn awr neu byth i Ddeheu a Gwynedd fod yn uniaith. Mae anian anesmwyth ynom ni: hawdd genym flino ar bethau arferol, er bod eu buddioldeb yn parhau: blinodd Adda yn ymattal yn Eden: yr Israeliaid a flinasant ar y manna: y Rhufeiniaid a flinasant ar eu hen ddull o arfau cedyrn, a hyny a fu achlysurol i'w distryw hwynt gan y Barbariaid: a gellir chwanegu hefyd fod rhan fawr o genedl y Cymry wedi blino ar y llythyrenau mwyaf cynnwys-rym yn yr egwyddor. Yr oedd yr hen lythyreg Cymreig yn cael ei barchu gan y dysgawdwyr mwyaf enwog er pan gyfieithwyd yr Ysgrythyrau, hyd yn ddiweddar, pan roddodd prysurdeb lyffethair ar bwyll a synwyr; ac y dechreu-

odd yr arfer o wanhau yr iaith tan esgus ei harddu hi. Pa ddyn call a gymmerai ei gynghori i dynu ymaith y colofnau o'i adeilad er mwyn boddio llygad blysig? Pwy a brysurai i harddu pont, trwy daflu i lawr ei chanllawiau hi? Mae'r iaith Gymraeg yn fwy trefnus a pherffaith ei chystrawen, nag un iaith arall, fe allai, yn y byd: y mae fel corff cyfan-gwbl, heb un aelod ofer ynddi; neu fel ei barddoniaeth ei hun, heb lythyren ynddi a ellir ei hebgor heb adwy neu adfail. Yn y Frythoneg, mae pob llun yn arwyddo sain; a phob sain, unigol neu gyssylltedig, yn cyflwyno ystyr i'r meddwl. Mi a welaf eich bod chwithau, Mr. Gomer, yn deol *h* allan o'r geiriau *parhau*, *trymhau*, *mwynhau*, &c., gan eu hysgrifenu *parâu*, *trymâu*, *mwynâu*, &c. Nid yw rhai yn cyfrif *h* yn llythyren, ond yn hytrach yn "arwydd uchenaid:" ond beth bynag ydyw, mae mor anhebgorol yn ei lle priodol ag un arwydd neu lythyren arall yn yr egwyddor. Nid yw y cyfnewidiad sydd genych, sef y bachell fforchog (^) uwch ben, nac yn harddu yr argraff, nac yn lleihau llafur y cyssodydd; a phe byddai yn gwneyd yr un neu y ddau, byddai wrth hyny yn gwanhau ystyr y gair i'r llygad wrth ei weled, i'r glust wrth ei glywed, ac i'r meddwl wrth ei amgyffred. Rhoddwch genad i mi arddel nad yw eich gair newydd *parâu* yn *barhäus*, nad yw eich gair *trymâu* mor *drwm* ag y dylai fod, na'ch *mwynâu* yn arwyddocäu digon o *fwynhâd*. Iaith anian ei hun yw y Gymraeg, ac ni ddieddyf ei chaboli, ei darnio, a'i chlytio, fel y meidd-iech wneyd â'r Seisnaeg, y Ffrangaeg, neu y Wyddel-aeg, gan fod yn y rhai hyny lythyrenau segur, y nifer a fynoch, i chwareu tawlbwrdd â hwynt yn awr eich madrondod: ond nid felly y Gymraeg odidog ei chyf-ansoddiad; cyffelyb yw hi yn hyny i awrlais cywir cywrain; os tynwch olwyn allan o hono, dyna ef yn fud. Nid yw eich bai chwi, fy nghyfaill, yn hyn o gyssegr-ledrad, yn gynnwysedig mewn dim ond eich bod yn *dilyn y lluaws;* ond na ddilynwch y lluaws i wneuthur drwg, trwy annhrefnu eich mamiaith.

Gadëwch ei chyfansoddiad mor ddilwgr, ei hymadroddiad mor egnïol, ag yr ysgrifenwyd hi gan eich tad, ac y llefarwyd hi gan eich mam. Na throwch yr hen briod ddiwair, *h*, allan o'i meddiant, er mwyn rhoddi ei lle i un goegen drythyllach arall. Prin y soniaf am eich gwaith yn gwrthod y llythyren ddwyol yn *honno*, *hynny*, &c.: mae *hono* eisus yn y Gymraeg; a pha wahaniaeth a wnewch rhyngddynt? a pha fudd, pa les a gynnygwch i'ch darllenwyr yn y fath fasnach dibwyll? Na fernwch fi yn rhy llym; cofiwch fod "cerydd ffyddlon yn well na chusan y dygasog, yr hwn sydd dwyllodrus." Soniaf am un bai arall yn eich llythyreg newydd: nid ydych yn gwahaniaethu rhwng *oedd* ac *odd* yn nherfyniad geiriau: yn yr un ddull yr ysgrifenwch *teyrnasodd* (*he reigned*, *or did reign*) a *theyrnasoedd* (*kingdoms*). Sain dalgron yw *odd* i derfynu gair gwneuthurol (*verb active*), a sain leddf yw *oedd*, angenrheidiol i derfynu y rhif luosog, megys *miloedd*, *cantoedd*, *pobloedd*, *moroedd*, &c. Rhoddwch grebwyll yn y gadair, deliwch gymmanfa gohebwyr, a phenderfynwch ar hyn o sylwiadau perthynol i iawn ysgrifenyddiaeth.

Gair neu ddau eto yng nghylch *Barddoniaeth*. Gwahoddasoch y prydyddion o Aber Tawy i Aber Cynwy, ac o Aber Teifi i Aber Honddu, i chwareu yn llewyrch eich *Seren*, mor lluosog a morgrug yn yr haul, neu grethyll y bodiau o amgylch abwyd bach y pysgodwr: ond hoff genyf weled yn eich rhif. 1, eich bod yn medru gollwng y ller trwy y rhidyll: parhäed y telynau rhawn ar barwydydd eu gwneuthurwyr, ac na fydded i Awen gael ei hanurddo â serthedd a gogan. Yn eich rhif. 1, dylasai dau fardd Morganwg gyfnewid eu sefyllfanoedd; dylasai Iolo gynghaneddu ar y pedwar ar hugain, a Gwilym ar y mesur penrydd; ond na ddigaloned Gwilym, fe ddichon prydydd o hono, ond iddo sylwi mwy ar reolau y cynghaneddion: darllened waith ei wladwyr, Lewis Morganwg, Meurig Dafydd, ac Edward Dafydd o Fargam; a boddloned bod yn ddysgybl am un dydd a blwyddyn.

Nid oes dim gwedi fy annog i'r sylwiadau hyn, Mr. G., ond ewyllys da i chwi, i'ch darllenyddion, ac i'ch cyhoeddiad cymmeradwy; a dymunaf arnoch, os gwelwch y llythyr hwn yn werth ei gyhoeddi, ei argraffu yn yr hen ddull o ysgrifenyddiaeth fel ag y mae; canys ni fynai henwr o'm bath i ymddangos yn y ddull newydd, mwy nag mewn penwisg ynfyd, a chlychau wrth ei sodlau.

Wyf yr eiddoch, &c.,

IDRIS FYCHAN.

*Ion.* 10*fed*, 1814.

---

LLYTHYR II.

SYR,—Gan i chwi, yn ol tystiolaeth y brawd *Morgan* (Rhif. 6.) dderbyn fy llythyr cyntaf atoch "gydag annïolchgarwch, a'i ateb â geiriau ymrysongar," a chan nad oedd genyf, pan ysgrifenais, na bwriad nac ewyllys i godi cythraul ym mynwes neb, mi ddiofrydais ddal fy llaw ar fy ngeneu,

Fel llwynog neu fil llonydd,
"Heb son, ond gwrando be' sydd."

Wrth wrando a dal sylw, gwelwn mor fywiog oedd yr hen Adda, nid yn unig i roddi sen am sen, a dant am ddant, ond hefyd dwy sen, dau ddant, a dwy llythyren, am un o bob rhyw; felly, tu hwnt i'm dysgwyliad, fe dyfodd y ddadl yn gynhen, a'r gynhen yn gâd lidiog a phleidgar. Ond yng nghanol y rhyfel geiriog a llythyrenog, os nid dysgedig, mi welwn, Mr. G., bod eich *Seren* yn ennill dysgleirdeb, er gwaethaf y cymylau duon, a'r tawch caddugol, a fyddent yn awr a thrachefn yn tywyllu y ffurfafen. Y llewych gloew

yma a ennillwyd trwy eich cydsyniad chwi, Mr. G., â chynghor y brawd *Geredig* ac ereill, i edfryd yn ol i'w lleoedd priodol a chyfreithlon, *oedd* yn nherfyniad geiriau lluosog, *odd* yn nherfyniad berfau, *h* i gryfhau sain berfau cedyrn yn lle y gromfach fenthyg, &c. &c.; a thrwy hyny mae eich *Seren* fuddfawr yn fwy hylif a dealladwy i 999 o bob mil o'ch darllenyddion.

Mae hyn yn fy arwain, Mr. G., i sylwi ychydig ar y ddull o ddadlu sydd arferedig gan blaid y Croesffuriaid yn eu gwrthatebion. Y cyntaf yw *Tudur* (Rhif. 6). "Pa beth y mae *Idris*," meddai efe, "yn ei wneyd i'r *h* yn y geiriau *trymaidd*, *trymder*, *mwyniant*, *mwynaidd*, &c. A wna efe eu hysgrifenu fel yma, trym*h*aidd, trym*h*der, mwyn*h*iant, mwyn*h*aidd, &c.?" Mae gwagsawrwydd yr holiad hwn yn ddigon o ateb iddo. Yr oeddwn gwedi holi adferiad yr *h* i'r berfau par*h*au, trym*h*au, &c., fel yr oeddid yn eu hysgrifenu ac yn eu seinio pan oedd yr iaith buraf: ac yn lle y bunt deilwng oedd dyledus i mi, ac i bob Cymro cywir, mae *Tudur* ac ereill yn cynnyg i ni ysgubell o wellt. Os yw berfau yn arwyddo *gweithrediad*, "beth bynag a ymafael dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th holl egni." Diammheu bod egni yn fwy anianol i sain berf nag i sain enw gwan, megys *mwyn*, *mwynaidd*, &c.; canys ni ellir seinio y geiriau hyny yn *rhy fwyn*. Ni fedraf edrych ar *baraau*, *trymaau*, neu *barâu*, *trymâu*, &c., heb feddwl am ddeadell o fynod geifr yn brefu yn llesg ar y glogwyn yn ol caenen drom o eira. Nid wyf yn cofio i *Dudur*, yn ei lythyr maith sawrweraidd, gyffwrdd ym mhellach na hyn â'r pwnc mewn dadl: am hyny mi a'i gadawaf i rifio "morgrug yn yr haul," ac i ymdrechu â'r "gwr a'r baich drain;" canys "pob cyffelyb ymgais." Ond dylaswn gofio y gelyniaeth sydd gan *Dudur*, *Hynaws*, ac ereill, i'r hen feirdd celfyddgar a dysgedig, a fuont golofnau yr iaith yn yr oesau tywyll, pryd nad oedd neb arall, na lleyg na llên, yn ei choleddu. "Mae coll neu newid llythyren yn y wasg," meddai *Tudur*, "yn ddigonawl achos er taflu y gynghanedd fwyaf rywiog bendramwnwgl, na bydd

hi werth ei chodi o'r dom byth mwyach!" O feirdd! O farddoniaeth! O synwyr! O wirionedd! Amynedd i bawb a'ch edwyn; a mwy o oleuni i'r sawl sydd ddyeithrol i chwi! "Na bydd hi werth ei chodi o'r dom," wedi colli neu newid un llythyren yn y wasg! Felly yn ddiau, fe allai na bydd i blant yn yr ysgol, nac i lawer o hen wragedd; ond i ddyn yn adnabod barddoniaeth gywir, reolaidd, nid eill un anhawsder ddygwydd os newidir rhai llythyrenau gan ysgrifenydd trwsgl neu gyssodydd anghywrain. Mae awdl gyfrodedd gaerog yn puro ei hun fel dwfr wrth ymlithro. Nid yw gem ddim llai ei gwerth er syrthio trwy ddiofalwch "i'r dom;" gem yw hi byth. O hyn derbyniwch anghraifft neu ddwy: ym marwnad Syr R. Herbert a las ym Mambri (1469) o waith Ieuan Deulwyn, yn y cyhoeddiad o *Orchestion*, gan Rhys Jones (tudal. 135), mae braich feius fel hyn:—

"Tyrfa wan yw Trefenni."

Fe wna "Trefenni" y tro i ddarllenyddion anghyfarwydd; i'r cyfryw byddai yn air sefydledig mewn rhyddiaith, neu gân fongleraidd: ond i un yn deall rheolau barddoniaeth mae yn amlwg mai

"Tyrfa wan yw Tre Fenni,
Ond tra fu hwn, nid tref hi,"

a ysgrifenodd y Deulwyn; canys un o feirdd cywrain Morganwg oedd.

Eto, yn *Seren Gomer* (Rhif. 3), mae englynion o waith y *Cawr Gwan;* ac na argraffwyd hwynt yn y ddull yr ysgrifenwyd hwynt gan yr awdwr sydd amlwg: canys tybiwn fod y *Cawr* nid yn unig yn deall barddoniaeth, ond hefyd yn cyfansoddi yn dra chywrain ar ryw amserau i'r lleuad. Y linell ydyw,

"Goleuo tywyllwch lawer."

"Goleuo tywyllwg lawer" a ysgrifenodd y *Cawr;* ac o wrthwyneb i amledd terfyniadau, ac i gyfoethogrwydd iaith, y troed tywyll*wg* y *Cawr* yn dywyll*wch* y *Seren.*

Mae *tywyllwch* a *thywyllwg*, *tragywyddol* a *thragywyddawl*, y naill mor gymmeradwy a'r llall, yn enwedig mewn barddoniaeth—

"At wyllon y *tywyllwg*,
I oddef fyth ei ddu fwg."
GRON. OWAIN.

Heddwch a pharch, gan hyny, i'r hen feirdd cywrain a dysgedig: er bod eu cyrff yn llwch, eto eu gwaith celfyddgar a fydd glodfawr tra bo ddealladwy Frythoneg bur. Dywedir mai y Parch. E. Evans (y Prydydd Hir) a ysgrifenodd y rhagymadrodd Seisneg ym mlaen Casgliad y *Gorchestion*, &c., gan Rhys Jones: gwrandëwch arno ef, chwi wradwyddwyr barddoniaeth, ac na ymgyffelybwch i'r madyn a ddywawd fod y grawnwin yn surion:—"The works of the bards in this collection cannot fail of giving satisfaction to those who are versed in British poetry; as for those who are unacquainted with it, I would advise them not to criticise what they do not understand."

Gan eich bod chwi, Mr. G., wedi cyhoeddi eich gwrthwynebiad i lythyrau hirion, dylwn dalfyru; ond caniatëwch cyn gorphen i mi gyfarch y Croesffurfydd cyndyn hwnw, Mr. J. J. o'r B—l—.[1]

*Wr ieuanc*,—Yn *Seren Gomer* (Rhif. 8) y cefais gydnabyddiaeth â chwi gyntaf. Yn eich llythyr hwnw yr ydych yn galw eich cyfoedion, ieuenctyd Cymru, i *dybio* eu hunain yn ddoethach na'u dysgawdwyr; ac yn eu hannog i ddysgu ar dafod yr enwau *milwraidd* a osodwyd yn rhes yn Geiriadur Byr[2] y *Seren*. Diammeu eich bod, er ieuenged ydych, gwedi ystyried yr effeithiau a darddent yn anianol oddi ar y fath athrawiaeth gwerthfawr i lunio cynneddfau eich cyfoedion. Mae'r cynghorion yn dadgan eich oed; ac ni buasai achos i chwi gyhoeddi mewn ymffrost mai herlod oedd-

[1] [Hyny yw, Mr. John Jones o'r Bala, sef Tegid, yr hwn oedd y pryd dan sylw yn wr ieuanc o gylch 22 oed, ac yn yr ysgol yng Nghaerfyrddin. Ym mis Rhagfyr y flwyddyn hon y derbyniwyd ef i Brifysgol Rhydychain.]

[2] [Math ar Egluriadur o'r geiriau ansathredig a ymddangosent o wythnos i wythnos yn *Seren Gomer*.]

ych. Ond y mae eich ammharch chwi i'r enwog Ddysgawdwr Johnson yn eich gwradwyddo chwi yn fwy na dim: gwr oedd Johnson na chafodd ammharch erioed ond naill gan genfigen neu anwybodaeth. Yr ydych yn dra chlochaidd yn gofyn (Rhif. 13), "A ydyw pob un o'r diwygwyr presennol ein hiaith yn is law Johnson?" Yr ateb ydyw, Ydynt yn ddiau. Ar hyn dyma chwi yn taflu eich hun i un pen i'r clorian i bwyso eich corffilyn yn erbyn y cawr hwnw o ddysg a dawn. Rhag cywilydd, wr ieuanc, disgynwch ar frys o'r clorian, cyn i'r nenbren dori y chwysigen sydd ar eich iad. A ddarllenasoch erioed ddim o waith y Dr. J. heb law taflen neu ddwy o'i Eirlyfr? Rhoddaf gynghor i chwi ddarllen ei Ramadeg ef, i weled ei farn ef am eich bath chwi ym mhlith y Seison gynt. Darllenwch hefyd ffug-chwedlau Æsop; ystyriwch ddeongliad y dammegion, yn enwedig y llyffant a'r eidion, y mul byw a'r llew marw, y neidr ynfyd a'r dduren; a rhyfeddwch pa fodd y gellid dychymmyg chwedlau, cynnifer o flwyddau yn ol, yn eich darlunio chwi a'r Dr. J. mor gywir.

Yr ydych yn cwyno ar feithder llythyrau *Myrddin*, er bod eich llythyrau eich hun yn llawn mor feithion, a hyny hefyd heb gyfnewid dim ar y rhygyng, *oedd* yn lle *odd*, *odd* yn lle *oedd*, a tharian Lausus, a chwithau eich hun yn Æneas Ysgwydwyn yn lladd pawb o'ch blaen. Gofidus wyf drosoch na feddwch nemawr o awdurdodau o'ch plaid am eich mympwy, heb law y *V fawr* a'r *ipse dixit:* ni byddai yr awdurdodau hyny yn ddigonol i neb, i un herlod trwy holl fynyddau Cymru, ond i Mr. J. J. o'r B—l— yn unig. Eich nawdd, syr, yr ydych wedi gwysio D. ab Gwilym yn ei ganiadau brys difyfyr; ond pa beth a wnewch i'w ganiadau pwyllus a gorchestol ef—

"Taro wnaeth, terwyn oedd,
Trwst taran tros y tiroedd," &c.?

Pa beth a wnewch i'r holl awdwyr gorchestol, Tudur Aled, D. ab Ieuan Du, D. Nanmor, Gut. Owain, Iolo

Goch, W. Lleyn, Gron. Owain, a llu cadarn na ddeuwn y rhawg i ben â'u rhifo, oll a thystiolaeth yn eich erbyn agos ym mhob dalen o'u gwaith. Do, heb law D. ab Gwilym, dygasoch brofiad allan o waith yr hen Sion Philip, druan, pa fodd y bu i chwi anghofio eich modryb Lowri Hywel? gan fe allai ei bod hithau ar droiau yn prydyddu yn eich dull chwi; er fy mod braidd o'r farn, pe buasai eich modryb hòno yn fyw yn awr, y buasai hi yn tori gwialen fedw yng nghoed y Fach Ddeiliog i'ch ceryddu chwi am wrthod eich parch, ac am eich nacâd o hono i'ch uwchraddolion diammheuol. Un o'r gemau dysgleiriaf yng nghoron ieuenctyd yw *gwylder* gweddus. Yr ydych o berchen dawn; na chamarferwch y rhodd, ac na choeliwch gyfoedion o lai dawn na chwi eich hun, os dywedant nad oes gyffelyb i chwi; canys y mae yn berygl bod hunandyb a gweniaith yn dechreu gwenwyno eich cynneddfau chwi.

Er gwrthddadl *Alltud Tref Llundain* (Rhif. 24), nid wyf yn gweled bod *Myrddin* yn cyfeiliorni wrth gyssylltu y Chwyldroad Ffrengig a'r chwyldroad a amcanwyd yn y Lythyreg Gymreig; yr oeddynt yn gydamserol; ac yr oedd anian llaweroedd o'r Prydeiniaid y pryd hyny yn ddigon hysbys. "Trwy bwyll yr oedd dyrwyn y bellen." "O flewyn i flewyn yr oeddid yn bwriadu gwneyd y llwdn yn llwm." "Olwyn o fewn olwyn." "*Suaviter in modo, fortiter in re.*" Cyfnewid bob yn ychydig, ped fai ond teiliwr i newid ochr y tyllau a'r boglynau ar sipog. Fe erthylodd y Chwyldroad Ffrengig ar anghenfilod erchyll; ac y mae yr erthyl Cymreig â'i wich yn llesg ddiobaith: gan hyny, Mr. J. J., na siglwch ei gryd yn rhagor, ac na chenwch *hai lwli* mwy uwch ei ben.

Ar y pynciau mewn dadl, Mr. Gomer, sef *oedd*, *odd*, *âu*, *hau*, *di*, *dy*, *am*, *an*, *ym*, *yn*, mi ysgrifenaf dro arall, os rhoddwch genad.

Ydwyf, eich ewyllysiwr da,

IDRIS FYCHAN.

# ADOLYGIADAU.

## POWYSION;

### SEF, ODLAU AC YNGLYNION A DDANFONWYD I EISTEDDFOD GWRECSAM, MEDI 13, 1820. GEE, DINBYCH, 1821.

Bod y *Gwyliedydd* mor eon ar ei ymddangosiad cyntaf ar glawr beirniadaeth, a meiddio cynnyg sylwiadau ar waith gradd o ysgrifenyddion mor hyddig, anynad, ag y mae beirdd yn cael y gair yn gyffredin eu bod, pan gyffyrddir â'u gwaith heb folach, sydd yn gofyn peth eglurhâd. Os beirdd, ni ddylent fod mewn diffyg o ddawn callineb; ac os call hwynt, hwy a oddefant addysg; nid yn unig er eu mwyn eu hunain, ond hefyd er lles pawb ereill a dramwyant o hyn allan ar hyd hyfryd lwybrau awenydd ber. Dymunwn fod yn hybwyll yn y gorchwyl hwn tuag at bawb, ac yn enwedig tuag at y genedl bigawg-arf, blaen- rhediaid cad eiriawg, y rhai, mae yn deg gyfaddef, y byddai yn fwy dewisol genym gyfarfod ag arth wedi colli ei chenawon na gwynebu beirdd mewn digofaint: ac nid oes ond un ystyriaeth yn ein cefnogi i fyned ym mlaen yn y sylwiadau canlynol, sef, na wna nac ynglyn nac awdl dori esgyrn.

Cynnwysiadau y *Powysion* ydynt Bedair Awdl ar *Farwolaeth Sior III;* Pum Awdl ar *Hiraeth Cymro am ei Wlad;* a Thrigain a Chwech o Ynglynion ar yr holiad, *Pa beth yw Awen?*

### I. MARWOLAETH SIOR III.

Bardd enwog yn nyddiau y Frenines Elsbeth a gwynai fel y canlyn, fod ei gyfoesion feirdd yn canu yn rhy fynych glod i wŷr mawrion heb ei haeddu:—

"Pob taiog a'n cyflogai;
Peidiwn, gwybyddwn ein bai:
Onis trown, ystryw ennyd,
Ni chawn ni barch yn y byd.

Cauwn ar y fainc hynod
I rai a ryglyddai glod;
A gadael, gafael gyfiawn,
Iangwr yn iangwr a wnawn;
Penaeth yn benaeth beunydd,
Penaeth yn benaeth y bydd;
Eryr yn eryr naw-radd,
A brân yn frân, heb fwy radd;
Gwalch yn hael-walch gwehelyth,
A barcud yn farcud fyth!"[1]

Pe buasai y bardd godidog hwn yn fyw heddyw, ni chawsai achos i geryddu ei frodyr am ei marwnadau cyfiawn-farn i'n rhadlonaf Frenin Sior III. Ei goffadwriaeth ef sydd "fel cymmysg arogldarth trwy gyfarwydd waith yr apothecari; melus ydyw fel y mêl ym mhob geneu, ac fel cerdd mewn gwledd o win."—*Mab Sirach.*

Am yr awdl gyntaf yn y casgliad, o waith y Parch. *T. Jones*, o Ddinbych, nid oes genym ddim i ddywedyd ond canmoliaeth:—

"*Nil de mortuis nisi bonum.*"

Yr ail, gan *Dysilio Fychan*, yw yr unig awdl drefnus o barth gosodiad y mesurau, gan fod pob pennill drwyddi yn gyfunrhyw; sef ynglyn unodl union, cywydd wyth ban, a thoddaid; a hyn a wna bedwar ban ar ddeg ym mhob pennill. Ond nid yw y diweddiad mor beraidd glymedig i'r glust, gan nad ydyw y toddaid amddifad yn cyd brifodli â'r ddeufan cywydd nesaf ato, yn ol yr hen arferiad.

Yn yr ail bennill gelwir y Gymraeg yn "iaith y duwiau;" gan ddilyn, fe allai, farn *Pezron*, a dychymmygwyr ereill, mai Cymraeg oedd iaith ddaiarol Sadwrn, Iou, Mawrth, a'r rhan fwyaf o deulu y Pantheon cenedlig. Mae y bardd, mewn nod cyfeiriol, yn rhedeg i noddfa gellweirus, gan ddywedyd, nad yw efe "yn ceisio gan neb eu haddoli hwynt, os na chwennychant eu hunain." Dyma ryddid cydwybod heb neb yn gofyn am dano.

O ran bod y bardd yn byw megys yn gymmydog i

[1] [Sion Tudur a'i cânt: gweler *Cyf.* i. 262.]

Sior III, mae ei awdl yn dangos cydnabyddiaeth tra chywir â'i fuchedd, a'i holl rinweddau moesol, teuluol, a gwladwriaethol. Gwedi ei euro â chlod hyd y pennill 17, mae yno yn arwedd tôn mwy cwynfanus, son am yr anhwyl gofidus a'i goddiweddodd yn ei henaint:—

> "Ys uchel mae achos achwyn—bellach!
> Fe ballodd sain addwyn:
> Egr y modd! ni cha gwr mwyn,
> Ganllaidd fywyd, heb gynllwyn.
> Damwyn, y bywyd yma
> Nid yw'n perthyn i'r dyn da:
> Amryw odfa, mawr adfyd
> Yma gawn, heb ammau, i gyd.
> Llyna oedd—rhaid llawn addef,
> O fad WR! ei fywyd ef:
> Gofid a blinder a gafas,
> Gwaew a chur gau a chas.
> Rhyw ddyrnod o nychdod wnaeth—ei brofi;
> Modd o gyni heb nawdd meddyginiaeth!"

Mae amryw ddynion, pan osodir hwynt mewn swyddau uchel, yn rhy dueddol i falchïo, ac i ddangos eu hawdurdod ar bob achos: felly ninnau, yn ein swydd newydd, gwedi dwyn tystiolaeth fod y bardd yn adnabod ei destyn yn dda, yn ei ganlyn yn hyfedr, heb wyraw o'r dechreu i'r diwedd, trwy 21 o bennillion; a bod yr awdl yn drefnus a chaniadaidd, ni fedrwn ymgospi heb ddynodi ynddi ryw ychydig o wallau mân, o barth cystrawen, a rheolau gwarantedig y gerdd dafod.

Tudal. 30, pen. 16. *Sillgolliant:*—

> "'Mha le daw gwr y 'mhlaid gwan
> Ail i SIOR 'n ei lys eirian?"

Ni chytunai â chyhydedd cywydd fod yn gyflawn ysgrifenyddiaeth fel hyn:—

> "Ym mha le daw gwr y 'mhlaid gwan
> Ail i SIOR yn ei lys eirian?"

Tudal. 28, pen. 11. Rhoddir, er mwyn cynghanedd, "*gwaredd*" (enw gwan) yn lle *gwaraidd:* ac yn pen. 20, tudal. 32, "*gwelaid*" (berf) yn lle *gweled.*

Tudal. 29, pen. 14. "Yr Eigion faith a rwyg*ant*—a rwyg*ent*, os sonir am amser Sior y III; a pha ham "*curaent* a *dygaent* ar dôn," yn lle "curent a dygent," &c.? Ai bai yr argraffydd ydyw?

Tudal. 27, pen. 8. A ddywedir yn y pennill hwn fod *ystafelloedd* y brenin yn ei *weled* ef? Fe allai mai troell ymadrodd ddwyreiniol ydyw; sef bod sylweddau meirwon yn *gweled*, yn *clywed*, yn *canu*, &c.

Tudal. 20, pen. 13. Gair cyrch *pendrwm*:—

"Tro nesaf at Deyrnasiad—Gwladwriaeth,
A *Dewrion* pedeir-gwlad"—

*g l* yn ormodedd.

Tudal. 24, pen. 1:—

"Dy hen ffau di-unhoff fodd"—

*f* bendrom.

Tudal. 27, pen. 9. *Rhy debyg*:—

"Ond gwar*a*idd, trwy nôd gwiwr*a*d."

Bai bychan.

Tudal. 29, pen. 13. "Awen *y* gana"—Awen *a* gan*a;* ond byddai hyn yn ormodd odlau. Felly hefyd pen. 6:—"Rhagluniaeth rh*i* goleun*i*." Ond pa ham na ysgrifenasid hon fel y llinell yn pen. 20:—"Rhagluniaeth Ior goleuni;" ac felly ochelyd y bai, os bai ydyw? Dylai gormodd odlau drwy y bogeiliaid *i* ac *a*, &c., gael eu tynu o blith y pymtheg bai cyffredin, trwy ddedfryd eisteddfod, o herwydd nad oes ond ambell awdl yn lân oddi wrthynt.

Y mae yn ddymunol na byddai i'n hamcan, yn hyn o orchwyl, fwrw tramgwydd ger bron neb, yn enwedig ein gohebwyr y beirdd. Dywenydd yw ymgyfeillachu ag awenyddion, tra byddo eu gwên geneu yn arwyddo tawelwch ysbryd, a meddwl siriol: ond rhag eu cuwch gwareder ni a hwythau. Nid dangos gwallau er mwyn eu cyhoeddi i'r byd yw ein prif fwriad; ond cyflwyno cynnorthwyon diwygiad yn gyffredin, fel y byddo i feirdd ieuainc ofalu yn brydlawn am fod yn ddeallgar

mewn ysgrifenyddiaeth gywir, fel yr ymhoffont mewn cynghaneddion llithrig, cydbwys, a geiriadaeth hyrwydd a sylweddol; heb orllanw o eiriau ammherthynol: ac iddynt ymarfer yn hyn, cyn bod yn rhy bengaled i ddysgu. Gwedi iddynt unwaith ymgynnefino â "thwyll cynghanedd," ac anafau ereill cerdd dafod, odid fyth iddynt fedru cyfansoddi yn hylithr a chywir. Os derbynir ein hymgais yn hyn gyda gradd o foddlonrwydd ac hynawsedd, nyni a awn rhagom yn ein sylwiadau, o'r naill rifyn i'r llall; ond os cyffry digofaint nebun, fel y dangoso sarigrwydd, nid awn i ymrafaelio; gan ddewis yn hytrach roddi heibio ein hyngnadaeth, er mwyn tangnefedd a brawdgarwch.

Y drydedd Awdl o goffadwriaeth am y brenin hwyaf ei deyrnasiad, a mwyaf hynaws a chariadus ei gynneddfau, a fu erioed yn arwedd coron Prydain, sef y diweddar Sior III, sydd o gyfansoddiad *Cywryd.* Mae y bardd hwn, yn ei drofegau a'i ehediadau, yn dangos ei fod yn llawn mor gydnabyddus â barddoniaeth estronol Groeg a Rhufain, ag ydyw ag awen Cymry; yn enwedig cyfansoddiadau ein goreuon feirdd, o Dudur Aled i Oronwy Mon. Mae arwyddion dysg a llafur ar yr awdl, ac amryw ranau o honi yn orchestol. Gwedi cwyno y golled am y brenin, i grefydd, ac i gyfraith; ym mhlith y celfyddydau y mae yn dadgan cyflwr *Llongwriaeth* o'r achos, yn y pennill hwn o Fyr a Thoddaid (tudal. 37):—

"Llai angorau Llongwriaeth:—gwallus yw
    Golli SIOR ei Phenaeth!
  Ef, wr diwall, i Fordwyaeth,
  A droe hwyliau'n dra ehelaeth;
  I gludaw, ag awel odiaeth,
  Golud i euro Gwladwriaeth:
  Ond bellach, trymach bob traeth—lle'r hwylio,
  Gan wylo, gwan alaeth!"

Yng nghylch rhai cyfnewidiadau dedwyddol yn India, y dywed, tudal. 39:—

"Ymddyrchwn, edrychwn draw!
  A gwelwn ddi-wag wylaw
  Am SIOR, a mwya' siarad
  Hyd ochrau glynau pob gwlad.
  O'r Albion, hyd araul-barth,
  Mae gwaeddi, poeni 'mhob parth!

"O'r Dwyrain, ei Râd araul,
Cyrhaeddai, lle rhedai'r Haul;
Ymledodd, hoyw-fodd hefyd,
Rhad Hwn, hyd ddau Begwn byd!

"Yn lle hocedau, Dulliau[1] deilliaid,
A berw ymenydd eu Braminiaid,
Ior Duw a ranodd i'r Dwyreiniaid,
Drwy ei SIOR anwyl drysor enaid:
Un berffaith Gyfraith a gaid,—un lwyddiant,
A'r un Addoliant a'r hen Ddeiliaid."

Ei ddarluniad o esgyniad ysbryd Sior i'r nefolion leoedd sy farddonol hynod; ond y mae yn rhy faith i'w gyflëu yma. Cyfarwyddwn ein darllenwyr i'r *Powysion*, tudal. 43.

Yn nhudal. 35, y mae yn dwyn rhestr o sylweddau difywyd i ddwyn tystiolaeth i urdduniant ein diweddar frenin. Nid ydym ni yn beio ar y bardd am hyn, mwy nag y beiem ber Ganiedydd Israel am ei drofegau, lle dywed, "Y *môr* a *welodd* hyn;" "Y *mynyddoedd* a neidiasant fel hyrddod;" "Y *dyffrynoedd* a floeddiant ac a ganant," &c.; ond dylem ddywedyd fod yn dra hawdd cynghaneddu banau fel y rhai a ganlyn:—

"Chwi Drefydd, Bronydd, Bryniau!
Chwi Faesydd, Llwynydd, Llanau!
Chwi dirion ucha' Dyrau!
Chwi Dai amlwg, chwi Demlau!
Gwall yw eich parch golli'ch pen,
Oedd addien, yn ei ddyddiau."

Gallwn feddwl y buasai yn galed farnu yn erbyn yr awdl hon, oni buasai i amryw wallau cynghaneddol ddianc heb sylwiad y cyfansoddydd; megys y rhai a ganlyn.

Tudalen 33:—

"AWr oer daeth, i ARWR DU—a'n FFRED'RIG
Ni pharhaed i'w Gymru."

Tudalen 34:—

"SIARLOTTA, un fwyna' fu!
Duw oered ei daearu!"

[1] The different *castes* among the Hindoos.

"Mawr ŵylwyd *mae* ar elor,—o'*u* ber-oes
Y bwriwyd ein Trysor."

(Tybiwn mai *Siarlotta* oedd y trysor a fwriwyd ar elor, yna dylai y trydydd ban uchod fod fel hyn:—

"Mawr wylwyd *mai* ar elor—o'*i* ber-oes," &c.)

Tudalen 37:—

"*Dysg* a welwyd yn Dês gwiwlon:
O'i *Chadeiriau*, tyrau tirion,
Aeth i'n Llanau'i *wythi*'n llawnion."—

(Mae yma anghydfod rhywiau:—"Dysg—o'i chadeiriau," yn fenywaidd; ac "ei wythi" yn wrywaidd.)

Tudalen 38:—

"Yn ei Foesau, *iawnaf weision!*—*Sant* oedd,
*Sant*eiddiwyd ei Goron!"

(Gresyn fuasai rhoddi "iawnaf weision" yng nghyffion cromfachau, er bod y ddeuair hyn yn gofyn felly. Pwy ydyw y *gweision* hyn? Ai holl ddeiliaid cywir y brenin? neu ei brif-gynghorwyr yn unig? "Sant" a "santeiddiwyd" ydynt yn gymhwys berthynol i'w gilydd mewn rhyddiaith, ond mewn cynghanedd groes, neu draws, y maent yn "rhy debyg.")

O ran talfyriad, gosodwn yma rai banau heb sylwiadau ar amryw o honynt.

Tudalen 39:—

"I *Deyrn*asoedd *Deyrn* oesawg.—
*Dywed I*dal! (a da *dywedi*).—
A'r *Hispania*, er ei *hasw boeni*—
A'r *Almaen* y *gae*'n gweini."

Tudalen 40:—

"O ben *Gwilym ab Ioan*, a goelir."

(Syr Wiliam Jones oedd fab (ab) i Wiliam Jones, F.R.S., gwr genedig ym Mon. Felly *Gwilym ab Gwilym* oedd y cyntaf.)

"Bawb—'*Caem dra ll*idiawg bob *cam drall*odion."

Tudalen 41:—

"I *gyd* addoli *gyd* a'i Ddeiliaid.

Tudalen 42:—

"O gwyrodd *Barn* y gwirion—yn ei law."

(Os y brenin yw y gweithredydd, yna dylai fod—"O gwyrawdd *Farn* y gwirion." Ni wyra Barn ei hun, mwy nag y dywed Gwirionedd gelwydd. Dynion yn unig sydd yn gwyro Barn.)

"*Yma á ch*'ledi cyn y *machludodd*—
. . . . . am Fawredd?
Mae'n feirw Batriarchiaid!"

Tudalen 43:—

"Cwyd, rhag gwall, arall o'i *Lin*."

Tudalen 44:—

"A rhan SIOR, yr hynaws Sant,
O gyrhaedd *Aur ac Ariant*."

(O gyrhaedd pob peth arall daiarol.)

Soniwn am un amryfusedd arall o'n heiddo ni, neu yr awdwr; sef cyflead y bannod goreiriawg *A* ac *Y*, y naill yn lle y llall, fel y canlyn:—

Tudalen 33:—

"O'i golwg, Ow *y* gilia."

(H. y., "*a* gilia.")

Tudalen 34:—

"*Y* anfonawdd iawn Fynwes!"

(H. y., "*A* anfonawdd.")

Tudalen 43:—

"Uwch ben y Seren siriol,
*Y* gywir enwir o'i ol."

(H. y., "*A* gywir," &c.)

"Lle *a* trig, llu bendigaid."

(H. y., "Lle *y* trig.")

Tudalen 45:—

"Dal iawn serch, a dilyn SIOR,
Un fwriad i'r nef oror,
Lle *a* saif, yn Llyw is Iôn"—

(Wrth y "Lle *a* saif," rhaid i ni ddeall nef y gwynfyd; yr hon a saif, y pryd yr ä y nefoedd elfyddol heibio gyda thwrf; "hwy a heneiddiant fel dilledyn, ac a newidir." Nid ellir meddwl mai *Sior* a saif, heb *y* yn lle yr *a*. Byddai sylwiadau cywir-farn ar y bannodau ac arddodiadau yn dderbyniol genym oddi wrth ein gohebwyr; megys—

Y dydd y darfu, &c.
A darfu y dydd.
Y dydd a ddarfu, &c., &c.)

Y bedwaredd Awdl, a'r ddiweddaf, ar y testyn galarus hwn, ydyw yr eiddo *Cynfarch*, i'r hwn y barnwyd y gadair. Y mae yn dechreu ei awdl yn yr hen ddull gaethiwol o gyrch-gymmeriad, sef bod i ryw bwys-air yn niwedd un ynglyn ddechreu y nesaf, ac felly ym mlaen. Anghraifft, tudal. 46:—

" *Sior Drydydd*, eilfydd i'w oes,—ni chafwyd,
Na chyfuwch Deyrn eirioes,
Na'i dirionach drwy einioes,
Na gallu mwy, na *gwell moes*.

"Pwy *well* i'w oes, *moes* gymmesur,—nag ef,
Na'i gyfuwch mewn llafur?
Pwy i'w Wlad mwy penllad pur,
Cyn ei ddal can ei ddolur?"

Hen feirdd, o D. ab Gwilym i W. Lleyn, a ganent yn orchestol yn y ddull hon. Y pwys-air cyntaf yn yr awdl a fyddai yn ddiweddaf hefyd. Weithiau, tua chanol yr awdl, fel dyn blinedig yn symmud ei faich oddi ar y naill ysgwydd i'r llall, hwy a newidient y cyrch-gymmeriad am gymmeriad llythyrenol, sef bod i bob ban ddechreu â'r un gydsain; neu hwy a'i newidient am brifodliad parhäus a chyfunsain: a rhyfeddol fel y cynghaneddent yn y fath lyffetheiriau. Eithr *Cynfarch* a ymddygodd yn gallach, gan dori y llyffethair yn ol y pummed ynglyn; ond efe a gofiodd am

ddiweddu yn "Och saeth"—gan iddo ddechreu ei awdl felly. Yn hyn y mae yn gyffelyb i farchog yn gyru ar draws y rhedfa, yn lle myned oddi amgylch at y gadair. Mae yr awdl hon yn Gymreigaidd ei theithi, yr iaith gan mwyaf yn sathredig, ac am hyny yn dra dealladwy i'r Cymro uniaith, ac ar yr un pryd yn foneddig a diledryw. Y cynghaneddion ydynt lithrig, heb wahansangiadau o eiriau llanw, y rhai a gyffelyba awdwr *Egluryn Ffraethineb* i ddodrefn diles mewn ty, sef yn peri mwy rhwystr na gwasanaeth. Yr ydym o'r farn bod *Cynfarch* yn cynghaneddu yn debycach i'r hen feirdd na y rhan fwyaf o'i gydoeswyr; fel y gwelir wrth y cymhariaeth a ganlyn:—

Ni fynai ein Naf iawnwaith
Na thrawsder na chwerwder chwaith;
Noddai'r da, urdda i'w ol,
Ni adai ddim niweidiol;
Yman â neb *cam* ni wnai,
*Cam* arall nis cymmerai;
E fynai a f'ai uniawn,
Ac ni *wnai*, ond a *wnai*'n iawn:
Yn llaw Dduw, ein Llywydd oedd,
Arf i'n cadw ar faingc ydoedd."

CYNFARCH, *i Sior III* (1820).

"Nid oes *falchder* yn f' Eryr,
A fo *balch*, fe â heb wŷr;
A ro budd i *wŷr* heb ball,
A fyn *gwŷr* fwy nag arall;
Ef a *wnaeth* bob gwas'naethwr,
Hwyntau a *wnaeth* yntau'n wr;
*Gwr* a wella *gwŷr* wellwell,
A'r *gwŷr* a wna'r *gwr* yn well."

D. NANMOR, *i D. ab Rhydderch o Ogerddan* (1450).

Dywed *Cynfarch* ar Ddiddymiad Masnach y Caethion, tudal. 53:—

"Torwyd dattodwyd tidau—gwŷr Affrig
Er hoffrwydd i'w breintiau,
Acw, O dyned fu'r cadwynau!
Elwa dynion ail eidionau!
Ni bu cyllyll neu bicellau
Yn darwain noethach driniaethau;
SIOR fu rydd rwygydd yr iau,—dad-glymodd,
Llwyddodd ei allweddau."

Ar lwyddiant yr Efengyl, tudal. 55:—

"Dir nesodd i'w deyrnasiad,
Amlder goleuder i'n gwlad;
Bu'n ffyddlon foddion di fâr
I *Air Duw* euraw daear;
Carai anfon, caer wynfyd,
*Beibl* i bawb o bobl y byd;
I'r byd gael gwir wybodaeth
O deg Ner, y Duw a'i gwnaeth."

Y beiau gwaharddedig mewn Cerdd Dafod ydynt *bymtheg* o nifer, yn ol y gramadegau cyffredin; ond dylid lleihau y rhifedi trwy farn ac awdurdod eisteddfod; am nad oes nemawr o wahaniaeth rhwng rhai o honynt a'u gilydd. Y 4ydd, sef *Proest i'r Awdl;* y 5med, sef *Dybryd Sain;* a'r 11fed, sef *Ymsathr Odlau;* a gydfyddent dan yr un enw: a *Thwyll Cynghanedd* a *Chamosodiad*, nid ydynt annhebyg i'w gilydd. Byddai felly *ddeuddeg* o feiau, a hyny yn ddigon. Yn yr Ieithadur Cymraeg, a gyhoeddwyd gan awdwr yr awdl dan ein hystyriaeth, argraffiad 1818, tudalen 191, rhoddir anghraifft o'r bai a elwir Rhy Debyg, fel hyn:—

"*Rhyfedd* mor ddrwg yw *rhyfel*."

Dywedir gwedi hyny:—"Geill fod amryw yn *debyg*, ond nid yn *rhy debyg*;" megys,

"Y mae â *pheth* am ei *phen*."

Yn ein tyb ni, mae y naill mor feius, neu mor oddefol, a'r llall. Pe buasai D. Ddu o Hiraddug, neu ryw ddychymmygydd arall yn yr oes dywyll, yn gyru hanes o blith y "Tylwyth Teg," fod pedwar o ddeiliaid Mangre Abred yn gyhuddedig o gydfradwriaeth yn erbyn y llywodraeth sefydledig; ac ar y dydd brawd i ddau o'r pedwar gael eu barnu yn euog, a'r ddau ereill gael eu cyfrif yn ddiniwed; er nad oedd dim rhagoriaeth rhyngddynt o ran eu trosedd, ond bod y ddau euog yn ddwy fodfedd o hyd, a'r ddau ddiniwed ond modfedd bob un; a farnem ni y ddedfryd yn gyfiawn, am i'r beirniaid bychain olygu corffolaeth y gwrthryfelwyr yn lle eu gweithredoedd? Nis gallem farnu felly.

I ddychwelyd: Byddem ddiolchgar i *Gynfarch* am ddywedyd, pa un ai beius ai goddefol ydyw y tebygiadau a ganlyn yn ei awdl ef.

Tudalen 46:—

"Deuai *dym*hestl du *dym*mor."

Tudalen 47:—

"Trister *pryd* tros dir *Pryd*ain."

Tudalen 50:—

"I'w Gwlad, ac i'w *Thad* yn goeth *iach*—
Un *gain* ail, nag *an*wylach."

Tudalen 51:—

"*Tros* Europ—*tros* arwydd yr adsain."

Tudalen 55:—

"Ni thröai draw o'i *law lad*."

Ereill. Tudalen 52:—

"Pôr fu SIOR, mae prawf a *saf*."

(H. y., "saif.")

Tudalen 53:—"*Brydain*" yn lle *Prydain*.

Tudalen 55:—

"Celfydd ddysgedig gwiw*da*."

(Os gwiw*da*, yna gwiw*llon*, gwiw*clod*, gwiw*teg*, &c.!!)

Chwaneg pe baem yn chwennych,
Ni fedrir gael—fydrwr gwych!

## II. AWDLAU AR YR AIL DESTYN, SEF "HIRAETH CYMRO AM EI WLAD MEWN BRO ESTRONAWL."

Meddwl dyn, heb son dim yn bresennol am feddwl ysgrubl, a lonir ac a dristëir yn achlysurol gan amryw-

iol nwydau; megys cariad a chas, llawenydd a galar. Gellir amgyffred *hiraeth* megys nwyd gymmysg rhwng serch a galar: serch at ryw wrthddrych pell o'i gyrhaedd, a galar am nad eill ei fwynhau yn ol ei ddymuniad. Mae y naill genedl o bobl, a'r naill aelod o genedl, yn fwy darostyngedig nag ereill i'r nwyd hwn; a hyny o achos amgylchiadau a greddfau amrywiol. Mae ieuenctyd yn fwy tueddol iddo nag oedran addfedach; a thrigolion Nanhwynain na dinasyddion Llundain. Mae yn glefyd anadnabyddus i'r Tartariaid crwydraidd, o herwydd eu bod yn cael cartref a'u boddlono ym mhob man y gosodont eu pebyll, ac y caffont borfëydd i'w milod. Pa fwyaf mynyddig a fo gwlad, mwyaf gwylaidd fydd ei thrigolion; am hyn y mae hiraeth yn fwy cynhenid i drigolion Cymru a glynoedd mynyddoedd Mynnau, na dim pobl ereill, fe allai, tan y ffurfafen. Am y rhai diweddaf, dywedir, pan fyddo rhai o honynt yn bell o'u cynnefin, ac iddynt glywed eu cân ychain arferol ym mhlith eu bugeiliaid gartref, eu bod yn ebrwydd yn clafychu o hiraeth. Os gwendid synwyr yw hiraeth, o'r ddwy genedl callaf yw y Cymry. Pa fodd bynag, gellir arddel mai nwyd neu glwyf plentynaidd ydyw; yn cael ei ddechreuad, fe allai, pan fyddo dyn yn faban ar y fron; anwes rhieni a'i meithrina i gyd-dyfu ag ef: y mae yn ei ddilyn gwedi hyny i'r ysgol, yn enwedig os pell a fydd, ac yntau heb nemawr o awydd i ddysgu. Os canlyn hiraeth ef ym mhellach na dyddiau ei faboliaeth, hwyr y goddiwes oedran pwyll.

Tybiwn mai nid i'r dyben i feithrin a chynnyddu y nwyd annymunol o hiraeth ym mhlith ein cenedl pan grwydront o'u cynnefin, y rhoddwyd y testyn hwn i'r beirdd ganu arno; ond yn hytrach fel y byddai eu cyfansoddiadau megys cynnifer o areithyddion i gynghori yr ammhwyllus pensyfrdan rhag trosglwyddo ei hun a'i deulu i wlad bellenig; ac felly wrth geisio gochel un caethiwed, syrthio i un a fo mwy. Os felly, magu cariad ym mynwesau Cymry at wlad eu genedigaeth oedd yng ngolwg y sawl a roddasant y testyn hwn ger

bron y beirdd; a dywenydd genym weled mor ddealladwy y canasant arno.

I. Awdur yr Awdl gyntaf yn y casgliad, gwedi cyfarch ei Awen, ac erfyn ei chymhorth, yn ol ei ddull arferol, canys fe allai mai meinir lled ysgoew, yn gofyn mynych goledd, yw hi, mae yn gofyn iddi—

"I bwy y bu? o ba ben?
Mwya'r ing a mawr angen?"

"Ai coethaf oedd llef Caethion—o finiau
Afonydd Babilon?
Heb Gôr eu Telynorion,
Na threm ar Salem, er son?

"Ai 'r uchaf wr i ochain—oedd Ofydd,
Hawdd-afiaeth Fardd cywrain,
O'i wael serch a eiliai sain
Mawr ofid am ei Rufain?"

Yn lle ateb yr holiad yn uniawngyrch, ei Awen a ddywed yn ebrwydd,—

"Llawer mwy'i brudd-der mewn bro—estronawl,
Was truan yw'r Cymro;
Gwelir fyth mae gwaelwr fo
I'r eithaf pan hiraetho."

Ei Awen a ä rhagddi i ddangos nad oes wlad yn y byd, o'r naill begwn i'r llall, a foddlona Gymro; ac mai—

"Ei fwriad mal arferol,
O'i fawr nych, yw foriaw'n ol;
Yn well i'w gorff i orphwys
Mae rhyw lan y'Nghymru lwys."

Ni sonia yr Awen un gair am hiraeth y bardd ei hun; y mae gan hyny yn adrodd cyflwr hiraethus enwogion ereill o Gymru, a fordwyasent i wledydd tramor: 1. Masnachydd yn yr India Orllewinawl; 2. Gwilym Canoldref; 3. Sion Dafydd Rhys yn yr Ital; 4. Mwtwn Dafydd o'r Llanerch; 5. Goronwy Owain; 6. Y Gwyneddigion yng Nghaer Ludd; 7. Syr Watcin yn Ffrainc: ac fe allai ei bod yn cymmeryd *cariad* y gwŷr enwog hyn at eu gwlad yn lle eu *hiraeth* am dani; canys nid oes genym ddim awdurdod i goelio i

*hiraeth*, yn ol ei ystyr priodol, fenu nemawr ar yr un o honynt, namyn Goronwy Owain; i'r hwn, ei Fon anwyl oedd ei fyrdon braidd ym mhob cân: megis—

> "*Llundain* i Sais, lle nad oes eisiau—son
> Am wychder dynion—*Mon* i minnau!"

Am gyflwr y Goronwy, dywed Awen, tudal. 65:—

> "Er moriaw i'r *Amerig*,
> Uwch goror y dyfnfor dig,
> Hiraethai (rhy hwyr weithion)
> *G'ronwy* mwy fwy am ei Fôn!
> Gweua'r enwog gywrein-waith;—
> Nid allai tra'r eiliai'r Iaith,
> A'i ddagrau ar ruddiau, res,
> Droi ei Fôn draw o'i fynwes!"

Awen hefyd a sylwodd yn ddestlus ar y "terfysglyd fyd fu ar Fadawg" ab Owain Gwynedd, a'i gyfeillion, yn hwylio tros y môr gorllewinol, ac yn dal eu golwg ar y *Wyddfa* nes y collwyd hi yn y niwl. Un o'r Madawgwys hyn a ddarlunir megys yn sefyllfa ar benryn yn yr Amerig, yn dysgwyl ymddangosiad yr haul o'r dwyrain, i ofyn i'r genad ddysglaer, "Pa newydd o Wynedd?" Rhag gwneuthur cam â'r bardd godidog hwn, gosodir yma yr araeth at yr haul:—

> "Clywaf ei lais—claf ei floedd!
> Heb oedi . . .
> . . 'Haul y Bydoedd,
> Dywed, O di, Dad y dydd!
> Gwyliawdyr uwch y Gwledydd;
> Dywed im', da yw dy wedd,
> Dy Genad deg o *Wynedd*.
> Pwy'n ei iechyd?—pwy'n ochain?
> I fynu drwy Gymru gain?
> Ai llwyddiant—diwall addysg,
> A sain mawl y sy'n eu mysg?
> Neu ofid, llid, a llediaith,
> Fal gynt, a rhyfelawg waith?
> Ar dy gerbyd tanllyd di,
> Pe gallwn, O! heb golli!
> Ffylliwn, iach meiddiwn uwch môr,
> I gyrhaedd y deg Oror,
> Lle'r ei di, i roi lliw dydd,
> Aur melyn! ar ei moelydd.'

> "Yn ei Fron, un yw o fri—trig Gwalia
> Tra gwêl y goleuni:
> Mwy siriawl na *Misswri*.
> *Menai* wen a'i *Hafren* hi.

"Rhaid troi a'i gadael—rhêd draw i'w Goedwig,
Lle mae'i elynion, y Llu mileinig!
Gwelwn Anneddau gwaelion anniddig
Yn yr anialwch, anwar, anelwig;
Lle'r Gwylltion dyfnion eu dig—lle hir-loes,
Lle y pall einioes y llu pellenig."

Cyffelybwn yr Awen wibiawl hon i Wenynen (ac nid gwenynen gyffredin) a fyddo yn hedeg yn gyflym ar hyd uchelfëydd meithion meillionog feddyliau, ac yn llwytho ei hesgyll â ffrwythau perion oddi ar bob amrywiol flodau; ond mewn un perthynad y mae yn gyffelyb i wenyn ereill, y rhai y mae yn nawd iddynt weithiau ddisgyn

Ar ryw fân gallod, neu ryw fenyg ellyll,

hespion a diffrwyth. Y llinellau canlynol a ddeonglant y ddammeg.

Tudalen 59. Gwasgu wythsill i saith; megys yn y tri anghraifft canlynol:—

"Ac aur fwyn a geir fynych."

(*Yn* fynych.)

"Er hudaw ar yr 'hediad,
Ac amryw lwydd, Gymro'i wlad."

(*O'i* wlad.)

"Anrhydedd hwn yw rhediad,
Yn diwedd, i wledd ei wlad."

(Yn *y* diwedd.)

Tudalen 60:—

"A fwriai yno fer einioes."

(Tor mesur.)

Ei fwriad, mal arferol,
O'i fawr nych, yw *foriaw*'n ol.

(Moriaw, neu,

O'i fawr nych foriaw yn ol.)

Tudalen 62:—

"Ffylliwn" (*y* yn lle *u*).

Tudalen 65:—

"Gwerdd *Arno*'n gu addurnwyd."

(Twyll cynghanedd.)
Tudalen 66:—

"Caed dan SIOR Gymrodorion,
Geraint hael, *y* garent hon."

(*Y* yn lle *a* byth ac hefyd.)

"Seiniwch y Delyn sain iach y *Dalaith*."

Talaith, *a diadem*.
Talaeth, *a province*.
Tudalen 68:—

"Syr *Wacin* sy rywiocaf."

(Syr Watcin.)

"Pell a *fo* torfoedd, heb bwyll, a'u tyrfau!"

(Twyll Cynghanedd.)
Tudalen 69:—

"Rhyw Lan, neu fan o fynwes
Faeth ei wlad *y fytho*'i les."

AWDL II. Gan WYDDON ADDIANT.

Y Paganiaid tywyllion gynt a ddychymmygent i un *Wlcan* syrthio o'u nef hwynt, a disgyn ar ynys Lemnos, heb oddef un briw o'r achos, namyn cloffni mewn un aelod. A dyma fardd goleu, yn y 19edd ganrif, yn dyfalu ei hun megys gwedi syrthio o'r awyr ym mhlith dynionach aflathr, aflafar, aflerw, na wyddai pwy, nac ym mha le! Ei frys yn eu holi a ddengys gyflwr ei feddwl:—

"P'le'r ydwyf? pa lwyr adwyth?
Pa fudiad?—pa wlad?—pa lwyth?
. . . . . Pa genedl y'ch?
Beth dd'wedaf?—ba iaith ydych?
. . . . . .
Pwy byth wyr pa bethau y'ch?
Pa rodiad? pwy ryw ydych?"
&c., &c., &c.

Ond yn ebrwydd, megys cyn iddo gael hamdden i gyfodi oddi ar y llawr, ac ymysgwyd o'i gyffro, y mae

yn deall nad oedd y boblach hyn neb gwrthunach na "Hil Hengist hyll"—sef Seison llyfnion Llynlleifiad!

Nis gallwn ganmol ymddygiad y bardd tuag at ein cymmydogion a'n cyd-ddeiliaid cyfieuawl, y rhai y mae y goreuon o honynt (ac am y gwehilion ni wiw son) yn parchu ein cenedl, ac yn ei gyfrif yn urdduniant iddynt, os gallant ddwyn eu nawfed ach allan o un o lwythau Cymru. Teimla y Dug Wellington waed yr hen Dudur Trefor yn twymno ei wythenau; a'r Iarll Sant Vincent a haera ei ddisgyniad o Iorwerth Drwyndwn. Ond er hyn, mae *Gwyddon* am ail ennyn marwydos huddedig hen elyniaeth, fel y canlyn:—

Tudal. 73:—

"Meib anelwig . . .

. . . . .

Dyma'r haid ffyrnigiaid noeth,
A'n cafodd yn ein cyfoeth;
Dwyn ein gwlad mewn brad a brŷs
O ranau goreu'r Ynys,
A'n gyru ni, gerwin oedd,
I anneddu'r mynyddoedd.

"Lladd ein mawrion—dynion del,
Ba ryw ofid! heb ryfel;
Plant Gomer yn nigter nwyd,
Drwy gyllyll draw a gollwyd;
Difa'n syn wnai'r gelyn gau,
O wall afraid ein llyfrau.

. . . . . . .

"Nid digon yno'n anwir
Y gwelent hwy gael ein tir;
Eu bwriad yw i beri
Dilëu'n hiaith,—O! daliwn hi:
Bwrw ein hiaith berffaith i bant
Hynod ollawl nid allant:

. . . . . . . .

Rhaid i'r gweilch crasfeilch croesfaith
Ein lladd ni cyn lladd ein hiaith."
&c., &c., &c.

Gwedi canmol yn ddyladwy iaith ei fam (tudal. 74), y mae eilchwyl yn byddino ei alluoedd yn erbyn y gormesiaid yn y daflen ganlynol, gan ddywedyd,—

"Brydain[1] ar g'oedd iawn oedd yn eiddym,
A mwyniant ei gogoniant genym:
*Hengist* a'i hil, pan eiddil oeddym,

[1] Prydain.

Treiswyr trawsaidd rhy egraidd awgrym
A'n gyrodd rywfodd o rym—anesmwyth
Mewn llwyr adwyth i'r man lle'r ydym!"

Canu da oll, da iawn, pe buasai "Twyll y Cyllyll Hirion" yn destyn. Yng ngolwg cyfraith y byd y mae ein hawl i Brydain y rhy hen, heb law hyny,

" *Rhaid* i'r *gwan* ddal y ganwyll,
I wr dewr wneuthur ei dwyll."

Yn ei elyniaeth i'r Seison, bu agos i *Wyddon* anghofio ei "Hiraeth" am Gymru. Er hyny, gwedi ymddadebru o'i gwsg a'i ddychryn, dywed wrth y Sais,—

" Hen elyn, a mi'n eiliáw
Un asw dy drem—*nes di draw:*

" Gad i lanc godi ei lef—a wylo
Am weled ei gartref;
Dwl ddiles deil ei ddolef,
O wraidd ei fron e rydd *fref.*"

"Fel y *brefa* yr *hydd,*" medd y Salmydd; ond nid *brefu* a wna *dyn*, oddi eithr ei fod yn gwallgofi o hiraeth. Mae awdur *Egluryn Ffraethineb* yn rhybuddio beirdd ac areithyddion, rhag iddynt, wrth y drofeg a eilw efe "Trawsymddwyn" roddi anghyffelybrwydd dros gyffelybrwydd cydweddawl; megys pe dywedai rhyw un—"Mae y tarw yn cyfarth:" nid mwy gwrthun fyddai hyny na dywedyd fod "dyn yn brefu."

Ni welir haiach wall cynghaneddol yn yr awdl lithrig hon. Adeiledydd trwyadl yw y *Gwyddon*, pe gofalai am gydweddu ei sylfan at ei sylfon. O'i fedrusrwydd yn adeiliaw, cymmerer y pennillion canlynol yn wystl.

Tudalen 71:—

" Am fy ngwlad gu fad gofidiais,—ing loes;
*Fy ngwlad!* pan ddolefais—
Trwy odlef troai adlais—
*Fy ngwlad* oedd llefiad y llais!"

Tudalen 72:—

" Fe naid uchenaid a chwynion—aethus
O eithaf fy nghalon,
Rhyfeddais (mewn rhyw foddion
Noeth arw hynt) na thorai hon!"

"Rhyfeddais na thorai hon," yw ystyr y ddeufan diweddaf; nid yw y chwe' gair ereill ond llanw. Gresyn!

"Nydwydd moriwr (gwr teg wedd)
Tra eglur try i *Ogledd*,—
Felly f'enaid naid yn ol
I ganol daear *Gwynedd!*

"Syn fyfyrio
Dan och'neidio
I fod yno, wiw-fyd unawl;
Wele finnau
Drwy fy nyddiau
Yn y mânau annymunawl!"

Adeilia fanau cywydd olynol, fel y galler eu dadganu ar dôn "Mwynder Meirionydd," &c.

Tudalen 78:—

"Mwynaf cariad syniad serch,
Wir ofal, fo ar ryw-ferch;
Mwyaf loes, a chroes, a chri
Erchyllaf ar ei cholli—
Felly'r Cymro'n wylo'n wir
Fyw rediad am ei frodir!"

Tudalen 81:—

"O boen! ochenaid i ball,
Gwn a yrir *gan arall!*
Sain achwyn, a syn ochi,
Swn y feth sydd ynof fi;
Cwyn drom mal cwyn colomen,
Sâl fy mharch, isel fy mhen:
Ni cheir gwên ar fy ngenau,
All un hwyl fy llawenhau;
Lled fain, a llwyd fy wyneb,
Nid mwy'r cri gwn i *gan neb*."

Tudalen 82:—

"Wele genyf wael ganiad,—a didwyll
Dywedais fy mhrofiad;
Nid llef gynnil, eiddil, a
Dim hiraeth ydyw'm haeriad!"

(Sain gudd o gysswllt.) Nyni a'i coeliwn am hyn, sef i ereill ganu ar y testyn, heb deimlo yn brofiadol gymmaint o hiraeth ag ef.

AWDL III. Gan WYRGAM AB NORDD.

Fel mae "nid wrth ei big y mae prynu cyffylog;" felly hefyd, nid wrth yr enw a gymmero y mae barnu prydydd. Awdl "Hiraeth" yw hon o'i dechreu i'w diwedd. Yr ydym yn coelio mai gwirionedd yw y cwynion canlynol:—

Tudal. 85:—

"O fy hen wlad eurwlad i
Yr hwyliais, dros fôr heli;
Ow! aflwydd! annedwydd nod,
Du oernych! Och o'r diwrnod!"

Tudalen 83:—

"Estron i dirion wladwriaeth—geinwych
*Gwynedd*, wyf, ysywaeth!
Am hon mae'r galon yn gaeth
Y'nghyffion oerion *Hiraeth*."

Tudalen 84:—

"Poeni i raddau pan orweddaf—peunydd,
Poeni pan gyfodaf;
Poeni enaid pan hunaf,
Poeni, a du gyni gâf.

"Gadael y corph gwywedig—yr ydwyf
Ar ardal bellenig;
Y meddwl diddwl a dig,
A naid i'w fro enedig."

Tudalen 85:—

"Wylo wrth rodio yr ydwyf;—poeni,
Ië, pan eisteddwyf;
Llwyr wael yw pob lle'r elwyf
O'm gwlad lân, anniddan wyf!"

Tudalen 86:—

"Gwell toi gwasgawd mewn gallt i gysgu
'R nos allan, a'r tân yn melltenu;
Ië, a'r diwrnod ar lawr dyrnu,
Yn nhalaeth odidog fy nheulu;
Na bod yn caeth hiraethu,—mewn annoeth
Aur a chyfoeth i ymddyrchafu."

Tudalen 87:—

"Edrychaf fi, drwy ochain,—ar fwyngu
Derfyngylch y dwyrain;
Ond p'le mae gwedd Gwynedd gain,
Bro odiaeth Ynys Brydain?

"Ystyriwch mewn tosturiaeth—y gofid
A gefais ar f'ymdaith,
Yn yssig, lawer noswaith,
A'm gorweddfa yn foddfa faith!

"Gwely gobenydd galed—o geryg,
I orwedd mewn syched,
'N wylaw a'r ddwy law ar led,
Am gynes fro y'm ganed."

Erfyniwn nawdd ein darllenwyr ychydig ym mhellach.

"Ow! na chawn mewn llonach hwyl
Droedfedd o Wynedd anwyl!
O na chawn o gwyn a chur,
O hyll ofid a llafur,
Bridd-dy, fal gwely gwael-lun
O ddwy lath, i eiddil un
Orphwyso a gwywo gwedd
Brig einioes mewn bro Gwynedd!
Gwell yw bod ar goll, a bedd
(Er gwaned) yn nhir Gwynedd,
Na byw'n helaeth Ben hylwydd
Yma, pe cawn, yn llawn llwydd.

"O nych hiraeth! Ni charwn
Fod hardd y daearfyd hwn,
Na wnawn, oni chawn wych wedd
Gogoniant enwog Gwynedd;
Ac o'm serch 'r wyf yn perchi
Llyth'renau ei henwau hi."

Tudalen 88:—

"Gwnai'r Awen gân yr Eos
Ar gynnydd, yn nydd a nos;
Pe ca'i ran o dan ryw do,
Byth yno mewn bwth un-nos."

Tudalen 89:—

"Fy mherth'nasau, gorau gynt,
Dedwydd i mi nid ydynt;
Ow! sôn! fal meirwon i mi
Ar hanes, y'm Rhieni!

"Ow! fy Nghyfeillion ar fwynion fanau!
Llwyth o *hiraeth* fu eich *llythyrau;*
Yn f'enaid rhoent gwynfanau—blinderog,
I awchu llidiog archolliadau."

Digon bellach!—Nid eto. Mae y bardd yn parotoi erbyn y gwaethaf; ac os byddai i Ragluniaeth ei gadw hyd ei ddiwedd yn y "fro estronawl," y mae yn cyfansoddi maenargraff i'w osod ar ei fedd ei hun.

Tudal. 90:—

"Os fy Ner â doethder da,
A rydd im' orwedd yma;
I'm mynwes mor ddymunol
Uwch fy nghlai fyddai ar f'ol,
Arwydd o'r lle gorweddwn
Yn y llawr, â'r pennill hwn—

"'Awenawg Wr o Wynedd,—o *hiraeth*,
A yrwyd i'r llygredd,
Ar arall dir i orwedd;
Dyma fan fechan ei fedd.'

"Fe allai, deuai ar daith,
Damwain, ryw hen Gydymaith,
I ymdeithio heibio hon
Ag wylaw ar ei galon;
Darllenai'r pedair llinell,
Yn iaith fad ei bur-wlad bell,
Gan och'neidio, wylo'n waeth,
O herwydd trymder *hiraeth*:
Tannau euraidd tynerwch
Gyffry, wrth fy lletty llwch,
I eirio prudd arwyrain,
A thrist wedd, wrth fy medd main:
Minnau a'm bron yn llonydd;
O! Dduw fry!—ai felly fydd?"

Gwallau yr Awdl hon ydynt ychydig iawn o nifer:—

"Yn gaeth ac alaeth calon,"

sydd yn *o* debyg. "Awenydd" yn prifodli ddwywaith yn yr un pennill, tudal. 85.—"Aeddfed" (addfed).—Tri sillgolliant, 'N, 'R, ym mlaen banau.

AWDL IV.—Gan GARADOG.

Pe baem, fel Elis Wynn, yn cymmeryd gyda ni "ysbïenddrych i helpu ein golwg egwan," ni chanfyddem nemor wallau yn yr Awdl hon chwaith. Y mae yn proestiaw lleddfau a thalgrynion.

Rhoddir "galaeth" yn lle *alaeth*:—"*fy* mro *fau*" hyny yw, *y fro fau*.—Wythsill mewn ban Cywydd (tudal. 95):—

**"Mae'n beraidd iawn mewn barddoniaeth."**

Y mae y bardd hwn yn dra helaeth yn ei ddarluniad o ansawdd ei wlad, a chynneddfau ei thrigolion. Dywed am ei wladwyr (tudal. 93):—

**"Dynion grymusion a moesawl—ydynt;**
**A *rhai* o naddynt yn wŷr rhinweddawl."**

Ambell Lot yn Sodom.
Ei deimladau o *hiraeth* a edrydd fel y canlyn.
Tudal. 92:—

**"Paradwys yn Ynys Prydain—ydyw**
**Fy odiaeth wlad firain,**
**A mawr ei gwerth;—fy mro gain!**
**Mae achos i mi ochain!"**

Tudalen 94:—

**"Yno, mewn mawr ddywenydd—nid yn gaith,**
**Ond yn gweithio beunydd;**
***Brodyr* glân, seirian im' sydd,**
**A chywiraf *Chwiorydd*.**

**"Mae yno *Dad* mad, a mwyn**
**Im'; hefyd, a *Mam* hyfwyn;**
**Ac ochain, ddyn gain a gwyl,**
**Mae hòno—fy *Mam* anwyl!**
**Yn gaeth gan hiraeth mae hon,**
**Och weli! 'n drom ei chalon.**

**"Mae'n tyner gofiaw'r amserau—y bûm**
**Ddyn bach ar ei bronnau—**
**Duw gwyn! mae hyn yn mwyhau**
**Beunydd ei *haethus* boenau.**

**"Yn ei gwaeledd mae'n gwelwi—o ethryb**
**Fy nyeithrwch iddi:**
**Yn ei *halaeth* mae'n holi,**
**'O!—mae fy mab arab i?'**

**"Minnau am fy *Mam* un modd,**
**Mewn *alaeth*, ysywaeth, sydd!**
**Ochain a germain gormodd**
**'Rwyf fi, a delwi bob dydd."**

Tudalen 96:—

"Oferwaith yw myfyrio
Am *Walia*, fireiniaf fro,
Och sôn!—'mewn bro estronol';
Pe gallwn neidiwn yn ol.

"Mewn sàn dringais i fàn fynydd—i edrych
Drwy wydryn ysplennydd,
O'i nen, am Fro'r llawenydd,
A hynny,'n ddir, ryw nawn ddydd.

"Methais ganfod fy mrodir,
Er tremiaw a neuaw'n hir;
Ar ei ddisgywen nen o,
Gorweddais, hunais yno;
A mi, wael un, yn hunaw
Ar y drum, megis marw, draw,—

"Clywn beraidd, lwysaidd leisiau,—ffur arwest,
A pheroriaeth tannau,
O mor fyg! yn *fy* mro *fau*—
Adwaenais yr hen dônau!

"Gŵyr Naf na fedraf adrodd
Na llunia y llawenydd
A brofais, ni bu ryfedd;
*Galaeth* pryd hyn a giliawdd.

"Ond yno, pan ddeffroais
Gwnaeth neuedd ei fedd dan f'ais
Yn y fan: mae'n trywanu
Y ddwyfron a'r galon gu."

Tudalen 98:—

"A threulio yr wyf, uthr *alaeth*!—y dydd,
Rhaid addef, mewn *hiraeth*,
Ym mhob man, heb wahaniaeth,
Clywir fi'n ochi gan *aeth*![1]

"O na bawn yn hunaw beunydd!—i mi
Y mae yn ddywenydd
Dodi 'mhen ar obenydd—
Gwell yw'r nos dywell na'r dydd!

"O na ba'i'n nos arosawl,
Dymunwn na welwn wawl,
Nes im' dawel ddychwelyd
At fy nghain gynrain i gyd,
I'm hanwyl wlad! mae hono
Yn iachaf, fireiniaf Fro."

[1] *Aeth*, a *galaeth*, ydynt eiriau cyffredin iawn yn yr Awdl hon.

Tudalen 99:—

"Ac hefyd, o y cyfan—a enwais
O freiniau fy Nhrigfan,
Mwyaf gwerthfawr yr awran,
Yw y lwys Efengyl lân.

"Er dim, dwg fi, fy Ior da,
I *Walia* i fyw eilwaith,
Mewn elwch a heddwch i
Dy addoli hyd ddylaith."

Dygasom dystiolaeth i addasrwydd y breuddwyd cyntaf i Garadog, drwy ei osod yn gyflawn ger bron ein darllenyddion; a dymunem na freuddwydiasai yn rhagor, ac ni buasai ei Awdl yn fwy diffygiol o'r achos. Ond efe a freuddwydiodd "ganwaith," ac yn niwedd ei freuddwyd olaf y mae yn dolefain (tudalen 98):—

"D— mawr! yn ol agawr fy nau lygaid."

Ow! Ow! Buasai V fawr, neu ryw lanw cyfunhyd, yn fwy cydweddawl yma na "D— *mawr*."

AWDL V. Gan ADVENA.

Tra anghymhwys, os nid cableddus, yw arfer rhai prydyddion yn cyfarch yr Hollalluog na ddylid ei enwi ond er ei ogoniant, pan fyddont ar gyfansoddi cerdd mor wael, fe allai, ei thestyn, a "Chywydd y Iâr a'r Mynawyd." Ond nid yw y cerydd hwn yn cyfeirio dim at *Advena;* fel y deallir wrth y canlyniad.

Tudal. 100:—

"Duw Ior mawr! Awdwr y moroedd,—a lluniwr
Holl anian a'i lluoedd;—
Y ddaear gref a'r nefoedd,
Diddwl waith dy ddwylaw oedd.

"Yn ddi os, Ti sy'n gosod
I bob rhyw gael byw a bod;
. . . . . .
Difai i mi rho'ist fy mod,
A sylfan fy mhreswylfod,
Y' *Nghymru* dda, gu, ddi gwyn,
Cefais fagwraeth cufwyn.

"Ond ysywaeth! daeth y dydd,—ac afar
Boen pan gofiwyf beunydd,
Dygwyd fi o'm gwlad rad, rydd,
Briw addef y boreuddydd!"

(D.S. Nid yw paladr yr ynglyn uchod mor ddirnadwy ag y dymunem ef.)

Tudalen 101:—

"I bellder, fel pob alldud,—ow cofiaf,
Y cefais fy symud,
Draw o geindeg dir Gwyndud,
I fod mwy fel Meudwy mud!"

Tudalen 102:—

"Mae hiraeth fel tônau mawrion,—llwythawg,
Yn llethu fy nghalon;
Fe aeth awch pob llif a thòn
Anhyfryd dros fy nwyfron."

"Am Gymru 'rwy'n *brefu*'n brudd."

(Yn iaith ddammegawl yr Ysgrythyrau, dywedir bod dynion yn *udaw*, yn *gweryru*, yn *rhuo;* ond nid ydym yn cofio i neb ddywedyd, cyn *Gwyddon Addiant*, ac *Advena*, eu bod yn *brefu*. Yr ydym yn deall pa beth a feddylir wrth y dywediad fod dyn yn *udaw* o ofid, yn *gweryru* o drachwant, yn *rhuo* o ddigofaint, &c: ond nid ydym yn ei weled mor gydweddol ddywedyd ei fod yn *brefu* o hiraeth. "Hydd *bref* am ei gynnefin:" ond nid eill hydd wneyd amgen; dyna ei reddf anianol: nid eill nac udaw, na gweryru, na rhuo, na siarad.)

Ond i ddychwelyd at Hiraeth *Advena*.

Tudal. 102:—

"Ow! Ow! yn awr, na feddwn i
Aden y g'lomen glau imi,
Ehedwn yn ddioedi
Dros foroedd, llynoedd, a lli—

"Ac yn Nghymru, wlad gu, gwn,
Desog annedd, disgynwn."

Tudalen 103:—

"Mae fy nghariad at fy hen-wlad,
Hoff lym eiriad, fel fflam eres;
Mwy ni ddiffydd, ped ai ffosydd
Dwr afonydd drwy y fynwes.

"Nid oes ar y ddaear ddwys,
Un meddyg a laesa'm loes;
Af i'r bedd drwy ddirfawr bwys—
I âr yr âf fore'r oes!

"Gwir fe'm dygir gan ddarfodedigaeth
Yn gynnar i weryd, gan oer hiraeth
Af i ar elawr drwy ddirfawr alaeth,
Ni thycia im' yma, heb fy mammaeth:—
*Dyger fi i fro'm genedigaeth*—hon
A ddaw ag union lân feddyginiaeth.

"Awel dyner fy hen wlad anwyl
A oedai ddyddiau, oriau f'arwyl;
O brysia, enwog breswyl,—i'r meddiant,
Cu y dynesiant—min cadw noswyl."

Tudalen 104:—

"Yr adar gwâr a hedant—ar ei gwŷdd,
A'i dwysgu weunydd, y disgynant,
Ac yno pêr y canant,—mewn d'rysgoed,
A geirw bencoed, y seingar bynciant.

"A minnau yn llwm, unig,—yn gerain
Mewn goror bellenig,
Fel dylluan wan y wig,
A'r meudwy dirymedig."

Tudalen 105:—

"Fel *Gwylan*, wawr hoew-lan am fôr heli,
*Gwylydd*, a'i lawenydd am oleuni,
Neu fal y *Gwenyn* am fêl i'w gweini,
Neu *Glaf* fyg einioes o'i glwyf a'i gyni,
Neu *Faban* am ei *fami*,—mae 'nghalon,
Am y wlad dirion, yn ymyl torri.

"Pe caid fy llygaid yn lli eigion,
Mynwn hefyd fy mhen yn afon,
Dae i'r goleu drymder y galon,
Yn heillt ddyfroedd o hollt y ddwyfron—
O sarrug iasau oerion!—sy'n bwysig,
Dywalltedig, mewn gwlad alltudion.

"A fedro rifo *dafnau*'r afon,
Y *ser*, a nifer *tywod* Neifion,
A'i dda awch, *efe* a ddichon—gwedi,
I chwi nodi rhif fy och'neidion!"

Tudalen 112:—

"Oni chlywaf, ac ni welaf,
Er a ganaf mewn oer gwynion,

Arwydd lleia' cael diangfa
Draw i *Walia*, frodir wiwlon."

Tudalen 113:—

"O Iôr fy einioes! hyn a erfyniaf,
I mi o gysur, dyma a geisiaf;
A chyda pharch, mewn cryf-arch crefaf,
Ystyr gri awchus, Duw Ior Goruchaf!
Troedio'r fron uwch hon oni chaf—*Rho fedd*
Yn y wâr annedd, im' pan yr hunaf.

"A chael o'r bedd ddychwelyd—i gadarn
Adgodiad i fywyd,
I fwynhau fy *Ion* o hyd,
Uwch haul, yn ddifrycheulyd."

Am wallau cynghaneddol yr Awdl hon, ni wiw son yn rhagor.

Byr achos pigo brychau,
Lle nad oes ond llai na dau.

## Ar Gynghanedd Groes a Chynghanedd Sain.

Daliwyd sylw, fod pedwar o'r pum bardd a ganasant ar "Hiraeth" yn dra hoff ganddynt ddiweddu ynglyn unodl union â ban o gynghanedd *sain*, neu *lusg*, fel y gelwir yn yr hen Ddosbarth, yn lle y gynghanedd *groes*, yr hon a weddai oreu, o herwydd bod ynglyn yn anad un mesur yn gofyn crynodeb neu gydglwm sain yn ei adroddiad. Ni arferodd *Gwyddon Addiant* gynghanedd *sain* i ddiweddu ynglyn ond unwaith drwy ei Awdl: y pedwar ereill a'i harferasant o wyth i ddeng waith bob un. W. Wynn a feiodd ar Oronwy Owain am ei fynych arferiad o'r cynghaneddion *sain* a *llusg* yn ei "Gywydd y Farn;" er, fe allai, eu bod yn fwy goddefol mewn cywydd nag ynglyn. Y Du o Fon a ymddiheurodd yn erbyn y Gwynn, fod iddo ryddid i ddewis y cynghaneddion a fynai. Mae hyn yn deg. Ond os cyfansodda bardd i foddio rhywun heb law ef ei hun, mae rhyddid i'r rhywun hwnw farnu pa gynghanedd sydd yn seinio yn fwyaf peraidd yn ei glust ef. I gloi ynglyn, dymunem ni gael cynghanedd *groes*. Barned pawb yn ol ei archwaeth.

## ADOLYGIAD YR ENGLYNION A GYFANSODDWYD AR YR HOLIAD—"PA BETH YW AWEN?"[1]

MR. *Gwyliedydd*,—Sylwyd, lle clywais, nid unwaith, ac nid dwywaith, gan amrai o'ch darllenyddion, ddarfod i chwi, wrth roddi heibio eich "Adolygiad o'r *Powysion*" cyn ei orphen, wiriaw y ddiareb sathredig, "Blingaw y gath hyd at ei llosgwrn." Gan eich bod chwi â'ch dwylaw yn llawn o orchwylion mwy pwysig, rhoddwch genad i mi fod yn Ohebydd i chwi am unwaith, drwy adolygu yr englynion a gyfansoddwyd ar yr holiad—"Pa beth yw Awen?"

Allan o chwech a thri ugain o englynion, y mae o gylch deugain o honynt braidd yn unair mai "Dawn yw Awen;" ond eu bod, fel y gellid dysgwyl, yn amrywio yn eu geiriadaeth. Cymmerer yr englyn cyntaf, i'r hwn y rhoddwyd y wobr, yn ddrych. Y mae *Cais ab Ceisiedydd*,[2] mewn tri ban o'i englyn, yn rhoddi tri ateb i'r holiad—"Pa beth yw Awen?" sef—

1. Gwên a rhywiog lên rhagluniaeth—
2. Nwyfiant o nefawl wybodaeth—
3. Dylif o ysbrydoliaeth.

Y mae amrywiaeth geiriau rhwng y tri darluniad a'u gilydd, heb nemor yn yr arwyddocâd: yn hyn y maent mor debyg i'w gilydd ag ydyw unrhyw dri briellyn ar lethr y fron. Llawer o'r englynion ereill sydd o'r un nod a delw. Dywedir ynddynt mai "Dawn Ior, o fru nef," "Dawn o nef," "Dawn Naf y nefoedd," "Dawn fad o roddiad yr Ion," yw *Awen*.

Ni wrthddadleuir yma nad *talent* yw Awen o bob rhyw, nad rhodd oddi uchod ydyw cynnysgaeth neu drysorau y *meddwl*, yn gystal a chryfder ac iechyd y *corff*. Ni haerir chwaith nad rhodd Duw ydyw Awen y pendefig *B-r-n*,[3] er ei fod ef, yr hyn sydd waeth

[1] [Un o destynau Eisteddfod Gwrecsam, 1820.]
[2] ["Sef Gruffydd Iago, telynor yn Rhydychain, gynt o Ddolgellau; i'r hwn y barnwyd yr ariandlws."—*Powysion*, i. 115.]
[3] [Yr Arglwydd Byron.]

na'i chuddio mewn napcyn, yn ei harferyd â holl egni ei fyfyrdod doniawl yn erbyn ewyllys y Rhoddwr; a chan belled ag y dichon ef, i gadarnhau colofnau sigledig teyrnas Satan ar y ddaiar.

Bydded gwir ddiddadl, gan hyny, mai "dawn yw Awen;" ond eto, gellir gofyn, A ydyw y cyfaddefiad o hyny yn ateb cyflawn ac uniongyrch i'r holiad—"Pa beth *yw* Awen?" Dalier sylw, na holwyd o *ba le* y mae Awen yn hanu, na *phwy* yw y Rhoddwr o hono; ond pa beth *yw* hi? pa fath yw ei defnyddiau hi?

I wneyd hyn yn fwy eglur, dammegwn ychydig. Pe buasai y cyhoeddwr yn sefyll ar ben adfail Castell Dinas Brân, ac yn bloeddio gyda digon o erthwch, "Pa beth *yw* Awen?" buasai Craig Eglwyseg, ar ei gyfer, yn ei ateb o hyd ei phen, "AWEN." Ped amrywiasai ei holiad, gan lefain, "Pa beth *yw* Dawn?" y llech lafar a atebasai yn groew, "DAWN." Ond pa faint a fuasai yr hawlydd ddoethach er ateb cwta yr adsain? Pe gofynasai ym mhellach, "Pa beth *yw* Sebon?" os yw craig lefair yr Eglwyseg yn medru adrodd geiriau deusill, hi a ddywedasai, "SEBON." Ond fferyll cyffredin a roddasai ateb mwy cynnwysfawr—mai "cymhlithiad o hallt leisw lludw llysieu-losg ag olew neu wer anifail, *yw* sebon; a bod y cysswllt fferedig yn fuddiol i olchyddion." Atebion cyffelyb a roddai fferyll, pe gofynid iddo, Pa beth *yw* dwfr, glo, gwydr, halen, neu unrhyw sylweddau cyfansawdd ereill. Tybiwn mai ateb tebyg i hyn oedd yn nysgwyliad cyhoeddwyr yr holiad—"Pa beth yw Awen?" Pa fodd bynag, felly y deallwyd yr holiad gan awdwyr *rhai* o'r englynion. Sylwer ychydig ar rai o honynt.

Rhif. 14.

"Nerth anian o lân oleuni,[1]—Diddan
Dueddiad barddoni,[2]
A synwyr i gysoni
Y fwyn iaith[3]—yw f'Awen *i*."

Ond pwy ofynodd i *Poietes*, pa beth oedd ei awen *ef*, yn anad awen un bardd arall? Awen farddoni yn

gyffredin, mi a feddyliwn, oedd yng ngolwg yr holyddion—Awen Goronwy Owain, Awen Dafydd Ddu o Eryri, &c.; ond er hyn, englyn canmoladwy yw y Rhif. 14.

> 20. "Nef ferch hynaf wreichionen—Athrylith[1]
> Ar olwyn ei helfen—
> Dysg[2]—Cof[3]—Crebwyll[4]—Iaith[5]—Pwyll pen[6]—
> Dyna ryw dawn yr Awen."

Englyn llithrig darluniadlawn yw hwn, ond bod ei baladr, i'm golwg i, fel can-clo clicied, yn haws ei ddyrysu na'i ddattod. Dymunol fyddai cael esboniad *Cynfarch* ei hun ar ei waith. Gelwir Awen yn "ferch hynaf nef"—pan "gydganodd ser y bore," mae yn debyg. Ydyw "Athrylith ar olwyn ei helfen" yn sidyllio mor chwyrn nes y tery dân neu wreichion? Buasai attalnod yn y ban yn gynnorthwy i'w ddeall; ni ddaeth yr un o'r wasg, os aeth i mewn iddi.

> 28. "Cyngyd o bedair cangen gyfrodedd
> Yw gofrydiawg Awen;
> Serch [1]—Cof [2]—Myfyr pybyr pen[3]—
> Dygwyddiad oes deg addien."[4].

Cydnebydd pob dyn goleubwyll fod *Serch* at y ddawn farddonawl; *Cof* am a ddarllenir, a welir, ac a glywir; a *Myfyrdawd* dwys a threiddbell, yn anhebgorol ddodrefn Awen flodeuog. Dyma dair cainc o'r cyngyd cyfrodedd; a'r bedwaredd a sonir am dani yw, "*Oes* deg addien" i'r Awenydd ymddangos ynddi. Gallesid chwanegu *gwlad* yn gystal ag oes; canys pe gauesid Homer ar gyffiniau Labrador, neu Milton ym Madagascar, ni chawsem ni heddyw na *Thröeg* y naill, na *Choll Gwynfa* y llall, i ryfeddu at odidogrwydd yr awenau a'u cyfansoddasai; er, fe allai, tan y fath amgylchiadau y buasai eu doniau hwynt yn eu dysgu i amlygu eu gwib-feddyliau drwy wneuthur lluniau dealladwy iddynt eu hunain â'u bysedd ar dywod glan y môr. Gwael oedd raid bod dechreuad pob celfyddyd ddynol. Ai ni buasai *Cynfelyn* yn dyrchafu Awen radd yn uwch drwy arferyd y cyfansoddair *gwiw*frydiog yn lle *go*frydiog?

29. "**Brwd ymgais[1] (ba raid amgen!)—yw 'goriad**
**Aur-gaerau cystrawen,**
**Cyfundeb Callineb[2]—Llên[3]—**
**A Deall[4]—yw mad Awen.**"

Y mae nifer o aelodau anhebgorol i gorff Awen yn cael eu rhifo yn yr englyn hwn; ond bod y corff yn ymddangos i mi fel llamidydd, yn sefyll â'i ben fforch yn uchaf. "Brwd ymgais—ba raid amgen?" atebai craig lefair deirsill, "RHAID AMGEN!" O ran mai gwaith mor ofer a fyddai dysgwyl peraidd sain y delyn drithant wrth i hogyn lenwi ei fochau â gwynt a chwythu mewn maneg ellyll, ag a fyddai dysgwyl Awdl benceirddiol o gyfansoddiad rigymydd, ymgeisied mor frwd ag y myno! Pe rhoddid yr englyn uchod i sefyll ar ei draed, byddai yr holiad—"ba raid amgen?" yn cyfeirio at yr holl ddoniau a enwir, ac nid at "frwd ymgais" yn unig; fel hyn:—

"**Deall[1] yw gwiwfad Awen—a 'goriad[2]**
**Aur-gaerau Cystrawen—**
**Cyfundeb Callineb[3]—Llên[4]—**
**Brwd Ymgais[5]—ba raid amgen?**"

Chwareu teg i *Putes hanc esse*, &c., yn gystal ag i ereill, y mae ei englyn ef yn gwelläu ar ail olwg; ac nid pob englyn a wna hyny. Fe allai mai fel hyn y gyrwyd at y Beirniaid:—

"**Brwd Ymgais, ba raid amgen Agoriad**
**I gaerau Cystrawen?[1]**
**Cyfundeb Callineb Llên[2]**
**A Deall[3]—yw mad *Awen*.**"

Pe buasai yr holiad yn gofyn, "*Pa bryd* y derbyn bardd ei awen?" yr englynion canlynol a roddent atebion:—

8. "**Anian o nef wen ini yw *Awen***
**A hoyw-wych gysoni;**
**Yn Mhaban mae'i hanian hi,**
**Yn anian *cyn* ei eni.**"
**EOS Y GLYN.**

34. "**Tafod dân neu lân oleuni o'r nef**
**A'r Naf yn ei rhoddi,**
**Yw'r Awen—ei hacen hi**
**A'i thaniad, ceir *wrth* eni.**"
**DIENW.**

55. "Dawn *natur*, dyna ytyw yr Awen
A roed i ddynolryw;
Dawn hynod, un a hanyw
Yr *un dydd* â'r enaid yw."

BARDD NATURIOL.

Ymddengys fod y beirdd hyn o'r un farn â'u hewythr *Horas*, yr hwn a ddaliai, "*Poeta nascitur, non fit.*" Gellid tybio fod pawb o'r un ddaliad; ond dywedodd D. Ddu Feddyg, yng Nghofiant Huw Morus y Prydydd, yn y *Cambrian Register*, na wyddai efe am neb o *wahanol* farn ond y Dr. Johnson ac Iolo Morganwg. Am y cyntaf, os da yw fy nghof, dywedodd fod Awen yn ddawn gyffredinol, ond bod rhyw ddygwyddiad neu gilydd ym mywyd dyn yn ei dueddu i hoffi, i olrhain, ac i goleddu rhyw gelfyddyd benodol yn hytrach nag un arall. Nid yw hyn yn anwrthwynebadwy. Bu llawer cerddor rhagorol yn "warae dwylaw ar y delyn," braidd oddi ar fron ei fammaeth, na fuasai, fe allai, yn fwy llwyddiannus yn ei ymgais i ymorchestu mewn Awen cerdd dafod, na phe buasai yn ceisio hedeg heb adenydd. Yr oedd Cicero yn areithydd hynotaf yn ei oes, ond dywedir mai trwsgl dros ben oedd ei ymgais i farddoni.

29. "Adenydd enaid doniawl yw'r Awen,
Yr EOS ysprydawl,
Dawn o fwriad anfarwawl,
Hoffder dyn, *a dychryn diawl.*"

DIENW.

Pa fodd felly? Er i beroriaeth telyn Dafydd ysgafnhau effeithiau y pruddglwyf ar Saul, ni ddylai hyny arwain neb i dybio fod Awen yn ddychryn i dywysog yr afagddu eirias. Soniwyd eisys am awen odidog y pendefig *B-r-n*,[1] yr hon, gellid ddychymmygu, sydd, nid yn achos o ddychryn i frenin cethern caethiwed tragywyddol, ond yn hytrach yn achos i beri iddo ysgyrnygu gwên, neu fel y dywed Elis Wynn, i "ddynwared chwerthin."

Pe byddai Awen "yn ddychryn i ddiawl," ni ddeuai

[1] [Yr Arg. Byron.]

efe yng nghyfyl *Eryri;* a byddai anamlach cyflafanau ym mhlith trigolion Arfon nag mewn un parth arall o Gymru; ond, ysywaeth, nid felly y mae.

Esgeulusais ddiheuro y *Bardd Naturiol*, Rhif. 55, yn ei le priodol; am hyny mi a'i dygaf eilwaith i'r brawdlys. Geill rhai darllenyddion dybio ei fod yn gwneyd yr *Anian* fawr (τὸ πᾶν yr hen Thales) yn anymddibynol; ond nid ydyw felly. Efe a ddywed—"Dawn *natur*, dyna ytyw Awen." Ond y mae efe yn chwanegu yn ebrwydd—hi "a *roed* i ddynolryw." Dyna ddigon i ryddhau y bardd. Y mae y gair *rhodd* yn arwyddo bod *derbynydd* a rhoddydd, a phwy yw Rhoddydd Awen, a phob dawn arall, ond Duw? Trwy *natur* y mae llygad y bardd yn edrych at ei Chreawdydd a'i Chynnalydd Mawr, Rhyfeddol, ac Ofnadwy; yn ol darluniad Awen gan *Gatwg*, Rhif. 62:—

"Myfyrdod parod mewn pen,—a golwg
Yn gweled pob elfen;
*A Duw'r Llyw tu draw i'r llen.*"

Awn ym mlaen.

17. "Sawdd awenrhodd sydd anrheg—ennynawl,
Mewn anian barddoneg,
Per ffrwd, yn pur hoff redeg
O win Duw—yw Awen deg."
MYFYR.

Y mae hwn yn englyn melus i'r archwaeth, a pheraidd i'r glust Gymreig; ond ni ddeil er hyny ei gyfieithu, air yn air, i un iaith arall, heb ddangos gwrthuni yn lle harddwch, digon â pheri i'r "Cymro yng Ngwlad y Sais" oganu â mwy o achos, nag o'r blaen.

33. "Duw-rodd yw Awen dirion,—yn cydlef
Ag adlais nefolion;
Fêl fynwes—nefawl fanon,
Unodl yw ag anadl Ion."
MYFYR eto.

Y mae hwn yn darlunio Awen Dafydd Frenin yn canu ei Salm gyda'i delyn.

12. "O'r wiwnef daeth yr Awenydd,—gras hael
O Gaersalem fynydd;
*Haddef* y ddawn radlawn rydd,
Yw *mynwes* ac *ymenydd*."
LLAWDDEN.

Dywedir yma fod gan Awen ddwy sedd o fewn dyn. Wrth *fynwes* y mae *Llawdden* yn meddwl y *galon*. A pha beth yw calon dyn yn ei ystyr priodol? Aelod dufewnol ydyw, a difyfyr; a'i swydd unigol ydyw anfon y gwaed i bob parth o'r corff drwy y pibellau a elwir y rhedweliau, a'i dderbyn yn ol drwy y gwythi. Nid yw y dywediadau ysgrythyrol, "fod y *galon* yn fwy ei thwyll na dim," &c., ond dull ymadrodd: yn yr ystyr hwn y dylem ddeall *Llawdden* hefyd. Nid ffynnonell y *gwaed* a feddylir, ond ffynnonell y *meddwl*, bryd, bwriad, ewyllys dyn, ac ereill gynneddfau yr enaid. Nid oes gan y galon, yn ei hystyr priodol, ddim a wnelo â'r meddwl, na'r meddwl â hithau; yn hyn y maent yn anymddibynolion. Y mae y synwyrau yn gweini i'r meddwl, a'r meddwl, trwy gyfryngdod y gwawn-wythi (*nerves*), yn effeithio ar bob aelod allanol i'r corff; ond nid felly ar un aelod tufewnol, ond yr ysgyfaint yn unig; a hyny ond ychydig, megys i attal mymryn, neu brysuro anadliad. Felly nid oes gan feddwl dyn fwy o awdurdod ar weithrediad ei galon ei hun, h.y., yr aelod sylweddol, nag y sydd ganddo ar galon ei gymmydog. Am hyny nid yw na mynwes na chalon dyn, yn eu harwyddocâd greddfol, yn sedd i'w Awen ef, nac i un gynneddf arall a fedd. Ond bod yr *ymenydd* yn "haddef" i'r Awen, neu y meddwl, sydd wir, yn ol pob argoel, a barn y cyfarwydd. Dichon i bob dyn ymdeimlo nad yw sedd ei feddwl yn ei law, neu ei droed, ond yn ei ben, lle y gorwedd yr ymenydd. Ond rhaid i holl ddoethion y byd, chwiliont a fynont i ddirgeledigaethau anian, i weithrediad y synwyrau ar yr ymenydd, i'r achos bod y naill greadur yn rhagori cymmaint ar un arall mewn gwybodaeth, a nerthoedd ereill y meddwl; rhaid iddynt yn y diwedd gyfaddef, fod mor hawdd iddynt ddyhyspyddu Tawelfor Mawr y Deheu â chibau mes y derw, ag ydyw iddynt olrhain

i fanyldeb, pa fodd y mae cynneddf bywyd a chwyfiad, a doniau amgyffrediad a rheswm, yn perthyn i'r un corff, oll yn wahanol, ac eto yn cydweithredu i addurno y bod a grewyd "ychydig is na'r angylion." Y wyddoneg gywiraf, a'r hawsaf hefyd i'w deall, yw yr hon a ddysg, yn niwedd pob myfyrdod anianol—"Nid dim ond Duw," oddi eithr drygioni pechod; a rhodder hwnw i'w wir berchenog, pa un bynag ai dyn ai diawl. Gan hyny, dyweded pob anianydd gyda Iob, "Llefarais yr hyn ni ddeallais, pethau rhy ryfedd i mi, y rhai nis gwyddwn. Wele, gwael ydwyf; pa beth a atebaf; mi a osodaf fy llaw ar fy ngeneu." A chyda'r Salmydd, "Dyma wybodaeth ry ryfedd i mi; uchel yw, ni fedraf oddi wrthi."

47. "Trwy'r Awen geinwen medd gwir—hanesion
Hynawsaidd a chywir,
Dir y lluniwyd, darllenir,
Dwfr glân—Tân—Awel—a'r Tir.
LLYWARCH.

Pa fodd y bu i *Lywarch* ddyfysgu Awen â'r Gair tragywyddol; y *fiat*, yr hwn a ddywedodd, "Bydded," a Bu?

50. "Hynod yw Awen ei hunan—Dawn yw,
*Pob dyn* a geiff gyfran;
*Awenydd pawb* ei anian,
Awen prydydd celfydd—Cân."
DEILIAD BLEDDYN.

Rhy hael o'r Awen! *Cyfran* i feddwyn difyfyr—*cyfran* o fadrondod i loerig—*cyfran* o feddwl cadduglyd i'r "Cymro yng ngwlad y Sais!"

Gormod o waith a fyddai sylwi ar bob englyn yn y *Powysion;* ac yr ydwyf o'r farn na atebai hyny un dyben buddiol i ddarllenwyr y *Gwyliedydd;* y ddeubeth hyn a'm prysura i'r clo cynghanedd, sef, dymunol a fuasai i'r cyssodydd osod "tân ysawl" yr englyn Rhif. 66, yn ddigyfrwng oddi dan *Fras Garthen* yr englyn Rhif. 60, i'w llosgi hi yn ulw, fel na buasai glöyn o'r naill, na rhawnyn o'r llall, yn ddealladwy i ddarllenyddion y *Powysion.* GOGYRFEN.

*O'r Ty Gwydrin, Ion.* 1, 1824.

## EISTEDDFOD GWENT, MEDI, 1822.

Hawddammor i goffadwriaeth teilwng a pharchus am y Tywysogion a Brëyron gynt, sef Gr. ab Cynan, yr Arlwydd Rhys ab Gruffydd, Ifor Hael o Went, Rhys o'r Tywyn, ac ereill Gymry gwiwgof a noddent Awenyddion eu gwlad; gan, drwy eu haelioni hynaws, beri i'r beirdd ymdrechu pwy a gyfansoddai y Cywydd neu yr Awdl goreu erbyn Cyfarfod Gorsedd, neu Gylch Clera ar y gwyliau arbenig. Ond yr heulwen ysblenydd hon, tua diwedd rheolaeth Teulu Tudur ar orsedd Lloegr, a orchuddiwyd gan gwmwl oergrai; ac yn ganlynol, Awen Gwyndud a lithrodd ar ddifancoll, o ddiffyg amgeledd. Gwedi dydd yr Archdiagon Prys, ni ymddangosodd bardd yng Ngogledd Cymru, yn haeddawl o'r enw, am lawer o flwyddau. Boneddwyr y wlad a aethant o oes i oes yn fwyfwy Seisnigaidd; ac ystryw y penaethiaid eglwysig oedd arferyd moddion i ddilëu iaith na ddeallent. Huw Morus, o blwyf Silin, ac Edward Morus, o'r Perthi Llwydion, ac ambell arall, a ymddangosent megys ser, un yma, ac un draw, i sirioli mymryn ar yr wybren bygddu. Fel hyn y nychodd Awen, prin yn lledfyw, hyd o gylch canol y ganrif ddiweddaf, pan dorodd Goronwy Ddu o Fon megys llucheden drwy y niwl oedd yn toi ei wlad. Ond ar ei enciliad dibwyll ef i goedwig anghysbell estronawl, gorphwysodd y drydedd ran o'i ysbryd ef ar ei gyfaill, Ieuan Fardd o Geredigion.[1]

Yn yr oes ddirywiedig hòno, nid oedd caniadau cyffredin y wlad yn gynnwysedig braidd o ddim heb law carolau sychion diffrwyth, a rhigymau masweddol. Arbenigion Cymru gwedi eu Seisnigaw, a'i phrydyddion wedi ymgolli mewn gloddest ac anystyriaeth, nid oedd ryfedd rhyngddynt i'r Awen golli ei haddurniant cyssefin. Ond yn yr oes hòno esgorodd swydd Ddinbych ar ddau ddyrïydd llawer rhagorach na'u cyfoeswyr,

[1] [Y Parch. Evan Evans, neu *Ieuan Brydydd Hir.*]

sef Ionathan Huws, a Th. Edwards o'r Nant. Carolau y rhai hyn oeddynt yn fwy sylweddol ac efengylaidd, a'u dyrïau, yn gyffredin, yn dangos mwy o synwyr a challineb, na'r eiddo ereill; ond nid oedd a wnelent â Chywydd nac Awdl gyfunrhyw reolaidd; er bod Cywydd y Creaduriaid gan I. H. yn arwyddo dawn farddonol. Heb law y ddeu-fardd hyn, ac, fe allai, ychydig o rai ereill yn lled ddirgelaidd, oferwaith fuasai chwilio am haddef yr Awen o Fon i Fynwy, ac o Ffrydiau Caswennan[1] i Fangor Isgoed. Yn ofer y rhodiai rhigymydd ar hyd finion soniarus afonydd; yn ofer y cyrchai y goedwig friglas i wrandaw carolau gwylnosawl yr eos, na chathlau boreuol yr hedydd; yn ofer yr ai efe i wely D. ab Gwilym i orwedd, nac i gadair Huw Morus i eistedd; ar fyr, nid oedd dim yn anian a dyciai i'w lenwi â'r hon nid adwaenai; neu ei ddoniaw i gyfansoddi yn bencerddaidd ar un o'r mesurau; er ei fod yn gyfarwydd yn y gelfyddyd wael o droi pob mesur yn glogyrnach.

Ar y sail hon, tybia rhai i Awen Gwyndud grwydro o'i gwlad, ar ol ei Goronwy, yn gyffelyb i Isis yr Aiphtiaid ar ol Osiris, yn drom ei chalon, ac yn wlybion ei gruddiau; ac iddi ym mhen amser gyrhaedd Glan Tafwys, fel pe buasai yn chwilio am drwydded i'r Amerig. Rhyw rai ar ddamwain a gyfarfuant â'r grwydres ddyeithrol, ac a'i dygasant i'r *Crindy*, lle y cafodd dderbyniad a chroesaw nid bychan gan Owain Myfyr, Gwilym Meirion, Sion Ceiriog, ac ereill, y rhai oeddynt yn gynnysgaeddawl o gariad gwresog at eu hiaith a gwlad eu genedigaeth. Y gwyrda hyn a'i cymhellasant i ddychwelyd, rhwng bodd ac anfodd, i'w gwlad ei hun; gan addaw y mynent hwy, ar eu traul, ac o'u syberwyd eu hunain, gynnal eisteddfodau blynyddol, rhoddi testynau, a phenodi gwobrau tlysawg. Ar hyn o gynghrair, yr hwn a gyflawnwyd yn llwyddiannus, dychwelodd Awen i Gymru, ac yno cafodd

[1] [Y meinfor rhwng Ynys Enlli a chyfandir Arfon.]

dderbyniad caredig gan facwy athrylithgar a elwid Dafydd Ddu o Eryri; yr hwn, gan ragweled bod oesau doniau yn gystal a dynion yn heneiddio, a arfaethodd briodi yr Awen fwynaidd ag un o enw "Myfyrdod ab Pwyll ab Pryderi," mebyn o fonedd urddasol; a'u hepil tegweddol a chariadus hwynt sydd yn awr wedi lledaenu drwy holl Gymru penbaladr; ond o herwydd eu bod yn hoffi awyr iachus yr Eryri, y maent yn amlach o rifedi yn yr hen gymmydogaeth nag mewn un dalaeth arall; ac yno hefyd dywedir eu bod yn debycach i'w gilydd o ran pryd a gwedd, ac yn haws eu hadnabod wrth eu rhieni clodwiw, na neb ereill sydd yn arddel carennydd iddynt.

Bu Awen yn hoffi llawer Dafydd cyn y Du o Eryri; yn gyntaf, Per Ganiedydd Israel; ac yn ein gwlad ein hunain, D. Benfras, D. ab Gwilym, D. Ddu o Hiraddug, D. ab Edmwnt, D. Nanmor, D. Llwyd o Fathafarn, &c. Nid yw ei serch at yr enw eto wedi diffodd, gan fod ganddi Ddewi Wyn o Eifion, ac hefyd Ddafydd Ionawr; y rhai nid ydynt yn ymddibynu ar sylw na nodded un gymdeithas, ond cymdeithas angyles y fynwes.

Bellach pwy a wad nad yw cenedl y Cymry yn rhwym mewn diolchadau parhäus i Anrhydeddus Gymdeithas y Gwyneddigion yn Llundain, am ei syberwyd a'i gwladgarwch—am ei hymdrech llwyddiannus i ail ennyn marworyn Awen eu gwlad, pan oedd ym mron diffoddi. Bydded hefyd goffâd teimladwy, hyd ddiwedd amser, am y *Gwir* Barchedig Esgob sydd yn bresennol yn arwedd Bagl Dewi,[1] am ei wasanaeth offerynol i sefydlu ac i gyffredinoli Cymdeithasau Cymreigyddol a Chymmrodorol drwy y pedair talaeth. Y gwr enwog hwn, er ei fod yn Sais o genedl, sydd er hyny â lles tymmorol a thragywyddol cenedl y Cymry yn ddwys argraffedig ar ei galon. Un o arwyddion ffyniant y cyfryw sefydliadau, ydyw y cyhoeddiad sydd yn bresennol dan ein sylwiad—sef,

[1] [Y Dr. Th. Burgess.]

## FFRWYTH YR AWEN,

NEU

AWDLAU, CYWYDDAU, AC YNGLYNION, A DDANFONWYD I EISTEDDFOD GWENT, YR HON A GYNNALIWYD YN ABERHONDDU, DAN NAWDD SYR CHARLES MORGAN, MARCHOG; MIS MEDI, 1822.

Y cyhoeddiad hwn a gynnwys Dair o Awdlau ar y prif destyn; Dau Gywydd ar yr ail; a 34 o Ynglynion ar yr Enfys. Am yr Awdlau, dywedir yn y Rhagymadrodd:—"Amcan neillduol y testyn oedd clod i ryfelwyr Prydain, yn gystal a'i phenswyddogion, yn yr amrywiol frwydrau a ymladdwyd rhyngom ni a'r Ffrancod; ond yn enwedig yr ymdrech olaf a gorchestol hwnw ar faes Waterlw." * * * "Os gwych a wnaeth ein milwyr, nid gwael y cofiant am eu dewrder gan feirdd Cymru."

Yr Awdl fuddugol sydd o waith *Eryr;* a'i chynnwysiad yn fyr fel y canlyn:—

PENNOD I. Ail Goroniad Sior III. â blodau y bedd—ei Fab hynaf yn Rhaglyw y Deyrnas—Adolygiad y Chwyldroad yn Ffrainc—Napoleon yn goresgyn Portugal a Spaen—ei greulonder erchyll—Prydain yn ei wrthwynebu—ei llwyddiant—Brwydrau Badajos, Salamanca, Vittoria, Pyrenees, St. Sebastian, Orthes, Toulous, &c.

PEN. II. Dychweliad y Bardd i Brydain â'r newydd da o Heddwch—Napoleon yn dychwelyd o Elba—Ail Ryfel—Brwydr Waterlw—Llwyr orchfygu y gelyn—Diolchgarwch am Heddwch Cyffredinol.

PEN. III. Rhyddid, Breintiau, a Chadernid Prydain—Pren y Bywyd—Effeithiau ei ddail—Cymdeithasau Crefyddol—Diweddglo.

Y mae yr *Eryr* (heb achos, mae yn debyg i wenieithio i'w Awen, gan ei bod lle gwyddai, ac yn dirion ei nwydau) yn agoryd ei Awdl mewn dull lled fyrbwyll, heb ymdebygu i helydd yn curo twmpathau am ei destyn. Y mae efe drwy ystod ei Awdl yn dyfalu ei hun yn bresennol ym mhob man yr arweinid ef gan ei Awen. Y mae yn darlunio maes y gwaed, celanedd, a difrod, yn rhy gyflawn o erchylldod i archwaeth

teimladau llesmeiriawl. Hyn (meddant) a barodd i un o'r beirniaid wrthwynebu rhagoriaeth ei Awdl, gan ddolefain yn Seisneg, "*There is too much blood in it.*" Gwir, bod aden gref i'w Awen ef; ac fe allai, o'r achos, ei bod yn hedeg yn rhy bell, allan o olwg seliad cyffredin. Ond mwy dymunol i'n barn ni yw Awen ehedfalch eryraidd, er ei bod weithiau yn treiddio i blith y cymylau, ac yn ergydio tua chaerau Arianrod a Gwydion, nag Awen iselgyrch ystlumaidd, a dreulio ei nerth yn ehedfan yng ngwyll hwyrddydd, yn agos i'r llawr, ac i draflyncu gwybed: ond ar yr un pryd, rhaid cyfaddef bod y gyrwyr mwy gorwyllt mewn mwy o berygl tramgwyddo, na y rhai a arferant ffrwyn a genfa yn fwy trybwyllog.

Er meithed yr Awdl, sef agos i wythgant o linellau, dymunem ddyfynu ambell ddifyn o honi er mwyn dangos i ein darllenyddion ddull yr awdur yn cynghaneddu.

Tudalen 3. Ar benodiad Tywysog Cymru yn Rhaglyw yn y fl. 1811:—

"Eiddilon ddyddiau olaf—yr anwyl
Hen frenin hawddgaraf,
Y penwyd ei Fab hynaf
Yn *Rhaglaw* yn nwylaw Naf."

Yn nesaf ceir darluniad o Orsedd y Rhaglyw:—

"*Cyfiawnder* a gwâr Drugaredd—ddalient
Ar ddwylaw ei fawredd;
A rhif o engyl rhyfedd
Dano, fel na siglo'i sedd."

Gallai lluniedydd agweddu gorsedd orwych, ond canlyn darluniad y bardd.

Tudalen 4. Am y Rhaglyw a'i brif weinidogion y dywedir:—

"Gwrawl ym mhob goror—yw ei gleddyf
Tra gloewddu—mae dramor;
A gwiw engyl ei gynghor
Yn haid yw meistriaid y môr!"

Tudalen 5. Napoleon yn Spaen:—

"Yn hyfedr, O! na fedrwn
Ar len hir ddarlunio hwn—
Pe gallwn—dwys bwys y bai
A grynai Gaerau Annwn!"

Tudalen 7:—

"Afon o waed a fu'n wir
Yn rhedeg yn eu brodir;
O! hyll fâr! nid all fod
Dyfais nac un prudd dafod
A fedr yn heinif adrodd
Rhan fer am y gerwin fodd
A welodd Hisbaen wylawg,
O ddyfnder chwerwder ei chawg!"

Tudalen 10:—

"Do—e synwyd Badajos enwog
* * * * *
Llaw y Llyw Hollalluog—roe i hon
Waelodion ei gwpan lidiog."

Tudalen 11:—

"Gwŷr meirwon fel ceryg o'r muriau
A welwyd, rhai ddyrnwyd yn ddarnau;
Swn oernych! rhyw fynych ruddfanau
O! uthr ol adwyth! yr aelodau
Yn myned yn domenau! brig anian
I'r ddylluan allan yn ddrylliau!"

Rhyfedd bod *Eryr* yn ei nod ar y ddylluan, yn ei galw yn aderyn ysglyfaethus; gan nad yw hi, am a wyddom, yn ysglyfaethu dim ond adar mân, a llygod, &c. Cymhwysach fuasai iddo gymmeryd barcutan neu gigfran i'w fyddin. Y mae y Cymry yn gyffredin yn ammharchu y ddylluan ormod, gan ddywedyd, "O y ddylluan!" am fenyw hurt. Y Groegiaid gwybodus, i'r gwrthwyneb, a barchent y ddylluan, gan ei chyfrif yn "aderyn doethineb" *(the bird of wisdom)*.

Wedi trochi ei esgyll mewn moroedd o waed, ym mrwydrau Badajos, Salamanca, Vittoria, &c., &c., y mae yr *Eryr* eto, fal "Eryr Eli" Llywarch Hen, "yn groch ei lef" am fwy o ysglyfaeth; canys nyni a'i cawn (tudal. 16) yn annos y milwyr:—

"Atynt am unwaith eto—ydd anwyl
  Fyddinoedd sy'n rhuthro;—
 Trist i'r Gorthrymwr y tro,
 Droi allan Ffrainc i'w dryllio.

"Dacw ruthriad y chwyrn gadau—a'u swn
  Yn dadseinio'r creigiau,
 A dynion gwylltion yn gwau
 Drwy bylor a dur belau.

"Yn y difrod yn dewfrith—y malwyd
  Eu milwyr yn draphlith;
 Y plwm a yrwyd i'w plith
 O'r gŷnau fel hau'r gwenith!"

Yna y canlyn y tymmor heddwch ar ol brwydr Toulous:—

"'Rol darfod hynod swn taranau
Y du gethin farnedigaethau,
Mi a welaf (heb liw cymylau)
Y lwys heulog awyr las olau;
Byw loew drem deg belydrau—diryfel,
A gwawr dawel ar gaer y deau."

Ond tudal. 19, ceir y "wawch wyllt" fod Napoleon wedi dychwelyd i Ffrainc o Ynys Elba:—

"Prin yn awr cael gwawr gain,
Ar dori, dros gaer y dwyrain—
Mae sain *Rhyfel!* magnelu
Trwy'r dyffryn, er dychryn du!"

Yna y canlyn y "Cynauaf Coch" Waterlw, yr hwn sydd chwe' tudalen o feithder. Gellir, er hyny, farnu darluniad yr ymdrech waedlyd wrth yr ychydig bennillion a ganlyn:—

"Och yr olwg dra chreulon—llengau o
  Gadau, a'u hergydion
 Dial hyd yr ardal hon;
 Muriau o gyrff y meirwon!

"Rhwygiedig rai'n curiawg waedu—yn fawr,
  Chwyrn feirch yn carlamu;
 Eu cyrff yn sathr i'w mathru
 Yn llaid, tan garnau y llu.

"Ogylch safn barn yn agor—O! brudd ing!
  Bwrdd angeu yw'r oror!
 Gofid sydd yn dygyfor
 Mal tònau ymylau môr.

"Plwm du yn ysgythru'r coed—
Y gwellt yn fathrfa mewn gwaed—
Malu a baeddu pob oed
Yn ddarnau—drylliau dan draed!"

Ar ddiwedd y trydydd dydd o'r ymladdfa, a'r dydd hwnw yn Sabboth, dywedir:—

"Gwelaf wŷr Ffrainc ar gilio,—yn deneu
Mewn dinystr yn syrthio,
Ag *Eryr*, wedi 'i guro
Aeth yn awr i lawr—HOLO!!"

Y mae y bardd yn medru dangos ychydig o ysmaldod yng nghanol erchylldod cyflafan—dyma *Holo!* megys sain gorfoledd, pan aeth *Eryr* Napoleon i'r llaid. Ac o'r blaen, pryd y gwelai Spaen a Phortugal ar dân o waith y lluoedd Ffreinig (tudal. 6):—

"Ow! Ow! dacw anferth goelcerthi—yssig
Ddinasoedd yn llosgi!
Cuchiog awyr yn cochi—* *"

Ar hyn y mae y bardd yn gofyn i rywun yn hoew-ysgafn:—

"Ai *hen Galan Gauaf* yw hi?"

Ond nid yw hyn amgen nag arwyddo anian ryfelawg milwyr a llongwyr Prydain, &c.

Tua diwedd yr ail bennod, a thrwy y cwbl o'r drydedd, y mae yr Eryr ysglyfaethus megys yn ymwisgo â Diniweidrwydd y Golomen, ac â phynciau yr Eos yn canu Goroïan Heddwch:—

"Ha! Ha! *Ewropa* sy'n rhydd—af adref
I edrych fy mröydd,
I'r llanerch wâr a llonydd—
Fy mawr serch ar fy mro sydd.

"O rhoed *Ion* yno nhraed i,
Ar riniog fy rhieni!"

Y llinellau serchus hyn a ddygant i'n cof Hiraeth y bardd hwn am ei wlad, yn y *Powysion.*

Tudalen 27. Ar gadernid Llywodraeth Prydain y dywedir:—

"Uchel yw'r Ynys fechan—ni osia
Teyrnasoedd byd llydan,
Na Glyw, roi troed ar ei glann
O'i hanfodd hi, yn unfan."

Tudalen 28. Am gyflwr efengylaidd ein hynys:—

"Gwelaf ryw BREN tra gwiwlon—a'i radau
Yn nhir Prydain dirion;
O mor wych yw llewych llon
Ei frigau'n nofio'r eigion!"

Traethir yn helaeth ar ffrwythau Pren y Bywyd—Cymdeithasau Crefyddol, &c., o hyn hyd y diwedd. Wrth sylwi ar gyfansoddiad y pennill diweddaf, nis gallem lai na thybio fod myfyrdod y bardd yn dechreu hepian yn ol hirfaith ludded.

Os esgusodir gwallau yr argraffydd, ni ymddengys nemor yn yr Awdl; . . . . a bydded i'r bardd yn Nolgellau, a'r wasg yn Aberhonddu, arddel bawb yr eiddo.[1] . . . . . .

AWDL II. Gan HANESYDD.

Gwedi erfyn cymhorth ei Awen, yn ol yr hen arfer, y mae y bardd yn dechreu ei destyn yn ddeheuol, ac yn ei ddilyn yn rheolaidd, yn ol amseriad y dygwyddiadau a grybwyllir ganddo, o hyd i'r diwedd. Nid yw yr Awdl hon nemor dros un rhan o dair o feithder yr Awdl gyntaf; ond nid yw lai ei chymmeradwyaeth o ran hyny.

Rhoddir yma ddyfyniadau o honi, er mwyn y sawl o'n darllenwyr na feddant *Ffrwyth yr Awen.*

Tudalen 34:—

"Tremia f' Awen dan wenu
Ar Frydain, y fro gain gu;
Gwel ei Rheol deddfol dwys,
A'i hoewlon Lywydd hylwys;
A grym ei Lywodraeth gref,
Di eiddil fu, rhaid addef,

[1] [Gan mai gwallau y wasg yw y nifer amlaf o'r rhai a nodir, ac felly yn annyddorol, gadawyd hwynt allan.]

Pan oedd hen ein Brenin,
A *Blaidd* rhuadwy a blin,
Cyfrwys elyn cyndyn cas,
Gwael swyddog ail i Suddas,
A'i fryd ar lwyr ddifrodi
Golud a nerth ein gwlad ni,
A'i arfogion croesion cras,
Mewn taerni am ein teyrnas."

Tudalen 34. Dywedir am ein hymdrechwyr:—

"Ein prydferth *filwyr* nerthol,
Calon un nis ciliai'n ol;
A'n *morwyr* yn ymwriaw
Yn hwylus, yn drefnus draw;
I yru mellt yn eirias
Ar y cefnfor, gloewfor glas.
* * * * *

"Bwrient, a rhwygent i'r eigion—longau
O lynges yr estron;
Yn syn gwnaent i elynion
Soddi'n llwfr is dwfr y don."

Yna y canlyn *Hanesydd* Napoleon i Bortugal a Spaen, gan ddywedyd (tudal. 35):—

"Os poenodd ef Hispania,
Ca'dd Prydain fad ddifrad dda,
Yntau i'w phalf mewn dalfa—
Mawr ddychryn, wnae'r gelyn yn gwla.

"*Wellington* hylon a hwyliodd—ei dorf,
A dirfawr ymladdodd;
Ffrainc i ebwch tristwch trodd;
Gelyn o'i flaen a giliodd."

Gwelir yma fwy o gymmysgedd damweiniau nag a dybiwyd genym ar yr olwg gyntaf: sef Napoleon mewn *dalfa*, cyn i Wellington hwylio ei dorf tua Lisbon. Darlunir gorchestion Moore, Paget, a Hill; ar lan Douro, Busaco, &c.—Etholiad Tywysog Cymru yn Rhaglyw—Brwydrau Badajos, Vittoria, y Pyrenees, &c.—Deoliad Napoleon i Elba. Ond yn ebrwydd—

"Och fi! 'r Estron mewn llid a chyfrwystra,
Wnaeth fawr-dwyll trwy ammhwyll y tro yma,
Barus ei elfen i'w hen breswylfa,
Yn syn deuai'r gelyn i dir Galia;
I'r bwystfil bu oer westfa—gyda bloedd,
I alw ar filoedd i ail ryfela."

Tudalen 42. Brwydr Waterlw:—

"Ymladd diorphwys yn dra-dwys dridiau;
Swn mal nerthol derwynol daranau;
Llewych a phylor, lluchiaw a phelau;
Meirwon dan draed, a'r gwaed o'u rhwygiadau
Llanwodd y tir yn llynnau,—pan gwympent,
Fyrdd o wŷr sengent ar farw ddrws angau!

"Ac yn y ddirfawr lwyddfawr ymladdfa,
Dialedd fu'n dilyn gelyn Galia,
Duodd i oerfel diwedd ei yrfa,
Yn lle mawrbarch cael ammharch yma,
Ac ail-boen gwaeth noc Elba,—trosglwyddwyd,
Nes hwnt e lanniwyd yn Sant Helena."

Gwedi hyn darlunir bendithion Heddwch:—

"Cael mwynhau dyddiau diddan—cu heddwch
Cyhoeddwyd yn fuan;
Cael agor i'r gloewfor glân
Da ddorau gwledydd eirian.

"Trwy ddifrad gariad geirwir—ammodawl,
Rhwymedig a chywir,
Cawsom drefnus weddus wir
Undeb, â'r holl Gyfandir."

Tudalen 44. Marwolaeth Sior III, a dyrchafiad Sior IV. i'r orsedd.

Tudalen 45. Ar ryddid cydwybod dywedir:—

"Gwiw ryddid gu a roddodd—i'w ddeiliaid
Addoli o'u gwirfodd;
Bob duwiol grefyddol fodd,
Dull addas, da y llwyddodd.

"Tros ddyfroedd moroedd mawrion—yn fynych
Anfonid Cenadon
Y dêr Efengyl dirion,
Da waith, yn achos Duw Ion.

"Ynys Prydain gain ar gynnydd—fytho
Yn faeth i wir grefydd;
Poed Sior hawddgar Bedwarydd
Yn Dŵr, Diffynwr y ffydd.

"Duw anwyl a dywyno—ei fendith
Yn fwyndeg i'w lwyddo;
Hir oes fyg i'w Ras a fo—
A dynion cywir dano."

Y gwallau yn yr Awdl hon, fel yn y gyntaf, ydynt ranedig rhwng y bardd a'r wasg.[1] . . . . .

[1] [Ni thybiwyd o bwys eu cofnodi.]

AWDL III. Gan CYNFELYN.

Yr awdwr hwn a rydd gynnwysiad ei Awdl yn Seisoneg; ac am nad ellir ei dalfyru yn Gymraeg, heb anurddiant i deledi wrwydd y cyfansoddiad, rhaid i ni adael heibio yr ymgais.

I ddechreu, darlunir Prydain mewn galar, o herwydd goflin gyflwr ein teilyngaf frenin Sior III. yn ei henaint —Tywysog Cymru yn Rhaglyw—Bwgan yn cyfodi o'r pwll diwaelod, yr hwn a gam enwyd yn Ffrainc *Rhyddid.*

Tudalen 50:—

"Cawr lled odiawg, gwyarllyd ydoedd,
Hy erwin ofeg, heriai y nefoedd!
Hyll arw Foloch, llawer o filoedd
Efe a ddenai i'w anwiw fyddinoedd;
Ac ehud ae, modd cyhoedd—ei lwyddiant,
Ei fawr ogoniant, a'i fri i gannoedd!

"Ar unwaith, mewn awr anwiw,
Yn wych eu llewych a'u lliw,
Yr ae pelydr Apolyon
Addoer hynt, drwy'r ddaiar hon.

"Eres addas orseddau—gwên Ewrop
Gan arwydd ei wyrthiau,
Cwympent, gwywent, modd gau
A dinerth heb ddim doniau.

"Rhoddid yn rhwydd,
A bri'n ebrwydd,
Wr swyddfawr ar orseddfainc
Siglawg, waed-ffrydiawg Ffrainc:
Ac efe hir gafai Haf,
Neu lwyddiant, tyciant tecaf;
A gloew dymp idd ei glod oedd,
Enwid yn Ben breninoedd."

Tudalen 52:—

"Ein Rhaglyw * * * *
A wnai i'r gelyn ar giliaw
I wleb drem Elba draw—
A chlod gwedi machludaw, 'r ol dèwraidd
A mawrddawn lewaidd myrddiynau lywiaw!"

Tudalen 53:—

"Y Ffreinig Lyw ffyrnig ffel,
Brwd awchus, a bryd uchel,

Tra gwglyd, tua'r *gogledd*,
Trwy hir glod troai ei gledd;
Ond i'w ran, lle rhy anial
Cai yno, er syrthio'n sal."

Tudalen 54:—

"Acw yn Moscow cymmysgid—y gawgen,
A gwgus law gofid,
Yn llawn o wenwyn a llid!
I'r hy-ddewr wr y rhoddid."

Rhyfedd i *Gynfelyn* anfon Napoleon i Elba, cyn iddo deimlo fferdod rhew y Gogledd ar ei wrthrediad o Moscow! Mae *Hanesydd*, fel y sylwyd, wedi ymddyrysu yn ei amseriadau yn yr un modd.

Tra darluniadol yw y Cywydd canlynol o agwedd y wlad yr enciliai y lluoedd Ffreinig drwyddi, ar eu dychweliad:—

"I'r gelyn, wrth oer gilio
O rewawg afrywiawg fro
* * * * *
Ufeliar hyf a welid
Min hwyr!—bu i'r awyr wrid
Eirias!—a dinas ar dân,
Uchel lef, a chyflafan.
*Tu'n ol* oedd tân ulw—och!
A golygiad goleugoch,
*Ac o'u blaenau*, cwbl unynt,
Yr eiry—ia—a'r oer wynt.

"Llawer lleng a wnai drengu—yn dyrfa,
A bu dirfawr nychu,
Eiry gwyn gwnai oer gannu,
Yn drachwyrn hyll esgyrn llu!"

Tudalen 56. Gyru Napoleon eto i Elba—a'i ddychweliad:—

"Tros y don, er traws y daith,
Deuai'n ol mewn dawn eilwaith;
Ail godai'n loew, gwedi
A chlau fraint, ac uchel fri,
Wr glew yn erbyn Lewys,
Gwrawl oedd, gyrai o'i lys."

Tudalen 57. Maes Waterlw:—

"Taenu gwae a wnai tân gwyllt,
Yr un fath a tharan follt,
Neu fforchawg efwrnawg fellt
Gerwin!—hwt! y deigryn hallt!"

Tudalen 59:—

" *Welington*, y gwron gwych,
A anfonai yn fynych,
O gwr i gwr ein garw gad,
Yn ei gynnydd iawn genad,
Er annog, gu arweinydd,
Llu dewr i ennill y dydd."

Tudalen 60:—

" Llyna Sior, llenwai ei swydd,
Tan ei dad, neud dyn dedwydd?
Er cael gan ei Ior Celi,
Hedd a nawdd i'n heiddo ni.
Trwy ei lu tarawai lawr
Hyll derfysg y llew dirfawr;
Y llyw a fu, â llaw faith
I ranu *Byd* ar unwaith!
Daliwyd, a bwriwyd i ben
Y salaidd Ynys *Helen!*
Er iddo neidio hyd nen—anhebgor
E ddeuai i oror y ddaiaren.

" Yr awron, pa le mae'r ERYR—a hydr
Ehedai hyd awyr?
Y mae fe—iawn y myfyr—
Ynghanol anfeidrol fŷr!"

Tudalen 61. Ar ail sefydliad Heddwch:—

" Trwy wiw nwyf troi a wnawn,—ddoeth Awen,
Oddi wrth wewyr digllawn;
Yn ein gwlad mewn cariad cawn
Fawr odli yn fwy hyfrydlawn."

Tudalen 62:—

" Neud mirain yw Llundain, a llon?—llenwir,
Yn llawn o arwyddion
Ei Raglywiaid, rai gloewon,
Rhes hardd yn euraw'r oes hon."

Am y gwallau cynghaneddol, geiriol, a llythyrenol, yn yr Awdl hon, gellir dywedyd, pe buasai *Cynfelyn* drwy gydol y tridiau ymdrech ym mrwydr Waterlw, â'i Awdl yn ei logell, a "phlwm a dur a fflam dân" wedi ei thrydyllu wyneb a gwrthwyneb; neu, pe buasai efe gydag Elis Wynn gynt, yn cael ei gludo ymaith ar ysgwyddau y tylwyth teg, "tros dai a thiroedd, a mor-oedd a mynyddoedd," a thrwy ddrain a mieri, ac eithin ffreinig Dyfed, â'i gerdd yn ei law, prin y buasai hi yn

ymddangos yn fwy annhrefnus ei diwyg nag ydyw yn y cyhoeddiad hwn. Nis gallwn lai na sylwi ar nifer o'r gwallau, gan adaw, fel o'r blaen, rhwng y bardd a'r wasg, eu priodoli.[1] . . . .

"Ma*e* garw oedd" yn lle ma*i* garw, &c. Berf yw *mae;* cyssylltiad yw *mai.* "Y *mae*'r gwas cyflog yn ffoi, o herwydd *mai* gwas cyflog yw."

Tudalen 50:—

"Gwyll," *a phantom, goblin, &c.*, yn odli ag "erchyll." Ceir y gair yn odli ag "esgyll" gan D. ab Gwilym; er hyny, yn ein tyb ni, sain leddf yn gyffredin a roddir i'r *ŵyll*, a farchogai ebolion gwylltion gynt yn y nos, yn ol hen goelion gwrachïaidd.[2]

Tudalen 63:—

"A *Llyw* teg yr ho*ll* wlad hon."

Ni ddichon *ll* lyncu *l*, os na bydd yn ddigyfrwng yn nesaf oll iddi.

---

## DRYCH CREFYDDOL;

YN DANGOS DECHREUAD Y GREFYDD BROTESTANAIDD, YNG NGHYD A HANES Y DIWYGIAD YN LLOEGR A CHYMRU. HEFYD, ADRODDIAD AM NIFER O'R CYMRY A FERTHYRWYD O BLEGID EU CREFYDD YN NHEYRNASIAD ELISABETH A JAMES I. A'R DDAU CHARLES.—GAN W. OWEN.[3]

GYMRY HYNAWS!—Wele i chwi lyfr na welsom o'r blaen ei fath erioed yn y Gymraeg, ac ni ddysgwyliasom gyfarfod â'i gyffelyb byth. Ei amcan dirgel ydyw,

[1] [Gadwyd allan y nifer mwyaf o honynt.]

[2] [Lleddf yw *gwyll* (gŵyll) pan yn dynodi ellylles neu widdon; megys, "yr *ŵyll* a orphwys yno" (*Esa.* xxxiv. 14): ond talgron yw pan yn golygu tywyllwch; megys, yng *ngwyll* y nos; neu,

"Dysgawdr mawl rhwng gwawl a *gwyll*,
Disgyn, nawdd Duw ar d' esgyll!"]

[3] [Y *Sefnyn* y crybwyllir am dano yn "Llythyrau Cassius," *t.* 243, &c., o'r gyfrol hon.]

trwy hanesion ystrywus ac anffyddlon, eich hudo i gynnwys meddyliau parchus am y grefydd Babaidd, a meddyliau dirmygus am y Diwygiad mawr crefyddol, a'r llu ardderchog o ffyddloniaid a merthyron a lafuriasant yn y gwaith clodforusaf hwnw. Pe gadawem i'r cyfryw gyhoeddiad a hwn ymdaenu trwy ein gwlad yn ddigerydd, da iawn yr edliwid i ni, nad ydym ond cysgu ar dŵr y Gwyliedydd. Barnasom, gan hyny, yn ddyledswydd arnom rybuddio ein darllenwyr yng nghylch cynnwysiadau niweidiol y cyfryw lyfr, fel y gallo yr ieuanc a'r anwybodus a'i darlleno, wybod yn ddilys pa fath ymborth afiachus a osodwyd yn eu dwylaw.

Clybu y rhan fwyaf o'n darllenwyr son mawr yn ddiweddar am gymdeithas a sefydlwyd yn yr Iwerddon, dan yr enw y Gymdeithas Gatholig *(Catholic Association)*, un o ddybenion yr hon ydyw (ym mhlith amryw wrthddrychau ereill), taenu y grefydd Babaidd yn y deyrnas hon. Gosodir pum mil o bunnau heibio i'r perwyl arbenig hwn—megys i argraffu llyfrau Pabaidd, a chynnorthwyo amryw amcanion ereill, er ymdaeniad y grefydd lygredig hòno. Yn gytûn â'r bwriad hwn gwnaethpwyd ymdrechiadau anghyffredin i ennill proselytiaid i Babyddiaeth; a drwg yw genym ychwanegu, mai nid ychydig fu eu llwyddiant yn rhai manau. A yw Wiliam Owen yn un o weinidogion y gymdeithas ddywededig, ac yn dysgwyl ei ran o'r pum mil o bunnau, gormod yw i ni ardystio; eithr hyn a fynegwn yn hyderus, bod ei lyfr yn cytuno yn dra chywir â'i hamcanion, ac yn debyg o foddhau calon y Papist ffyrnicaf. Y mae hefyd yn dra amlwg, oddi wrth ei ddull ymadrodd, mai cyfieithiad ydyw o'r Seisoneg, ac nid gwaith a ysgrifenwyd y tro cyntaf gan y cyhoeddwr ei hun yn Gymraeg.

Dywed y Rhagymadrodd Seisnig, y cynnwysa y llyfr hanes y Diwygiad, a'r Cymry a ferthyrwyd yn amser Elisabeth, &c.; eithr am y sawl a ferthyrwyd yn amser Mari waedlyd, nid yngenir un gair, nac ychwaith am erlidigaethau tanbaid tywysogion Pabaidd ereill. A

yw hyn yn deg a diduedd? Mynega yr ysgrifenydd iddo ganlyn y gwirionedd gydag eithaf cywreinder; eithr faint a haedda efe o'r ganmoliaeth a rydd mor *lledneis* iddo ei hun, barned y darllenydd dysgedig oddi wrth y llinellau nesaf, lle y dywedir, i "fwy na deuddeg cant o bobl gael *eu dinystrio* yn amser Elisabeth, cyn y flwyddyn 1588, sef 3 archesgob, 18 o esgobion, 8 iarll, 10 arglwydd, &c., &c., heb law llawer iawn o rai ereill, y rhai nis gellir yn awr gaffael eu henwau." Os eu dienyddio a feddylir wrth eu dinystrio (*destroyed*) y mae y cyhuddiad yn anwireddus ynddo ei hun, ac yn gywilyddus hynod i'r cyhuddwr. Ni thrafferthwn yr ysgrifenydd i ddodi i lawr y deuddeg cant o enwau, eithr gofynwn ei waethaf (a gosodwn brawf ei wirionedd ar y weithred) i fynegu enwau y 3 archesgob, y 18 esgob, yr 8 iarll, a'r 10 arglwydd, a ddinystriwyd gan y Frenines Elisabeth, o herwydd eu hymlyniad cydwybodol wrth Babyddiaeth.

Ysgrifenir y llyfr mewn ffordd o holiadau ac atebion. Dywedir yn ei ddechreuad, a chymmerir peth trafferth i brofi, mai y grefydd Rufeinig oedd "y grefydd sefydledig yn gystal yn Lloegr, a thrwy yr holl wledydd Cristionogol ereill, cyn y flwyddyn 1500—ac mai gwirionedd yw hwn nas gellir ei gwestiwno." Gadewir i'r darllenydd gasglu, er yn ddiau na ddywedir yn bendant, mai Papistiaid a fuasai ein hynafiaid *bob amser:* eithr pa ham y celir mai nid felly yr oedd yn y dechreuad? Y ddadl-bwnc rhyngom ni a'r Papistiaid yw, nid a oedd y grefydd Rufeinig wedi ymdaenu trwy holl deyrnasoedd Cred erbyn y flwyddyn o oed Crist 1500, eithr a oedd hi yn gytunol â rheolau sanctaidd Crist a'i apostolion, ac arferion y prif oesoedd, neu ynte, ar y llaw arall, yn gyflawn o hygoeledd a llygredigaeth. A yw y trawssylweddiad, addoli delwau, gweddïo ar y Fair Forwyn a'r saint, annyweddïaeth yr eglwyswyr, gorhaeddiant, &c., yn gytunol ag athrawiaethau a defodau Crist a'i apostolion? Ai y grefydd Babaidd oedd crefydd yr hen Frytaniaid cyn dyfodiad Awstin Fynach i Loegr? Os felly yr oedd, pa ham y

gorchymmynodd efe ddinystrio Monachdy Bangor is y Coed, a lladd yr ysgolheigion? Os yw W. Owen mor awyddus i goffäu merthyron Cymreig, bydded iddo yn ei argraffiad nesaf gymmeryd peth sylw o gynnifer o wŷr hybarch diniwaid, a ddienyddiwyd am ddim bai, heb law eu hymwahaniaeth cydwybodol oddi wrth y grefydd Rufeinig.

Un ddyfais benodol yn y llyfr hwn, megys y mae yn ddichell gyffredin gyda'r Pabyddion, ydyw haeru i'r grefydd ddiwygiedig ddechreu yn hollol gyda Luther —ac, yn ganlynol, mai Luther yw awdwr y grefydd Brotestanaidd; eithr daeth Pabyddiaeth (meddant hwy) yn uniongyrch a dihalog oddi wrth Grist a St. Pedr. Gofynodd un o honynt i wr boneddig Protestanaidd, "Pa le yr oedd eich crefydd chwi cyn Martin Luther?" Atebodd yntau, "Lle ni bu eich crefydd chwi un amser erioed—*yn y Beibl.*" Felly, yn ol yr awdwr presennol, nid oedd y Faudosiaid,[1] a dilynwyr Wicliff a Huss, yn gwahaniaethu ond ychydig oddi wrth athrawiaeth ac addoliad Eglwys Rufain, ac ni allent fod yn Brotestaniaid. Gwir yw nas gallent mewn un ystyr fod yn Brotestaniaid, o herwydd na roddwyd yr enw hwnw ar unrhyw blaid grefyddol, tan y flwyddyn 1529: eithr yr oeddynt oll, yn fwy neu lai, wedi ymneillduo mewn llawer o bethau pwysfawr oddi wrth yr Eglwys lygredig hòno, sef pob un yn ol y gradd o oleuni a gawsai. Yr oeddynt oll yn ymlynu wrth athrawiaethau, y rhai, os gwir ydynt, rhaid i Babyddiaeth fod yn anwiredd a thwyll. Eithr os ychydig o nifer, a bychan o bwys, oedd achosion eu hymraniad, pa ham y cyhoeddwyd rhyfel cyffredinol yn erbyn y Faudosiaid, a maddeuant pechodau i bawb a'u hysbeilient ac a'u lladdent? Pa ham y gwnaethpwyd *Act* benodol gan Senedd Lloegr i losgi y Lolardiaid, sef dysgyblion Wicliff, ac y cymmerwyd esgyrn Wicliff[2] ei hun o'r bedd i'w llosgi, flynyddoedd lawer ar ol ei farwolaeth? Pa ham y

[1] Math o ddiwygwyr yn nyffrynoedd Piedmont, y rhai a erlidiwyd yn dost iawn gan y Papistiaid.

[2] Gwel Hanes Wicliff. [*Gwyliedydd*, i. 3.]

lladdwyd John Huss[1] yng Nghymmanfa Constans, wedi i'r ymherawdwr ei wahodd yno dan ymwystliad parchus o ddiogelwch? Diau, os nid oeddynt yn Brotestaniaid o ran enw, yr oeddynt yn ardystio yn ffyddlon yn erbyn Eglwys Rufain, ac felly yn rhagflaenu ac yn rhagbarotoi y Diwygiad. Os nad oedd eu goleuni ond megys toriad y wawr, efe a lewyrchodd fwyfwy gydag ereill hyd ganol dydd. Eithr nid ydym ni Brotestaniaid yn galw na Wicliff na Huss na Luther yn awdwyr ein ffydd. Anrhydedd y gwŷr enwog hyny, oedd iddynt loewi, a dwyn i'w phurdeb dechreuol, y grefydd a lygrasid cyn hired a thosted gan y Papistiaid. Y Beibl yw sail ein hathrawiaethau crefyddol, ac yng ngeiriau St. Paul, "Goruwch-adeiladwyd ein heglwys ar sail yr apostolion a'r prophwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben conglfaen."

Mynegir i ni i "Luther ddechreu syrthio allan â'r Pab ac Eglwys Rufain ar yr achlysur o faddeuant-lythyrau oddi wrth y Pab, pregethiad yng nghylch yr hyn a orchymmynwyd i fonachod Dominican, o radd uwch na Luther, yr hwn a arferasid i'r swydd ar y fath achosion." Y mae y geiriau hyn yn anwir ynddynt eu hunain, ac hefyd yn dangos anwybodaeth hynod yn yr ysgrifenydd. Ni ymarferodd Luther erioed â'r gwaith twyllodrus o werthu maddeuant-lythyrau.[2] Ni bu efe euog o gyfryw fudr-elwa, fel y dywedai, gyda'r Pabyddion, fod y llythyrau hyn yn sicrhau maddeuant am bob pechod. Gwaradwydd ydyw hwn a berthyn yn unig i Babyddiaeth. Rhaid addef i ysgrifenyddion Pabaidd, a rhai hefyd o'r Protestaniaid, yn yr oesoedd *diweddar*, haeru fod brodyr crefyddol Luther, y monachod Augustinaidd, nid Luther ei hun, wedi arferu gwerthu maddeuant-lythyrau o'r blaen, ac mai eiddigedd a barodd i'r diwygwyr eu goganu a'u dibrisio, pan ymddiriedwyd hwynt i'r monachod Dominican. Eithr nid yw hyn ond enllib ac anwiredd. Yr oedd

[1] Gwel Hanes John Huss. [*Gwyliedydd*, i. 129.]

[2] Gwel Hanes Luther yng nghylch maddeuant-lythyrau, tudal. 196, y Llyfr cyntaf o'r *Gwyliedydd*.

Luther trwy ei holl einioes yn hynod am esgeuluso ei elw neillduol ei hun. Ni feiddiodd neb ei gyhuddo o'r bai hwn yn ysbaid ei fywyd, er maint o ddrygeiriau a ddywedent i'w erbyn; canys fe wyddid yn ddilys yn yr oes hòno, nad oedd sail i'r cyhuddiad. Ni arferwyd yr Augustiniaid erioed i werthu *maddeuant-lythyrau yn yr Almaen*, a hyn a gyfaddefir gan rai o wrthwynebwyr penaf Luther. Gwir yw i Luther ar y cyntaf addef ei barodrwydd i ymostwng i benderfyniadau y Pab; eithr ni thybiai y gwrda y pryd hyny fod penaeth eglwysi Cred yn boddloni yn yr holl arferion drwg ac ymadroddion cablaidd y sawl a daenent faddeuant-lythyrau yn ei enw. Yn hyn y dangosodd ei symlrwydd, ei gariad Cristionogol, a'i heddychlonrwydd; ac nid gweddus yw ei ddirmygu o blegid yr hyn oedd hawddgar yn ei ymddygiad. Parhaodd i lynu wrth Eglwys Rufain cyhyd ag y gwelai y gobaith lleiaf o'i diwygiad hi. Pan welodd ei diwygiad yn hylwyr anobeithiol, a hithau yn ymgaledu fwyfwy mewn cyfeiliornadau marwol, dyna yr amser yr addefodd ymraniad parhäus oddi wrthi yng ngwyneb erlidigaethau ac angeu ei hun; gan ufuddhau i'r rhybudd ysgrythyrol, "Deuwch allan o honi, fy mhobl, fel na byddoch gydgyfranogion o'i phechodau hi, ac na dderbynioch o'i phläu hi." *Dad*. xviii. 4.

Pan ymadawodd Luther â'i gytundeb allanol ag Eglwys Rufain, ryddhawyd ei feddyliau oddi wrth lawer o gadwyni y daliesid ef yn gaeth ganddynt o'r blaen. Yn lle ufuddhau i "ddaliadau yr hynafiaid," efe a brofodd bob athrawiaeth wrth faen prawf y Beibl; ac os dywedodd na thalai eu duwinyddiaeth "werth y frwynen," lle yr anghytunent â gair Duw, haedda y gwrda parchedig ddirfawr ganmoliaeth, nid ei edliw iddo megys trosedd, fel y gwneir yn llyfr W. O. Os oedd yn feius o herwydd parchu y Beibl sanctaidd yn fwy nag ysgrifeniadau yr hen dadau, bai yw hwn sydd yn achos o orfoledd gyda phob Protestant cywir, ac nid ydym yn ofalus i'w amddiffyn rhagddo.

Yn nesaf i'r trosedd uchod, o anrhydeddu y Beibl yn hytrach na'r hen dadau, dygir ym mlaen gyhuddiad haerllug arall, yr hwn sydd warthus hynod, nid i'r cyhuddedig, eithr i'r cyhuddwr ei hun; sef, "nad oedd pregethwyr cyntaf y grefydd Brotestanaidd foddlon i lafurio yn yr efengyl heb gymharesau;" hyny yw, priodi a wnaethant yn erbyn rheolau eglwysig Pabaidd, y rhai a waharddant i'r offeiriaid gymmeryd arnynt yr ystâd barchedig hon. Da fuasai i W. O. holi a fyddai yr offeiriaid Pabaidd hwythau bob amser yn byw heb gymharesau, y rhai, er hyny, *ni chyssylltasid â hwynt mewn glân briodas.* Beth a ddywed efe wrth adroddiad Hume, a haneswyr ereill, y rhai a ddywedant fod anniweirdeb yr offeiriaid Pabaidd yn Lloegr o flaen y Diwygiad crefyddol mor hynod ac anwadadwy, fel y *cymhellai* y plwyfolion eu hoffeiriaid plwyfol mewn rhai parthau i gadw *gordderchwragedd*, megys yr unig foddion i ddiogelu eu gwragedd a'u merched rhag yr eglwyswyr aflan hyny? Beth a ddywed efe wrth y gwirionedd diymwad, fod holl offeiriaid Cristionogol yn y brif Eglwys, ac offeiriaid plwyfol Lloegr hyd oresgyniad y deyrnas gan y Normaniaid, yn arferu priodi? Ond y mae genym ni amgenach awdurdod na W. O. na'r Pab, mai "anrhydeddus yw priodas *ym mhawb*, a'r gwely dihalogedig." Onid oedd i Luther, a'i gydweithwyr yn y weinidogaeth, "awdurdod i gymmeryd gwraig, megys ag yr oedd i'r apostolion, ac i frodyr yr Arglwydd, ac i Cephas?"

Edliwir yn nesaf, ac yn ddiau gyda rhyw faint mwy gweddeidd-dra, "y gwahaniaethau a ddechreuodd ym mhlith yr Eglwysi Protestanaidd, ac a fu yr attalfa gyntaf a mwyaf rhag myned o'r Diwygiad ym mlaen, gan y dychymmygai llawer fod rhyw ddiffyg o wirionedd yn yr adeilad hwnw a fu â chymmaint o rwygiadau iddo wrth ei oruwch-adeiladu." Synied y darllenydd ar addefiad ac ymffrost ein gwrthwynebwyr; pa beth, meddant hwy, a attaliodd gynnydd cyffredinol y Diwygiad, pan ymwasgarai yn llwyddiannus yn yr

unfed ganrif ar bymtheg? Gwahaniaethau crefyddol. Pa beth yw yr attalfa a'r rhwystr penaf i dröedigaeth y Pabyddion yn y dyddiau hyn? Gwahaniaethau, y rhai a edliwir ganddynt i ni yn wastadol. Gellid yma wrthddadleu, na fu y cyfryw undeb, ag yr ymffrostiant hwy ynddo, bob amser ym mhlith y Pabyddion, oddi gerth, ysgatfydd, mewn dysgyblaeth yn unig, eithr fod gwahaniaethau mawrion yn eu plith ar byncíau athrawiaethol. Eithr, gan adael hyny heibio, sylwn yn unig, er fod rhyddid i bawb yn ein plith ni i farnu drosto ei hun, y dylem ofalu yn gydwybodol na chamarferom y rhyddid hwnw. Dylai pob un ddwys ystyried, a yw achos ei ymraniad yn gyfryw ag a gyfiawnhao yr edliw a'r rhwystr ag a godir ganddo i elynion y grefydd Brotestanaidd? Rhodded ateb yn hyn, nid i ni, ond y lle y perthyna, sef i Dduw, a'i gydwybod ei hun. Gan mai ar ymraniadau y Protestaniaid yr adeilada Pabyddion eu gobaith mwyaf, caniatëir i ni yma obeithio y dengys pob enw Protestanaidd, nad ydynt yn cyfrif gwahaniaethau y crefyddau diwygiedig ond bychain yn eu golwg mewn cymhariaeth â'r gwahaniaethau sylfaenol rhyngddynt hwy oll a'r Papistiaid; ac y byddant barod bob amser i ymuno megys brodyr, a chydetifeddion yr un addewidion, yn erbyn y llygredigaethau hyny a wrthwynebodd ein hynafiaid ffyddlon hyd at waed. Ammherffaith yn ddiau y cyflawnai bugeiliaid ysbrydol eu swydd barchusaf, os ni rybuddient eu praidd yn erbyn y cyfryw hanesion disail, a daliadau coelgrefyddol, ag a gynnwysir yn llyfr Wiliam Owen.

Dygir cyhuddiadau trymion iawn yn erbyn Calfin a'i ddilynwyr, nid yn unig o herwydd eu dysgyblaeth eglwysig, eithr am "ddiorseddu breninoedd, darostwng teyrnasoedd, a dadymchwel gosodiadau sylfaenol pob gwledydd;" ac adroddir amryw esamplau o'u gwrthryfelgarwch yn Ffrainc, yr Alban, a'r Iseldiroedd. Eithr ni chrybwyllir un gair am yr erlidigaethau erchyll a godasid o'r blaen yn eu herbyn yn y gwledydd hyny. Nid yngenir gair am erlidiau poethlyd breninoedd

Ffrainc ar y cyntaf, nac am gyflafan anghymharol dydd St. Bartholemëus, pryd y celaneddwyd miloedd lawer o Brotestaniaid, y rhai yn ddiogel a hyderent ar yr ammodau heddwch a wnelsid rhwng y ddwy blaid. Ni sonir am y gwŷr duwiol a ferthyrwyd yn yr Alban gan "y fam-frenines," cyn i'r bobl gydgyfodi yn erbyn ei gormes, a goresgyn eu llywodraethwyr Pabaidd. Yr ydys yn beio hefyd ar "wrthwynebiad yr Iseldiroedd i'w cyfreithlon benaeth, brenin Spaen!" hyny yw, y brenin gwaedlyd hwnw a ddienyddiasai filoedd cynnifer o'i ddeiliaid o herwydd eu crefydd yn unig. O'r holl erlididau a ennynwyd yn yr oesau diweddaraf yn erbyn eglwysi Cristionogol, yr erchyllaf yn ddiau o ran toster ei greulondeb, a nifer ei merthyron, fu erlidigaeth yr Hispaenwyr yn yr Iseldiroedd. Yno nid arbedai y swyddogion Hispaenaidd nac uchel nac isel, tlawd na chyfoethog, y rhyw fenywaidd nac oed babanaidd, eithr eu cigyddio mewn galanasdra cyffredinol! Er hyny, nid oes arwydd fod W. O. yn cydymdeimlo dim â'u dyoddefiadau. Eithr pan wrthododd y bobl orthrymedig hyny eu gyru mwy fel defaid i'r lladdfa, a bwriadu ymladd yn bybyr dros eu crefydd a'u bywydau, yna (mor fawr y cydymdeimla W. O. â gormes breninoedd erlidgar), edliwir i'r dewrion hyn eu hymdrechiadau clodwiw, ac euogfernir eu crefydd, megys prif egwyddor ac achos eu hanufudd-dod. Y mae'r ymresymiad hwn yn hylwyr gytûn ag arferion cyffredin y Pabyddion. Os dygwydda neb, o ran cydwybod dda, ymwahanu oddi wrthynt, y mae achos mawr i ladd a llosgi hwn megys heretic cyndyn sydd yn diffrwytho maes eu heglwys, ac yn dangos esampl ddrwg! Eithr os anturiwch guchio yn unig arnynt hwy, adyn anghardodol ac erlidiwr penboeth y gelwir chwi yn ebrwydd.

Adroddir diwedd pregethwyr cyntaf y Protestaniaid, sef Luther, Œcolompadius, Zuinglius, a Chalfin, yn y cyfryw fodd, fel y gallo darllenydd anghyfarwydd dybied iddynt farw dan ryw arwyddion eglur o farnedigaethau dwyfol. Soniasom eisoes yn ein llyfr

cyntaf,[1] tudal. 322, am farwolaeth gysurlawn Luther, ac ni ddichon i ni ewyllysio i'n hunain, neu ein cyfeillion, amgenach diwedd na marwolaeth yr union hwnw. Bu Zuinglius farw, fel milwr dewrwych, ar y maes, lle yr ymladdasai gyda'i frodyr yn erbyn eu gormeswyr Pabaidd; eithr nid damwain anghyffredin, neu ddianrhydeddus, yw i filwr farw mewn brwydr. Cafodd Œcolompadius farwolaeth dawel yn ei wely. Y mae genym dystiolaeth Beza, dysgybl a chydymaith Calfin, i'r diwygiwr hwn ddyoddef ei boenaf diweddaf yn amyneddgar, ac nid oes achos i'r sawl a goleddant ei goffadwriaeth anesmwytho am enllib y rhai, fel W. O., a haerant iddo farw "gan bryfed, ac yn rhegu Duw."

Ail adroddir cyhuddiadau y prif ddiwygwyr yn erbyn drwg foesau eu dysgyblion, megys prawf o ganlyniadau niweidiol y Diwygiad. Nid anhawdd yw ateb y rheswm uchod. Cynhenid i bregethwyr ym mhob oes yw darlunio eu hamserau eu hunain yn waethaf, ac arfer ymadroddion helaeth, pan geryddont gamweddau y rhai anufudd. Eithr nid oedd ddichon i ddiwygiadau athrawiaethol wella bucheddau dynion ar unwaith. Rhaid oedd i efrau fod yn gymmysgedig â'r gwenith y pryd hwnw, megys ym mhob oes arall o'r Eglwys. Anghytunol â rheswm fuasai dysgwyl i wellâd *cyffredinol* mewn moesau ymddangos yn yr amseroedd terfysglyd hyny ar *unwaith*. Gwaith graddol yw gwaith edifeirwch a chyflawn ddiwygiad bucheddau; megys mewn un dyn neillduol, felly hefyd mewn teuluoedd a theyrnasoedd. Digon genym wybod, a hawdd yw profi, i ddiwygiadau moesol lawer iawn ddilyn diwygiadau athrawiaethol, ym mhlith Pabyddion, cystal a Phrotestaniaid. Na bu ffrwythau dynion yn gymmesur â'u gwybodaeth grefyddol, sydd wirionedd diddadl. Eithr onid gwir yw hyn am bob oes o'r Eglwys? Dysged, er hyny, y Protestaniaid un rhybudd pwysfawr oddi wrth y cyhuddiad; sef, y dylent hwy, a broffesant grefydd burach, fod â'u bucheddau hefyd

[1] [*Gwyliedydd*, i. 322, Gorphenaf, 1823.]

yn burach a mwy diargyhoedd—a byw yn addas i'w proffes, a cheisio harddu athrawiaeth Duw ein Hiachawdwr ym mhob peth.

Mynegir, gyda mawr alar, y dinystr a wnaethpwyd y pryd hyny ar fonachlogydd, a thai crefyddol ereill. Dywedir i ysbeilwyr "ddwyn ymaith yr holl lestri aur ac arian o'r eglwysydd, y rhaid oeddynt wedi eu hanrhegu gan hen dywysogion Cymru, er ys oesoedd a aethant heibio; ïe, a *llosgi hefyd eu heglwysydd.*" Deisyfwn yn awr wybod pa *eglwysydd plwyfol* yng Nghymru a losgwyd gan y diwygwyr? A fedr yr awdwr enwi cymmaint ag un? Nid eu llosgi a wnaeth y diwygwyr, eithr cymmeryd ymaith o honynt y delwau, ac offerynau ereill eilunaddoliaeth a choelgrefydd. Ai bai anfaddeuol oedd hwn? Deisyfwn hefyd ein cyfeirio at ryw gofrestr ysgrifenedig o'r llestri aur ac arian a roddasid yn anrheg i'r eglwysydd hyn gan hen dywysogion Cymru. Faint oeddynt ar y cyntaf, a faint a gollesid o honynt yn yr amseroedd terfysglyd, o farwolaeth Llywelyn ab Gruffydd, hyd deyrnasiad Harri yr Wythfed? Nis gellir gwadu i'r rhan fwyaf o'r monachdai a'u capelydd gael eu dinystrio y pryd hyny; eithr byddai ein galar am danynt yn drymach pe mynegid i ni pa fawrlles a wnaethant yn gyfatebol i'r draul a fuasai angenrheidiol i'w cadw i fyny. Oni buasent yn wastad yn ennynu gobaith y Pabyddion i'w hail gaffael? Pan ddrylliwyd y ffeuau monachlogaidd, dilewyd gobaith diweddaf y pryfed monachaidd.[1] Eithr trowyd rhai o'r monachdai at achosion ereill; a pheth i ddal sylw arno ydyw, i fonachdy *Basingwerc*, ger llaw Treffynnon, gael ei arferyd ar y cyntaf yn dy annedd i deulu Pabaidd *Talacre*, a'i wneuthur o'r diwedd yn adfeiliedig ganddynt *hwy*, nid gan ddwylaw

[1] Cyfaddefwn yn eglur nad ydym ni yn cydymdeimlo â thlodi y monachod, y rhai fuasent o'r blaen, dan rith o ymneillduad crefyddol, yn treulio eluseni y werin a'u moddion helaethwych mewn gloddest ac aflendid. Brwnt fyddai adrodd y pethau a wnaent yn eu crefydd-dai. Nid yw eu holl dai addoliad yng Nghymru eto mor adfeiliedig, fel nas gallwn gyfeirio W. O. at gerfiadau a wnaed y tu mewn i un o honynt, ac y maent mor ffiaidd, fel nas gallwn eu mynegu heb ddiwyno dalenau y *Gwyliedydd.*

*Protestanaidd.* A yw adfeiliad presennol yr adeilad harddwych yn gytunol â pharchedigaeth Pabyddion gwresoglawn i hen fonachdai, rhyfyg fyddai i ni *hereticiaid* farnu. Deisyfwn yn unig na chyfrifer ammharch i hen fonachlogydd yn fai *neillduol* Protestaniaid, pan fo Pabyddion boneddigaidd a goludog yn arddangos cyffelyb ormod serch ar "y Mammon anghyfiawn."

Cynhenid yw i W. O. ac awduron Pabaidd, feddwl ac ysgrifenu yn chwerwaidd am deyrnasiad y duwiolaf Frenin Iorwerth y VIed, megys hefyd ei ardderchocaf chwaer, y Frenines Elisabeth. Cymmerir, gan hyny, ofal mawr i hela allan eu beiau, a thywyllu eu rhinweddau, yng ngwaith yr ysgrifenydd presennol; eithr gyda pha weddusrwydd a chyfiawnder, barned y diduedd.

Dywed yr awdwr fod y Cymry mor ddigllon o herwydd y newidiadau crefyddol yn amser Harri, fel y bwriadasant unwaith gymmeryd arfau i amddiffyn crefydd eu tadau. Os gwir yw hyn, pa sut yr ymwrthododd y Cymry â chyfeiliornadau Pabaidd, yn fwy cyffredinol nag un man arall o'r deyrnas? Pa sut, er maint o ymwahaniadau crefyddol yn eu plith, y cydsynia pob gradd ym mhob ardal o Gymru, oddi gerth ychydig yng nghymmydogaeth Treffynnon yn unig, i ddirmygu athrawiaethau Pabaidd, ac i ystyried yr enw Papist megys y gwaradwyddusaf a ellid ei osod arnynt.

Y galar, gyda'r hwn y darlunia W. O. gynnydd y Diwygiad dan Iorwerth, sydd yn ein golwg ni yn ddigrif hynod a chwerthin-bair. Danfonwyd pregethwyr i holl barthau y deyrnas, a'u gwaith oedd mor annerbyniol gan y Canghellwr, fel y gwrthododd osod sel fawr y llywodraeth wrth eu hawdurdodau. Wel, ynte, gellir meddwl mai pregethu rhyw anfoesoldeb, neu ddrwg athrawiaethau oedd bwriad y pregethwyr hyn. Clywch W. O. ei hun:—"Cyfarwyddwyd hwynt, yn fwyaf neillduol, i annog y bobl i beidio â gweddïo ar seintiau, a gweddïo tros y meirw; i roi heibio arferyd paderau, a'r offeren, a gweddïo mewn tafodiaith anad-

nabyddus; a'r cwbl oll a wnaethpwyd er parotoi y bobl i ddychwelyd oddi wrth eu ffordd arferedig o addoliad." Nid ymdrafferthwn ni i amddiffyn y pregethwyr; eithr gadäwn i'r darllenydd hynaws farnu rhyngddynt hwy ar yr un llaw, a W. O. a'r Pabyddion ar y llaw arall.

Crybwyllir yn y rhan hon o'r llyfr yn fynych iawn am gyssegr-ysbeiliadau y pendefigion, y rhai a drawsfeddiannasant y degymau, a'r tiroedd a ddarparesid yn yr oesoedd gynt, er cynnal lleoedd addoliad ac ysgoldai. Y mae cymhwysder yn y cyhuddiadau hyn, ac nis gwiw ei wadu. Cydsyniwn ein hunain i alaru fod meddiannau a neillduasid er maethu crefydd, a chynnal ysgolion ac elusendai, yn cael eu traws-ysbeilio gan bendefigion rheibus rhodresfawr, i borthi eu nwydau drwg: eithr nid bai y grefydd ddiwygiedig oedd hyn, eithr canlyniad angenrheidiol yr annhrefn afreolus yn yr oes hòno, pryd yr oedd gwŷr mawr yn drech na'r gyfraith. Gwnaethpwyd yr ysbeiliadau yn erbyn ymdrechiadau yr esgobion a'r eglwyswyr; ac nid teg yw cyfrif i grefydd y gweithredoedd drwg a wnaethpwyd yn erbyn crefydd, ac yn wrthwynebol hollol i'w rheolau.

Tudalen 60, dywedir fod "llawer o newidiadau i'w gweled wrth gydgymharu erthyglau y Brenin Edward a'r eiddo Elisabeth." Yn groes i hyn ni a ddywedwn, nad oes fawr o newidiad rhyngddynt mewn geiriau, a'u bod o ran sylwedd, gan mwyaf, yn gwbl gytûn â'u gilydd.

Teyrnasiad y Frenines Mari ydoedd oes euraidd y Pabyddion yn y deyrnas hon. Cawsant y pryd hyny ddymchwelyd awdurdodau eglwysig y Protestaniaid, llosgi hereticiaid wrth fodd eu calon, gwahardd Beiblau ac addoliad mewn iaith adnabyddus, a dwyn yn ol holl ddefodau llygredig eu crefydd. Gwnaethpwyd eu mwynhâd o'u crefydd eu hunain yn fwy blasus iddynt, o blegid ei fod yn cyd-darddu â'u buddugoliaeth ar eu gwrthwynebwyr. Darlunir Mari megys Catholig wresog, megys yn wir yr oedd hi, ac yn ddynes o "dymmer tru-

garog," a'i bai mwyaf, canys y mae bai a *rhy* yn perthyn i bawb, oedd ei bod yn "*rhy grefyddol*," medd llyfr W. O. Pa dymmerau trugarog a berthynai i'r ddynes greulon-dost hon, a ellir yn hawdd ei farnu oddi wrth y ffrydiau helaeth o waed gwirion a dywalltwyd yn ysbaid ei theyrnasiad. Yn yr erlidwaith cynddeiriog-wyllt a ennynodd hi a'i chynghorwyr yn erbyn y Protestaniaid, ni laddwyd erioed yn Lloegr, yn yr un talm o amser, gynnifer o dduwiolion o achos crefydd; esgobion a boneddigion, offeiriaid a gwŷr lleyg, ac hyd yn oed benywaid hefyd. Edryched y darllenydd *Hanes Diwygwyr, Merthyron, a Chyffeswyr Eglwys Loegr*, gan y diweddar T. Jones, a dysged, nid yn unig pa fodd yr ymdriniai Pabyddion at eu hynafiaid, a pha fesur o diriondeb a ranai Pabyddion yr oes hon i ninnau, gan mai bai mwyaf y frenines waedlyd hon, oedd ei bod yn rhy drugarog a chrefyddol. Gyrwyd hefyd rai cannoedd o dduwiolion allan o'r deyrnas, y rhai ni chyhuddid o un bai, oddi gerth eu diysgogrwydd wrth eu crefydd eu hunain. Beth os oes rhyw faint o gamgymmeriad yn yr hanes, fel y dywed W. O.? Beth os bu nifer y merthyron ryw faint yn llai nag a dybir yn gyffredin? Beth os caniatäem iddo yn hyn bob peth sydd mewn dadl? Fe fydd wedi hyny esamplau cymmaint a chynnifer o greulon-waith i beri i'n gwallt sythu wrth ddarllen am dano. Bydd digon i daflu gwarth diderfyn ar y grefydd Babaidd, yr hon oedd yr egwyddor ffyrnigaidd a roes ei phobl ar waith. Bydd digon i gywilyddio rhag ei hamddiffyn, bob un na chollodd yn hylwyr bob ymdeimlad a gweddusder. Cymharer â dyoddefiadau y merthyron gynt, yr holl sarhâd presennol y mae Pabyddion Lloegr ac Iwerddon yn llefain cyn uched o'i blegid. Ar yr un llaw, gwelir gwŷr hybarch duwiol yn cael eu llosgi yn fywion o achos crefydd, neu eu gyru i alltudiaeth: ar y llaw arall, gwelir ychydig foneddigion wedi eu difreinio o ychydig swyddau uchel, colled y rhai mewn cymhariaeth (a bydded y golled gymmaint ag y dywedont eu hunain) nid yw i'w henwi gyferbyn ag erlidwaith

chwerw-greulon y Frenines Mari. Dywed W. O. fod y cyfreithiau, wrth ba rai y dyoddefodd cynnifer o Brotestaniaid, wedi eu gwneuthur mewn oesoedd o'r blaen, ym mhell cyn ei genedigaeth hi. Pa beth yw hyn, ond cyfaddef fod Pabyddiaeth yn erlidgar o barth ei hegwyddorion bob amser; ac yn hyn yn gysson â darluniad yr Ysgrythyr, sef, "yn feddw gan waed y saint, a chan waed merthyron Iesu!" Eithr nid yw hyn yn gwbl wir; canys dirymasid yr hen gyfreithiau yn amser ei duwiolaf frawd; a'i bai ceryddus hi, megys hefyd gwarth anfarwol ei theyrnasiad, oedd iddi fynu ail osod y cyfreithiau gwaedlyd gynt, ac ymarfer â mwy o greulondeb na neb o'i hynafiaid o'r blaen. Diau na bu neb fel Mari yn y deyrnas hon, gan iddi ymwerthu i wneuthur y cyfryw greulondeb ar weision ffyddlonaf yr Arglwydd, o herwydd offeiriaid Pabaidd a'u hannogent hi. Megys yr oedd ei theyrnasiad yn achos o gystuddiau crefyddol lawer iawn, felly yr oedd hefyd yn hynod am golledion ac adfyd gwladol. Gwirioneddau yw y rhai hyn, mor hysbys i bob darllenydd Seisnig, fel mai hollol ofer fyddai amlhau geiriau ar yr achos, oddi gerth er mwyn ein brodyr uniaith. Ystyried y Cymro uniaith yn bwyllog yr hyn a ddywedasom yma er rhybudd iddo. Dysged oddi wrth hanesion gynt pa beth yw egwyddorion gwastadol Pabyddiaeth, a'i ffug-dynerwch atom ni Brotestaniaid. Barn W. O. ei hunan nid yw werth y frwynen am hyn, na dim arall; eithr y mae yn beth i fawr sylwi arno, beth yw barn yr hudolwyr cyfrwysddrwg Pabaidd, y rhai a'i cyflogasant i'r gwaith, pan ddywedant mai bai mwyaf Mari waedlyd oedd, eu bod hi yn *rhy grefyddol a thrugarog*. Mynega W. O. nad oedd erlidigaeth Mari yn cyrhaedd gyda'r unrhyw greulonder dros yr holl deyrnas—na losgwyd ond un yn unig yn Archesgobaeth Caer Efrog—a thri yng Nghymru, sef Esgob Ffarrar yng Nghaerfyrddin, a dau ereill yn sir Forganwg. Eithr dywed ei awdwr ef ei hun, yn yr un tudalen (gwel Dr. *Heylin*), i'r Pabyddion dywallt gwaed fel dwfr yn agos i Lundain, ac yn fwyaf Esgob Bonner, yng

nghymmydogaeth Mari ei hun. Os oedd y dywysoges hon o ysbryd trugarog, pa sut y gwnaethpwyd mwy cyflafan ar y Protestaniaid wrth ei drws ei hun, nag mewn un man arall? Y cyfryw oedd "tymmer trugarog" y ddynes hon, fel y llosgwyd gan ei swyddogion nid llai na dau cant mewn tair blynedd, o achos crefydd, yn Llundain yn unig. Yn esgobaeth Chichester llosgwyd deg yng nghyd gyda'r un tanwydd. Cyfrifid nifer yr alltudion yn wyth gant o rifedi, y rhai a ffoisant am eu bywyd i wledydd tramor. Gellir cymharu yr erlidwaith hwn (tra y parhaodd) â'r erlidigaethau creulon a ddyoddefodd y Brif Eglwys gan yr ymherawdwyr Rhufeinaidd. Nid gwŷr llawn oed yn unig a ddyfethwyd yr amser hwn. Fflangellwyd un bachgen wyth mlwydd oed i farwolaeth. Cafodd llawer o wragedd eu dwyn at y pawl angeu, a'u llosgi yno. Y mae haneswyr yn coffäu un weithred o gyfryw greulondeb ysgeler ac anghredadwy, fel braidd y medrwn ei mynegu heb i'n gwaed fferu ynom. Bu, fel yr oeddynt yn llosgi gwraig feichiog, iddi yn ei dirfawr boenau esgor ar fab, yr hwn a gipiwyd yn ebrwydd o ganol y tân gan un o'r edrychwyr ger llaw. Eithr swyddog y dref, yr hwn oedd yn goruchwylio y dienyddiad, a orchymmynodd daflu y mab bychan drachefn i'r fflamau, a'i losgi ynddynt gyda'i fam. Felly y dygwyddodd i'r plentyn hwn fod awr ei enedigaeth yn awr hefyd ei ferthyrdod. Gwnaethpwyd hyn, Gymro hynaws, gan Babyddion yn nheyrnasiad brenines, yr hon, medd W. O., oedd o "dymmer trugarog," a'i "bai mwyaf oedd, ei bod yn rhy grefyddol." Gwel ffrwythau y grefydd, yr hon a amcenir yn llyfr W. O. ei chanmol i ti; crefydd yr hon a gafodd yn ddiweddar hawddgarwch rhyfeddol yng ngolwg llawer o'n pendefigion, ac a gymmeradwyir ganddynt megys ychydig yn unig, os yw ychydig, yn waeth na'r grefydd ddiwygiedig.

Pan drengodd y Frenines Mari, darfu y tro hwnw obeithiau gwresoglawn y Pabyddion am ail sefydliad eu crefydd yn y deyrnas hon. Y mae W. O. gan hyny yn tywallt ffiolau chwerwaf ei ddigofaint ar y Frenines

Elisabeth. A da yn wir yr haedda y dywysoges ardderchog hon ei geryddon ef a'i gyd-Babyddion; canys ceryddon y cyfryw gyhuddwyr dirmygedig sydd yn ogonedd arbenig i'w theyrnasiad. Pan ymaflodd ei deheulaw rymus yn y deyrnwialen, gwasgarwyd yn fuan y tywyllwch oedd bron â gorchuddio wyneb y wlad; a'r offeiriadau Pabaidd, gweinidogion hygoeledd a chyfeiliorni crefyddol, a guddiasant eu penau, megys y cilia ellyllon y nos ar doriad y wawrddydd. Er maint a rwystrwyd arni gan ei deiliaid Pabaidd gwrthryfelgar ei hun; er i'r Pab daranu melltithion yn ei herbyn, a gwahodd ei holl weision tramor i'w diorseddu; er i freninoedd galluocaf yr oes hòno ymfyddino yn ffyrnig i'w dinystrio; hi a safodd ei thir yn llwyddiannus, ac a fuddugoliaethodd arnynt oll. Yn yr un mesur ag yr haedda Elisabeth ddygasedd gwastadol y Papistiaid, hi a dderbynia glod anfarwol y Protestaniaid. Dywed W. O. iddi yn nechreu ei theyrnasiad "ddifuddio o'u swyddau bedwar ar ddeg o esgobion, chwech abad, deuddeg deon, a chynnifer o archddiaconiaid, a phedwar ar hugain o bersoniaid, neu ficeriaid." A da oedd y gwaith, ac ennillfawr i Eglwys Crist daflu heibio gynnifer o chwyn drwg oedd yn diffrwytho y winllan ysbrydol. Dywedir yn nesaf, fod yr "eglwysydd wedi eu llenwi â gweinidogion annysgedig, dysgeidiaeth pa rai nid oedd yn cyrhaedd ym mhellach na darlleniad y Liturgi a'r Homiliau." Nid ydym ni yn gwadu annysgeidiaeth llawer o weinidogion eglwysig yr oes hòno. Eithr ai bai y Frenines Elisabeth oedd hyn, am na fedrai greu neu gynnysgaeddu ar unwaith offeiriadau doniawl i bob parth o'r deyrnas, neu ynte bai y Pabyddion, yn ysgolion y rhai y dygasid i fyny yr annysgedigion hyn? Os na fedrent bregethu eu hunain, gwnaeth hi ei goreu i ddiwallu eu diffygion trwy gyhoeddi llyfr yr Homiliau, fel y gallent o honynt hwy ddarllen athrawiaeth iachus i'w praidd. Ond y mae y cyhuddiad uchod ar wefusau Papist yn dra haerllug am achos arall. Gwirionedd diammheuol yw, na ddeallai yr offeiriaid Pabaidd (y cyfryw oedd eu

hannysgeidiaeth!) eu gwasanaeth Lladin eu hunain bob amser cyn oes y Diwygiad—mai y cwbl a wyddent am gynnwysiad y Beibl oedd yr hyn a osodasid yn y Llyfr offeren *(Mass Book)*—bod llawer o honynt yn taeru mai llyfr oedd y Testament Newydd o waith Luther; ïe, llyfr newydd a drwg hefyd, yr hwn y dwys rybuddient eu pobl i ymgroesi rhagddo—bod llawer o fonach-dai heb berchen un Beibl yn eu llyfrgell—ac yr arferent, wedi ei argraffu gan y Protestaniaid, losgi y sawl a'i cadwent yn eu tai.

Y mae yr awdwr yn ymhelaethu yn fawr ar ddyoddefiadau y Pabyddion yn. nheyrnasiad Elisabeth a'i dilynyddion, hyd farwolaeth Siarl II. Rhoddir enwau o ddeutu pump ar hugain o offeiriaid Cymreig Pabaidd, y rhai a ddienyddiwyd yn ysbaid y can mlynedd hwnw. Sylwn ar hyn yn flaenaf, mai achos cyntaf y cyfreithiau a wnaed yn erbyn y Pabyddion, oedd eu hymgais dibaid i ddiorseddu a lladd y frenines; ac mai offeiriaid Pabaidd fyddai yn wastadol annogwyr penaf y bwriadau ysgeler hyny. Yn ail, dyfais gyfrwys y Pabyddion oedd haeru mai o achos crefydd y barnasid i farwolaeth y sawl a gospasid yn eithaf cyfiawn am eu drwg weithredoedd *gwladol.* Nid bygythiadau ofer oedd eiddo yr offeiriaid Pabaidd yn yr oes hòno, megys y tystia diwedd amryw freninoedd, y rhai a frad-lofruddiwyd ganddynt. Yn drydydd, pe buasai holl hanes yr awdwr yn wir, ac nid ŷm ni yn credu mo'i chwarter ef, pa beth a brofai? Dim ond hyn; sef i Brotestaniaid hwythau ddilyn *mewn rhyw fesur* esampl ddrwg y Pabyddion, trwy erlid eu gwrthwynebwyr crefyddol, er yn ddiau gyda llawer iawn llai o dywallt gwaed. Nid yw eu herlidwaith hwynt i'w cymharu, o barth creulonder, ag eiddo y Pabyddion. Nid yw dienyddiad ambell offeiriad yma a thraw i'w gydbwyso â'r lluoedd o ferthyron a roddwyd gan Babyddion i farwolaeth. Eithr nid ŷm ni yn canmol dienyddiad neb o achos cydwybod gywir, er mai cydwybod gyfeiliornus yw. Cyfiawn hefyd a theg tuag atom fuasai i W. O. ddal sylw, nad erlidiodd y Protestaniaid eu gelynion ond pan oedd eu

meddyliau yn chwerwedig gan hir ddyoddefaint, ac yr ofnent eu hylwyr oresgyn ganddynt; eithr iddynt sefydlu rhyddid crefyddol pan lonyddwyd y cynhwrf, ac y gwelsont eu sefyllfa yn ddiogel. Pwy a sefydlodd gyntaf, a phwy a gynnaliodd gwedi hyny, ryddid crefyddol? Y Protestaniaid. Pwy a ddechreuodd erlid, ac sydd, lle gallant, yn parhau i erlid hyd heddyw? Y Pabyddion; ymffrost y rhai yw bod egwyddorion eu crefydd hwy yn ddigyfnewid. Yr un egwyddorion crefyddol, y rhai a'u cynhyrfasant hwy yn nheyrnasiad Mari, a welid drachefn yn adfywio, pe dychwelai gallu cyffelyb, ac yn hoew-brysuro i foddhau eu ffyrnigrwydd erlidgar chwerw-dost diarbed.

Golygasom yn fanylach, fe allai, nag y tybia llawer yn angenrheidiol, ar gyhoeddiad W. O.; eithr ni chrybwyllasom am y bedwaredd ran o'i feiau. Barnasom mai digon fyddai hel yng nghyd ychydig o'i gyfeiliornadau megys cynbrawf o'r lleill. Y mae efe yn cwyno nad arweiniodd ei lafur ef hyd yn hyn i ddim ond tlodi. Nid yw tlodi ei hun yn warthus i neb; a gwell, tybygwn ni, fuasai iddo barhau hyd eto yn ei angen, na cheisio ei ddiwallu trwy gynnyg i'w gydwladwyr y cyfryw lyfryn gwenwynllyd. Am dano ei hun, ni chyfrifem ef yn werth ein llafur i'w fflangellu, mwy nag y cospem wybedyn ar arteithglwyd. Holl bwysfawredd y llyfr sydd yn deilliaw o hyn:—mai hwn yw yr ymgais cyntaf a wnaethpwyd, er ys blynyddoedd lawer, i fychanu y Diwygiad mawr crefyddol, a chrefydd y Diwygiad, mewn un cyhoeddiad Cymreig. Dengys hwn mor ddiwyd ac ymdrechgar yw y Pabyddion i helaethu eu crefydd yn y dyddiau presennol. Dengys i ba radd yr adnewyddwyd eu gobaith yn ddiweddar, a'u bod yn cyfeirio ar yr un amser eu golygon at fynyddoedd Cymru, gwastattir Lloegr, a chorsydd yr Iwerddon. Eu gwahoddiad cyffredinol yw; "Dychweled pob bucheddol at hen grefydd ei hynafiaid gynt, ac ymgyssyllted ag Eglwys Rhufain, heb yr hyn ni all efe fod yn gadwedig."

Pa beth, ynte, yw dyledswydd Protestaniaid yn yr

amgylchiadau hyn? Ymdrechu mwy, a gweddïo mwy, dwyn llai o sel dros arwyddnodau neillduol eu plaid eu hunain, a llawer iawn mwy o sel dros achos mawr Duw—sefyll yn bybyr wrth grefydd y Beibl yn erbyn y grefydd sydd wedi ei hadeiladu ar ddefodau oferwag, hygoeledd, a dynol draddodiadau. Gwir yw, y tystia sicr air y prophwydi fod dyddiau Pabyddiaeth wedi eu rhifo, a'i ddiwedd yn nesäu; er hyny geill ei ymorchestion olaf fod yn ddychrynfawr ac enbydus. Nid ar ymdrechiadau bychain y rhydd Satan i fyny ei deyrnas. Gocheled, ynte, y Protestaniaid i'w dwylaw laesu yn y filwriaeth, megys pe byddai y fuddugoliaeth eisoes wedi ei hennill. Cafodd y *bwystfil* ergydiau trymion o'r blaen, eithr dychwelodd wedyn i'w rymusder cynt. Beth allasai fod yn fwy anobeithiol na chynnyrch Pabyddiaeth yn Lloegr ar farwolaeth Siarls y Cyntaf: eto, deugain mlynedd wedi yr amser hwnw bu dychweliad mawr at yr hen grefydd, a phrin y gwaredwyd ni yn 1688 oddi wrth ail gaethiwed ysbrydol i Eglwys Rufain. Felly yn awr, pan ddadgano pendefigion y tir, a phrif gynghorwyr breninol, mai bychan o bwys, ac ychydig o rifedi yw achosion y gwahaniaeth rhyngom ni ac Eglwys Rufain, pwy a sicrhâ i ni, yr ä hyd yn oed y genedlaeth hon heibio heb wneuthur o'r Pabyddion un ymdrech-waith mwy gorchestol nag erioed, i ail ennill eu goruchafiaeth arnom, ac i ddymchwelyd muriau ein Sïon yn gydwastad â'r llawr?

---

## HANES DECHREUAD CENEDL Y CYMRY,

EU RHYFELOEDD YN ASIA, DINYSTR CAER-DROYA, EU DYFODIAD I ITALI, FFRAINC, A BRYDAIN FAWR; YNG NGHYD A HANES CREFYDD EU DRUIDYDDION, EU BEIRDD, EU HOFFEIRIAID, A'U GAU-DDUWIAU. GAN W. OWEN.

"Sensible persons have now agreed to reject this story of the Trojan origin of the British nation."

*Horæ Britannicæ.*

NID yw enw yr awdwr uchod yn hylwyr anhysbys i

ddarllenyddion y *Gwyliedydd*. Bydd cofus ganddynt y sylwiadau a deimlasom yn ddyledswydd arnom eu gwneuthur ar ei Hanes Crefyddol, amcan yr hwn oedd mawrhau gwiwdeb a dyoddefiadau y Pabyddion, a difrïo sylfaenwyr y Diwygiad mawr eglwysig. Dywenydd yw genym feddwl am yr anerchiadau a gawsom gan amryw o wŷr cyfrifol, o herwydd ein ffyddlondeb yn yr achos. Uwch ben pawb haeddasom ddiolchgarwch yr awdwr ei hun, am ddangos iddo ei gyfeiliorni; ac os na dderbyniasom ganddo gymmaint a llinell o ddiolch, cyfrifwn yr esgeulusdra yn gardodol i eisieu gwybodaeth ar dda, ac nid i ddiffyg teimladau diolchgar yn ei ysbryd.

Yn un golwg y mae cyffelybiaeth cwbl gywir rhwng yr hanes eglwysig a'r hanes cenedlawl presennol. Yn lle defnyddio y goleuni rhagorol a lewyrchodd yn yr oes ddiweddar ar bob rhyw wybodaeth eglwysig, a lleyg hefyd, y mae yr awdwr yn ysgrifenu fel pe bai y wawr ddim ond tori eto arno ef. Ail grybwylla wrthym, gyda hygoeledd rhyfeddol, hen chwedlau gwrachïaidd, y rhai a adroddid mewn oesoedd tywyll, a chan awduron anghredadwy, ond sydd yn hollol anghyfrifawl yn yr oes *wrawl* bresennol. Cynnwysir yn y llyfr hwn hen chwedlau y byddai cywilydd gan neb eu hysgrifenu neu eu hargraffu yn Seisoneg megys *Histori* gywir. Hawdd yw prawf-nodi rhyw hen awdwr am bob cyfeiliorni hanesawl; ac felly, dal allan i'r anneallus a'r annysgedig ymddangosiad o awdurdodau, y rhai, pan chwilir hwynt wrth flaen-brawf y gwirionedd, a geir yn hollol ddirym. Yr oedd llawer o'n haneswyr hybarch Cymreig, ar doriad gwawr dysgeidiaeth, dri chan mlynedd yn ol, yn dal meddwl-dybiau, y rhai a wrthodent yn ddiystyrllyd yn y dyddiau hyn. Eithr nid yw yr ychwanegiadau gwybodaeth hyn yn fymryn o lesâd i W. Owen. Er bod yr haul wedi codi ar ereill, a'r goleuni yn cynnyddu fwyfwy hyd ganol dydd, y mae yr awdwr hwn yn parhau i sefyll yn y tywyllwch, ac yn ysgrifenu am grefydd a hanesion gwladol, megys y tybiai gwŷr ofergoelus yn y dyddiau a oedd

yn dra anwybodol mewn cymhariaeth â'r oes bresennol.

Y mae yn briodol i'r llyfryn presennol, nas gall dim ei waradwyddo yn dostach na thraethiad o'i gynnwysiadau. "Cam-Roegiaid y galwai y Cymry eu hunain gynt, sef oddi wrth y gair *Craig*-wyr; o blegid bod ganddynt, ar eu dyfodiad i Ewrop, frenin yn ei alw ei hun Craig, neu Craicus, o blegid ei fod yn gadarn ac yn anorchfygol. Goresgynodd y brenin Craig y wlad a elwir Twrci yn Ewrop, a dinystriodd y trigolion oll, enw brenin pa rai oedd Machus. Ar ol hyny y Brenin Craig a ranodd y wlad yn wahanol daleithiau, gan osod un o'i gadbeniaid yn frenin ar bob talaeth. Yr amser y bu yn rheoli nid ellais gael gwybodaeth sicr; ond rhai a ddywedant iddo reoli fwy na 100 o flynyddoedd."

Ni byddai ond gwastraffu amser yn hylwyr, a blino amynedd y darllenydd, ped ymdrafferthem i sylwi ar y cyfryw hanesyddiaeth wag-ffol. Deued W. O. â rhyw brofiadau allan o hen lyfrau credadwy, gan brawf-nodi y tudalen am bob un i gadarnhau y dywediadau uchod; onid e, ni wiw iddo wadu mai ffug-adeiliau ofer ei ymenydd ei hun ydynt.

Rhoddir yn nesaf hanes, cyfartal o ran gwiredd, am "Dardanus, brenin Arcadia, yr hwn, wedi hir ryfela gartref, a droes allan i ddarostwng gwledydd Asia. Ei fyddin oedd ugain mil o wŷr traed, deng mil o wŷr meirch, a saith gant o gerbydau." Gallai ambell un ammheu a fu Dardanus yn frenin Arcadia, a oedd y wlad hòno yn ddigon o faint i ddanfon y cyfryw lu mawr, a oedd pobl yn preswylio gwlad heb ochri mewn un man ar y môr yn debyg i berchen llongau, a pha sut yr arferent wŷr meirch i ryfela yn amser Dardanus, pryd, yn ol tystiolaeth Homer, ni feddent ddim yn yr oes ddiweddarach o ryfel Caerdroia. Ond nid yw y cyfryw feddyliau yn attal dim ar yrfa W. O.; a mynegir i Dardanus a'i fyddin *Gam-roegaidd* fod yn gryfach na'u gelynion, ac ennill rhan fawr o wlad Troia, a merch y brenin hefyd. Adeiladodd Dardanus dref yn

y lle a elwir y Dardanelles; "eithr llosgwyd rhan o'r lle hwnw" o flaen llygaid W. O. ei hun yn y flwyddyn 1807. Ai y dref, neu y lle yr adeiladwyd hi arno, a losgwyd, ni fynegir yn oleu. Gwaith ofer, dybygwn, fyddai treulio amser i wrthbrofi y cyfryw sothach a gynnygir i ni dan enw hanesyddiaeth.

Ymhelaetha yr awdwr gyda boddlondeb nid bychan ar amgylchiadau y rhyfel rhwng y Groegiaid a gwŷr Caerdroia; ond yr hanes a amrywia yn fawr oddi wrth yr hanesion ereill a gyfrifir yn gywiraf. Adroddir hanes March Caerdroia fel pe byddai yn wir hollol, ac nid dychymmyg barddonawl. Mynegir hefyd ladd can mil rhwng y ddau lu mewn 30 o ddyddiau, ac yn ysbaid y rhyfel naw can mil o Roegiaid, a chwe' chant ac wyth a thri ugain o filoedd o'r *Cymry*. Ei awdurdodau ni fynegir ddim. Y mae yn ddilys nad oedd yn y dyddiau hyny 900,000[1] o ryfelwyr ar dir Groeg; a pha faint oedd trigolion Caerdroia annichonadwy fyddai dywedyd, o blegid na fynega W. O. i ni ei maintioli. Un peth arbenig a esgeulusodd yr awdwr ei brofi, sef, ai Cymry oedd trigolion y dref hòno. Heb brofi yr unrhyw, nid gwaeth fyddai iddo roddi hanes y Mediaid a'r Persiaid o flaen hanes dechreuad Cenedl y Cymry.

Bod llawer o awduron parchadwy ar doriad gwawr llenyddiaeth, yn credu hen hanesion yng nghylch Brutus, a tharddiad y Cymry o Gaerdroia, sydd anwadadwy; ond nid llai dilys yw, fod ysgolheigion cywreiniach yr oes bresennol yn cytuno i wrthod y cyfryw hanesion megys ofergoelion gwrachïaidd. Os Cymry oedd trigolion Caerdroia, nid oes fodd na fyddai enwau Cymreig arnynt. Eithr os manwl ystyriwn ystyr yr enwau ar eu breninoedd a'u cadbeniaid, ceir hwynt yn Roeg, yn ddiammheu, o ran eu hystyr, megys, Priam, Astyanacs, Laomedon, Polydamas, &c.

[1] Nid oes yn y dyddiau hyn ar y gwledydd a ddanfonasant ryfelwyr i Gaerdroia prin hanner y nifer uchod yn gymhwys i ddwyn arfau rhyfel. Ac yn yr amser hwnw nid oedd y wlad mor boblog ag yw yn bresennol; o blegid bod ynddi nifer mawr o lewod, ac eirth, a bwystfilod gwylltion, yr hyn a ddengys fod rhan fawr o honi yn orchuddiedig gan goedydd.

Y mae pob rhan o'r hanes Cymreig yng nghylch tarddiad y genedl o Gaerdroia yn hollol anghredadwy; ac y mae W. O. wedi ei wrthuno yn waeth fyth, trwy ei gymmysgu â chwedlau ofer ereill. Sonia W. O. am ryfelwr oedd yn "ddeuddeg troedfedd o hyd, yn bedair troedfedd o led yn ei ysgwyddau, ei wisg haiarn yn 240 o bwysau, ei waewffon yn ddwy droedfedd ar bymtheg a hanner, a'i gleddyf yn chwe' troedfedd a hanner o hyd, ac wyth modfedd o led." Os yw y darllenydd yn ddigon hygoelus i goelio hyn, ni ryfeddwn mwy ei fod yn coelio pob dim a ddywedir wrtho yng nghylch Brutus a'i fordaith. Y mae W. O. ambell waith, yn cymmeryd arno sylfaenu ei hanes ar Homer y prif fardd; ond a ydyw Cymreigiaeth trigolion Caerdroia, neu amgylchiadau marwolaeth Hector, ac amryw ereill, yn gysson â Homer? Dywed Homer mai yng Nghaerdroia y teyrnasai Æneas ar y Troiaid oll; eithr W. O. a ddilyn yn hytrach awduron diweddarach, ac yn enwedig y gorchestwaith prydyddol a gyfansoddodd Virgil, er gweniaith i Augustus Cæsar. Ai yn Homer y darllenodd efe ladd 900,000 mil o Roegiaid yn y rhyfel, pan yr ymddengys, oddi wrth hanes Homer, ac eiddo ereill, nad oedd ond o ddeutu can mil yn unig o ryfelwyr ganddynt yng Nghaerdroia.

Pa le y dysgodd W. O. mai wyth mil ar hugain o ffoaduriaid a ddug Æneas ymaith o Gaerdroia? Dywed Dares[1] gelwyddog a'r Brut mai wyth a phedwar ugain o filoedd oeddynt, ac mai nifer y llongau oedd wyth ar hugain! Y mae yn hylwyr ddilys mai llongau bychain iawn a arferid yn yr oesoedd hyny—y cyfryw lestri ag a ellid dynu i lawr a gosod i fyny eu hwylbrenau yn ol yr achos, ac nid oedd y lluaws mwyaf a drosglwyddid ynddynt ond rhwng 50 a 100 o ddynion yn y fordaith fer rhwng tir Gryw ac Asia; eithr awduron W. O., sef Dares a'r Brut, a ddarluniant y llongau hyn megys cyffelyb i'n llestri mwyaf presennol, yn cynnwys o ddeutu pedair mil o ddynion. Pa

[1] [Dares Phrygius. Gweler ei "Ystori am Ddistrywedigaeth Troea," yn gyfieithedig, yn y *Brython*, ii. 97, 113, 131, 147, 164.]

gred a haeddai y cyfryw ofer chwedlau? A pha sut y bu Æneas yn cynnal ag ymborth ei wyth mil ar hugain, neu wyth a phedwar ugain mil, am dair neu ragor o flynyddoedd y bu yn crwydro ynddynt, yma a thraw hyd Fôr y Canoldir? Gall ychydig o ddynion ymgynnal wrth ysbeilio; ond nid mor hawdd yw bwydo 88 o filoedd dros dair blynedd. Eithr os credwn yr hanes Cymreigaidd am Gaerdroia, rhaid i ni gredu, er i'r Groegiaid ddyfod yn ddiarwybod ar y ddinas a'i llosgi, fod gweddillion eu cleddyfau yn agos i gan mil,[1] heb law y rhai a gaethgludasid gan y concwerwyr eu hunain—rhaid credu i Æneas ddwyn pedwar ugain ac wyth o filoedd mewn 28 o longau dros dair blynedd, a'u bwydo yn y cyfamser—ac mai yr un llongau oeddynt â'r rhai y dygasai Paris wraig Meneläus ynddynt ddeng mlynedd o'r blaen. A oedd llu Paris hefyd yn cynnwys 88 o filoedd?

Wedi lladd Æneas yn yr Ital, dywedir i'w wraig weddw esgor ar fab mewn coedwig, a galwyd ei enw ef, oddi wrth y dygwyddiad, SYLVIUS, hyny yw, oddi wrth y gair Lladin *Sylva*, neu goedwig. Os Cymraeg oedd iaith y bobl, pa ham y benthyciwyd enw Lladin i roi ar y bachgen hwn? Pa ham y rhoddwyd i Brutus hefyd enw Lladin? Fel hyn, y mae enwau y penaethiaid yn Groeg a Lladin, eithr rhaid i ni goelio mai Cymry oeddynt o ran eu *hiaith*. A ydyw hyn yn debyg i wir?

Rhoddir i ni, yn nesaf, hanes mordaith Brutus i wlad Groeg. Os gwir yw yr hanes, pa sut na chawsem ef yn hen haneswyr clodfawr y wlad hòno, ac nid mewn llyfryn a gyfansoddwyd mewn gwlad bellenig? Mynegir i ni yn y Brut i Brutus gaffael mewn ynys anial, deml ac eilun i Diana, a bod yr eilun yn rhoddi ateb i bob gofyniad. Aeth Brutus hefyd i ymgynghori â'r eilun, a chafodd ganddo hyfforddiant i geisio Ynys Brydain, a mynegiad am helynt llwyddiannus ei hiliogaeth. Pa ham yr esgeulusodd W. O. ail adrodd yr hanesyn hwn?

[1] Sef heb law cymdeithion Æneas, y ffoaduriaid gyda Antenor a Helenus.

Onid yw yr holl hanes wedi ei adeiladu ar yr un sail â'r dernyn uchod? Ai gwybod yr oedd efe na choeliai y Cymry mwy y medrai eilun marw roddi ateb gwirioneddol neu hyfforddiant, ond y gellid peri iddynt gredu rhan arall oll o'r hanes? Onid yw yr holl hanes yn sefyll ar yr un sail a thystiolaeth? Os nid gwir i'r eilun marw lefaru prophwydoliaeth gywir am filoedd o flynyddoedd, ynfydrwydd dros ben fyddai coelio pethau ereill, y rhai nid oes genym fymryn tystiolaeth amgenach am danynt nag am yr eilun. Rhaid i'r holl hanes gydsefyll neu gydgwympo.

Hebryngwn yn awr Brutus ar hyd ei fordaith. Aeth hwn yn agos i Affrica, ac yno ymladdodd â llu o forladron, y rhai, nid rhyfedd os gorchfygodd hwynt, gan fod ganddo 30,000 o wŷr arfog, a 324 o longau. Ond ei ymladd mwyaf rhyfeddol oedd gyda llu o *forforwynion*. Y morforwynion hyn (ddarllenydd hynaws!) a ruthrasant ar ei lynges, a bu agos iddynt, medd yr hanesydd, soddi y 324 o longau, yng nghyd â'r 30,000 o wŷr!!! Adroddir hyn, tybygwn, i brofi fod "gan y Cymry o'r dechreuad benau annichellgar, a breichiau gwychion," fel y dywed W. O. mewn man arall. A pha beth a wnaeth Brutus ar ol gorchfygu y morforwynion? Myned yn ol o "golofnau Hercules," neu Gibraltar, i fôr Tuscani a wnaeth, a chaffael yno luaws o ddisgynyddion y Troiaid, a ffoisent gydag un Antenor o Gaerdroia. Dalier sylw, yn gyntaf, ar lwybr mordeithiol Brutus—o dir gorllewinol Groeg i Affrica, ac wedi i Gibraltar; yn nesaf, i ochr môr Tuscani, lle nid yw neb hanesydd arall yn gadael i Antenor sefydlu trefedigion—a hyn, ddarllenydd, pryd na anturiai o'i fodd neb pwyllog i fordeithiau allan o olwg y lan. A'r frwydr gyda'r morforwynion sydd yn hynotach fyth. Pa ham y mynega W. O. hanes Brutus wrth ranau? Pa ham y gosodir o'r golwg ruthr enbyd y benywod moraidd, ac iddynt agos â'i soddi ef a'i wŷr arfog? O blegid na choeliai neb y cyfryw ymadroddion ofer. Ond ni feddwn ni amgenach awdurdod am fordaith Brutus, a'i ddyfodiad i'r ynys hon.

Os rhaid i ni anghoelio un rhan, pa sail sydd genym i hyderu ar yr ysgrifenydd mewn pethau ereill, sydd naill ai heb eu mynegu gan bawb arall, neu yn hollol wrthwyneb i'w hanesau gwirioneddol?

Yn yr hanes a rydd W. O. am ryfeloedd Brutus yn Ffrainc, y mae peth amrywiaeth rhyngddo ef a'r Brut. Yn ol y cyntaf, ymosododd Brutus ar y Gauliaid mor ffyrnig, fel y lladdwyd 15,000 o'u gwŷr yn feirwon ar y maes, ac yno y teyrnasodd am 28 o flynyddoedd. Oddi wrth y goresgyniad hwn, medd W. O., y daeth pobl Llydaw i siarad yr iaith Gymraeg hyd heddyw. Eithr cyfaddefa y Brut i'r Gauliaid ymladd yn wrol â'r trais-ymwthwyr, fel y barnodd Brutus yn gymhwys gilio yn ol i'w longau, ac ail geisio y wlad a addawsai yr eilun iddo. Credu yr ŷm ni fod y naill hanes mor wirioneddol a'r llall, ac mai colled amser fyddai barnu rhyngddynt. Sonia y ddau am un Tyrri, neu Turnus (enw Lladin fyth), yr hwn a laddodd 600 o'r Gauliaid â'i law ei hun: eto, os gwir y Brut, lleihawyd byddin Brutus gymmaint, fel na bu ddiogel iddo ymsefydlu yn Ffrainc; eithr codi yr hwyliau a wnaeth, a dyfod i Totness, yn sir Defon. Y Brut a sonia lawer iawn yng nghylch y *Cawri* a oresgynodd Brutus a'i gyfeillion, eithr *trigolion y wlad* y geilw W. O. hwynt. Hyny yw, nid yw trigolion presennol Cymru yn ddigon hygoelus i dderbyn chwedlau am Gawri, a Corineus, a Gogmagog, ac eilun mud yn prophwydo, a morforwynion yn agos i soddi llongau; ond os gadewir heibio yr anwireddau anghredadwy uchod, gellir cyfansoddi llyfryn, yr hwn a ddwg geiniog i'r llogell, ac a bair i ambell hurtyn dybied fod W. O. yn ysgolhaig, a haneswr cywir.

Hysbysa W. O. i Brutus roddi yr enw Brutain, neu Prydain, ar y wlad, yn ol ei enw ei hun; a chenedlu o Ignogen ei wraig dri o feibion, Locrinus, Camber, ac Albanactus, oddi wrth ba rai y cafodd Lloegr, Cymru, a'r Alban, eu henwau presennol. Y mae yn hyn gynnifer o gamsyniadau ag sydd braidd o eiriau.

Bod Brutus yn air Lladin sydd ddilys ddigon, a pha

fodd y rhoddid ef ar Gymro nid amlygir ddim, a hyny lawer oes cyn llefaru y Lladinaeg. Ond pe buasai y fath wr a Brutus yn deisyfu galw y wlad oddi wrth ei enw ei hun, *Brutia*, nid *Britannia*, y galwasai hi yn Lladin; ac nid yw Brydain neu Prydain, yn tarddu yn rheolaidd oddi wrth Brutus, yn ol tadogaeth geiriau yn y Gymraeg.

Y mae hefyd achos i ammheu a elwid yr ynys hon wrth yr enw Brydain yn y prif oesoedd. Yr hysbysiad cyntaf a geir am dani mewn awdwr[1] Groegaidd sydd fel y canlyn:—"Tu hwnt i lenydd Môr Gael y mae dwy ynys fawr, y rhai a elwir yr ynysoedd Brytanaidd, sef Albion ac Ierna." Gelwid yr holl ynysoedd hyn wrth yr enw cyffredin Brytanaidd, eithr y ddwy fwyaf wrth yr enwau a elwid Albion ac Ierna yn y Roeg. Mewn oes ddiweddarach, cyfyngwyd y gair Brydain i'r fwyaf o'r ynysoedd. Nid anghredadwy yn ddiau y tybia rhai gwŷr hybarch, i'r enw cyffredin ddeilliaw i'r ynysoedd lleiaf oddi wrth y fwyaf. Ni ymrysonwn yn danbaid ar y pwnc hwn, os haerir i'r enw Brydain gael ei arferu yn raddol, ac nid ei ddodi ar unwaith trwy ddeddf freninawl a gosodiad gwladol ar ddyfodiad cyntaf y trigolion. Pa enw bynag a roisai y trigolion arni gyntaf, tebyg yw y cawsem hwn yn yr hanesion cyntaf am yr ynys. Yn wrthwyneb i hyn, Albion yw yr enw cyntaf, Brydain yw yr ail.

O'i wraig Ignogen (enw a fyddai, dybygwn, yn lled anhawdd i'r Dr. O. Pughe fynegu ei achau Cymreig) y cenedlodd Brutus dri o feibion. Yr enwau arnynt sydd ddim amgen nag ymgais drwsgl i ddadgan tadogaeth yr enwau a roddir ar dair brif ran yr ynys. Colled amser i'r ysgrifenydd, a dirmyg i ddeall y darllenydd, fyddai olrhain y dywediadau hyn yn ddichlyn. Ni byddai ond cyffelyb i hurtyn, a chwiliai am dri gronyn o yd mewn mesur o beiswyn, y rhai, yn sicr, nis gallai eu caffael ar ol ei holl drafferth. Eto, ar y sail ddirmygus hon, neu y gyffelyb, yr adeiladir hanes-

[1] Aristotl [*De Mundo*, c. iii. Blodeuai Aristotl 345 C.C.]

ach W. O. yn y llyfr yng nghylch *Dechreuad Cenedl y Cymry*. Y mae ei hanesach yn anghytun â moesau yr oes, yn wrthwyneb i hanesion credadwy ereill, ac, mewn amryw bethau, yn hylwyr annichonadwy.

Pan ymwasgarodd disgynyddion Noah hyd amryw wledydd y byd, yn ddiau nid yn dyrfaoedd mawrion, neu wrth filiynau, yr aethant o'r naill dalaeth i'r llall; eithr yn fynteioedd lled fychain yr ymsefydlasant bawb yn eu hardaloedd priod, ac yna ymdaenu yn raddol, megys yr oedd gormes gelynion, neu ddiffyg poriant i'w hanifeiliaid, yn eu gyru. Ni sonir yn hanesion y prif oesoedd, sef amseroedd cydoesawl â'r Brutus ffugiol, am lyngesau yn dwyn 24,000 neu 80,000 o filoedd. Os ychydig o gymdeithion a ddaeth gydag ef, nis gallent, yn ysbaid ei fywyd, ymdaenu dros yr ynys oll, coedawg ac anial megys yr oedd hi, yn ysbaid dwy ar bymtheg o flynyddoedd; a rhanu y cyfan oll o ddeheubarth Dyfnaint i ben tir yr Alban, megys pe byddai y cwbl mor adnabyddus ag yn yr oes bresennol. Os gwir hefyd yw hanes Brutus, pa sut y mae yn wrthwyneb i bob hanes credadwy arall? A welir dim i'w gadarnhau yn ysgrifeniadau clodwiw tir Groeg a Rhufain? A yw efe yn gysson â chofiaethau hybarch yr hen Gymry eu hunain—y Trioedd, a'r cynfeirdd? Os haedda y Trioedd unrhyw barch neu sylw, dyna ddiwedd ar awdurdod yr hanesach am Brutus, a'i dri mab. O'r tu arall, os gwir yw yr hanesach a ail gyfododd W. O. o'i fedd ammharchus, ni wiw i Gymro ymffrostio mwy yn y cofiaint hanesawl a adawyd i ni yn y Trioedd, megys gweddillion hybarch yr oesoedd gynt. Yn y golwg hwn, mor ofer fu ymdrechiadau Cymry dysgedig yn ddiweddar i loewi rhwd ein hanesion, ac i olrhain helynt ein cenedl o'u sefyllfa gyntefig. Cywilydd mawr yn arbenig a fo ar eich pen chwi, y Dr. W. O. Pughe! Eich ymgais llafurus chwi, a'ch brodyr Cymreigiawl yn Llundain, dros flynyddoedd lawer, oedd dwyn i'r goleu, ac i gymmeradwyaeth cyffredin dysgedigion, bob dim sydd yn haeddu parch a chred yn ein hen ysgrifeniadau. Oddi wrth eich llafur chwi, gan mwyaf, y

mae yn deilliaw nad yw pob estron yn awr yn gwenu pan glywo am achau y Cymry, megys y mynegir hwynt yn eu cofiaethau parchusaf eu hunain, ac na ddiystyrodd yr hanesydd clodwiw Sharon Turner oruwchadeiladu ei hanes ar seiliau awdurdodau Cymreig. Chwi a lafuriasoch yn ddyfal i beri i'ch cenedl roddi heibio ei hyder ar hen chwedlau anhygoel. Eithr ofer a beius fu eich holl ymgeisiadau. Chwennychasoch wneuthur y Cymro, nid mwy yn blentyn, eithr yn wr perffeith-gwbl; ond amcan eich cyfenwydd, *W. Owen*, o Arfon, yw ei wneuthur yn hen wrach—neu, ysgatfydd, yn blentyn drachefn. A chwithau, aelodau cymdeithasau Cymreigaidd, sydd yn olrhain eich tadogaeth i Gomer, gadäwn i chwi derfynu eich dadl â W. O. Yr ydych chwi yn rhy luosawg eich nifer, ac yn rhy gadarn mewn dysgeidiaeth, i wneuthur yn angenrhaid i ni amddiffyn eich achos. Yr ydych chwi i gyd yn cyfeiliorni, medd W. O. Camber, nid Gomer, yw eich cyndad. Rhoddir i'r Gauliaid, a thrigolion Armenia, yr anrhydedd o fod yn ddisgynyddion Gomer, fel y gelwid hwynt—"*Gomari*, *Gomerei*, a *Gomeritæ*, ond nid yw hyn yr un peth â *Camraeg* neu *Camroeg*, fel y gelwai hen awduron ein hiaith ni." Felly y dywed W. O. Rhyfyg mawr fyddai i'r *Gwyliedydd* farnu rhyngoch. Digon i ni, trwy y pigion uchod, ddangos anwybodaeth a chyfeiliornadau y llyfryn a elwir *Hanes Dechreuad Cenedl y Cymry*. Ond, yn ddiau, ni ddangosasom mo'r bedwaredd. Y rhan o'r llyfryn, ni adolygwyd genym, sydd o barth cywreindeb a gwybodaeth yn debyg i'r hyn a soniasom am dano. Ni wyddom ni am un llyfryn, yr hwn a gynnwysa mewn cyn lleied o ddalenau, gynnifer o feiau. Cymmaint a hyn a farnasom yn ddyledswydd arnom rybuddio ein darllenwyr yng nghylch y seigiau a osodir yma o'u blaen; a gobeithiwn, yn hyderus, mai hwn fydd y llyfryn diweddaf a gyhoeddir dan lysenw Hanes, i ail daenu y dyb gyfeiliornus yng nghylch dyfodiad Brutus a'i 24,000 o wŷr arfog i Ynys Brydain.

## TESTAMENT NEWYDD EIN HARGLWYDD A'N HIACHAWDWR IESU GRIST.

### ARGRAFFIAD YSTRYDEB—RHYDYCHAIN, 1828.

I FLAENORI adolygiad y testyn uchod, gallesid arwain y darllenydd i wastadedd Sinar, gan ymorol pa mor debyg oedd tafodaeth floesg yr heidiau a ddylifodd o'r cwch dwyreiniol—i'r famiaith gyntefig a lefarid gan Sem, Ham, a Iapheth: pa lwythau a grwydrasant i'r cylchau gwres ac oerfel, a pha rai a osodasant eu pebyll ar lanau Môr y Canoldir mewn clauarwch tymmerus: pa effeithiau a gafodd yr hinsoddau amrywiol hyn ar gyrff, ar feddyliau, ac ar alluoedd ymadrodd eu hamryfal drefedigion: pa amgylchiadau a barodd i un genedl ragori cymmaint ar un arall mewn dysg a gwybodau: pa fodd y bu i rai llwythau ysgrifo eu geiriau mewn dull amgen nag y llafarir hwynt, megys y mae heddyw gan drigolion Lloegr, Ffrainc, a'r Iwerddon: ond nid dyma y lle i'r cyfryw orchwyl maith. Yn y geiriaduron *Gwyddelig*, dysgir yr ieuainc a'r anwybodus pa fodd i lefaru y gair ysgrifenedig fel hyn:—*laethe-amhail* (beunyddiol) dyweder *lahal*, neu *lahawil*. Y *Seisneg* a'r *Ffrangeg*, &c., ydynt agos yn yr un gyflwr, yn anhardd i'r golwg, ac yn ddyrys i'r sawl a fynant ddysgu.

Nid yw y *Gymraeg* yn gofyn y fath gyfarwyddiadau. Geill yr hwn a redo ei darllen. Ni fedd hi ddim cydseiniaid mudion, na chydsain na llafariad nad ydyw yn cadw ei sain priodol ei hun ym mhob sefyllfod; oddi gerth y llafariad *y*, yr hon mewn ychydig eiriau a fenthyca sain ei chwaer *u*, megys yn y gair *ystyr;* ond hi a arddel eilwaith ei sain priodol yn y treigl-air *ystyriol.* Dylai ein brodyr yn Nyfed gofio hyn. Y mae y Gymraeg yn hyn yn fwy rheolaidd, ef allai, nag un iaith arall sydd ar lafar gwlad; yr hyn sydd yn rhwyddineb diwad i'r sawl a chwennycho ei dysgu. Ei hunig hagredd ydyw ei bod yn gorfod benthycio allan o'r egwyddor Rufeinig *ddwy* lythyren i fynegu

*un* sain, megys *ch*, *dd*, *ff*, *ll*, *mh*, *ng*, *ph*, *rh*, *th*, &c. Rhoddwyd cais, bedair gwaith o leiaf, gan wŷr dysgedig yn eu hoes, i gymmeradwyo i arfer gwlad *arwyddion unigol* yn lle amrai o'r rhai uchod; ond gan mor afrwydd ac anhylusg yw cenedl gyfa o nifer, ond canddryll a milddryll trwy fympwyon gwahanol, gallesid dywedyd yn iaith y ddiareb wrth bob un o naddynt—"*Gwân dy bawl yn Hafren.*"

Heb law yr un uchod, ychydig yw y diwygiaeth sydd yn niffyg ar ein hiaith. Flwyddau yn ol, cyfrifwyd y Beibl unplyg, 1620, yn rheol safadwy i'w ddilyn yn llythyraeth geiriau. Ni wrthwynebwyd hyn yn gyhoeddus hyd ddechreuad y ganrif bresennol, pan ddygwyddodd yr ymrafael ar y pwnc rhwng y diweddar Barchedigion T. Charles o'r Bala, a J. Roberts o Ddin Meirchion. *Garmon*, yn ei ddegfed Lythyr, yn y *Gwyliedydd* am Fawrth, 1829,[1] a roddodd ychydig o hanes yr ymgyrch hwn, gan ddynodi y ddwy blaid, un yn A, a'r llall yn B; ac, fel na byddai ei hun yn bleidiol, y mae efe yn sefyll megys yn y canol rhyngddynt; ac, yn ostyngedig gobeithiaf, y mae yn amddiffyn y blaid A ar yr angenrheidrwydd o gadw *am* negyddol, *di* gadarnhaol, megys yn *am*mharchus, *di*ben, *di*oddef, &c; *h*, yn arwydd uchenaid yn *bywhau*, &c. Ac ar ochr y blaid B, myn ymwrthod â gormodedd o lythyrenau lle na byddo tarddiadau geiriau yn eu gofyn, rhag ein bod yn hyn yn debyg i'r Gwyddelod: myn hefyd ochel sillgolliant, megys "llwybrau y bywyd," yn lle "llwybrau'*r* bywyd:" er y dylai y goll sefyll yn rhai manau, megys "y gyfraith a'r prophwydi;" canys hirllaes y seiniai y "gyfraith ac y prophwydi." Rhaid ymgynnefino â pheth ammherffeithrwydd, ond gwrthoder gormod.

Cymhwys i mi bellach gyfaddef mai myfi a anfonodd i'r *Gwyliedydd* y llythyrau dan enw *Garmon*, o ran bod cyhuddiadau ar droed fy mod wedi *rattio*, neu *droi*, oddi wrth y blaid A at y blaid B. I hyn atebaf, nad wyf o blaid yn y byd, ond o blaid y *gwirionedd*, gan

[1] [Tudalen 235 o'r gyfrol hon.]

ddymuno o'm calon na byddai yr un blaid arall. Os wyf yn gyfeiliornus ar un pwnc, cerydder fi yn garedig, ac mi a ymostyngaf yn ebrwydd. Gan bod *Beibl Cymraeg* wythplyg i'w gyhoeddi gan y Gymdeithas er Helaethu Gwybodaeth Cristionogol, a'r llythyraeth *(orthography)* a gynnwysir ynddo i ymddibynu ar farn dysgedigion Cymreig y pedair talaeth, pa un a ganlynir megys cynllun, ai un y *Beibl* 8*plyg* 1809, ai un y *Testament Rhydychain* 1828,[1] gan eu bod yn amrywio ychydig yn eu llythyraeth; bûm mor eon a danfon fy sylwiadau ar lythyraeth y Testament uchod i'r *Gwyliedydd*, gan fy mod yn ei gyfrif yn fwy haeddawl o fod yn gynllun na'r llall. A dymunwn ei fod yn gynllun safadwy tra byddo Cymraeg yn llafaredig yn Nhrawsfynydd Meirion, ac yn Ystrad Dyfodwg Morganwg.

**Os i'm sylwiad beiad bydd,**
**Agored wyf i gerydd.**

WALTER DAVIES.

*Rhagfyr* 18, 1830.

GWELLIADAU YN Y TESTAMENT 1828.

MATH. v. 44—*niwaid:* yn 1809, niw*e*id; yn ereill niw*e*d. Niwaid yw y goreu, a threiglir i *niweidiol*, fel rhaid, rheidiol, &c.

Pen. vi. 30—*yfory*, yn un-gair: yn 1809, *y* foru (deuair), *the* morrow.

Pen. viii. 1—i *waered:* yn 1809, i wared. Efe a ddaeth i *waered*, He came *down*. Efe a ddaeth i *wared*, He came to *deliver*.

Adn. 17—ac a *ddyg:* yn 1809, a dd*u*g. Dyg, dygodd, &c.

Pen. xii. 1—*twys:* yn 1809, *tywys*, sef arweiniad, tywyso, tywysog, &c. *Twysen o yd* sydd air cyffredin.

Pen. xiii. 30—*cynauaf:* yn 1809, cyn*h*auaf (cyngauaf). Collir yr *g* mewn cyfansoddiad: *g*win, "yfwch *w*in," &c.

[1] **[Golygydd yr argraffiad hwn oedd Tegid. Gwel nod 2, *t*. 233.]**

Pen. xvi. 3—*a thaenwyd:* 1809, a th*an*wyd. Ni ddywedir amser cynauaf—gwair ar *dân*, ond gwair ar *daen.*

Marc, i. 1—*Mab* Duw: 1809, *fab* Duw. Efengyl Mab Duw, nid Efengyl fab Duw.

Adn. 20—*ac yn y fan* (straightway): 1809, *yn y man.* Y diweddaf, yn rhai manau, a ddynoda amser i ddyfod, ym mhen tipyn, nid *yn ebrwydd.*

Pen. ii. 2—*hyd yn nôd:* 1809, hyd yn *oed.* Y mae rhyw nod yn y cyntaf i gyfeirio ato: nid oes dim yn yr ail.

Pen. v. 7—*dyngedu:* 1809, dyng*h*edu: treigler twng, tyngu, tynged, tyngedu, &c.

Pen. vii. 37—*byddariaid:* 1809, byddair. Y cyntaf yn fwy dealladwy.

Pen. x. 25—*trwy grai:* 1809, trwy *grau.* Gwaed yw crau, ac felly yn fwy priodol at *flaen* nodwydd na'i *chrai.*

Pen. xii. 14—*Caesar:* 1809, Cesar, ereill Cæsar: goreu yw y cyntaf.

Pen. xiii. 3—*olew-wydd:* mwy cyflawn nag olewŷdd 1809, &c.

Adn. 31—*y geiriau maufi:* 1809, mau fi. Gwell na'r ddau a fyddai y geiriau ar ymyl y ddalen yn 1809, sef, *fy ngeiriau i.*

Luc, i. 5—*brenin Iudea:* 1809, frenhin Judea. Yn nyddiau *b*renin, nid yn nyddiau *f*renin.

Pen. xiv. 19—*ychain:* 1809, ychen. Y mae mwy o sain lluosog yn *ain* nag *en*, yr hyn yn gyffredin sydd derfyniad unigolion, *derwen*, *mesen*, &c.

Pen. xx. 37—*hysbysodd:* 1809, hys*p*ysodd: y cyntaf megys yn dangos *â bys* ☞; nid yw *pys* ond math o ffrwythau y ddaiar.

Pen. xxiii. 32. Gwelliant mawr yn yr adnod hon, ragor 1809. Gwallus yw pob argraffiad o honi, ond rhai 1588, 1812, 1814, a 1828.

Adn. 38—*ar-ysgrifen:* mwy cyflawn nag arsgrifen 1809, &c.

Act. iv. 35—*anghen:* 1809, angen. *Anghenyf*, nid oes cenyf, I have not, hence necessity, want. *An*, yn

negyddu *c*, a fyn *ngh*, megys cariad, anghariad. Y mae anghen ac anghariad yn geraint mewn mwy o ffyrdd nag un.

Pen. vi. 14—fel *gwyneb;* angel: 1809, fel *wyneb* yr hyn a wanhâ y gair heb achos.

Pen. vii. 14—*a thriugain:* 1809, a thrugain: gair anghyfa yw y diweddaf.

Pen. viii. 3—*darllen:* 1809, darll*ain*. Dywedwn, efe a *ddarllenodd*, nid efe a *ddarlleiniodd*.

Pen. xiv. 2—*anghrediniol:* 1809, anghredadwy; sef rhai nas gellid eu credu. Arferwyd y gair hwn gan y Dr. Morgan yn 1588. Yn 1620, y Dr. Parry a'i newidiodd i *anghredadyn*, yr hyn a ddynoda *un* Iuddew heb gredu. Ac felly y parhaodd y gair trwy bob argraffiad hyd 1799, pan adferwyd yn ol *anghredadwy* y Dr. Morgan. Yn 1814, Mr. T. Charles a'i newidiodd i *anghredadin;* gair cymhwys i'r Sultan Sal*adin* o barth ei gyfansoddiad. Yn nhestyn yr adolygiad hwn, yn 1828, yr ymddangosodd *anghrediniol* gyntaf, a rhaid cyfaddef mai y goreu hyd yn hyn ydyw. Rhodder cenad imi ofyn, ai annerbyniol a fyddai "Iuddewon anghred?" Y mae *dynion anghred* yn ddywediad digon cyffredin.

Pen. xiv. 7—*efengylu:* 1809, ac oll, ef*a*ngylu: gair a ofyn ef*a*ngyl yn sylfaen iddo.

### AMMHEUSION A GWALLAU, YN Y TESTAMENT NEWYDD 1828, AC YN Y BIBL 1809.

MATH. vi. 25—*na ofalwch:* yn 1809, ac ereill, na of*e*lwch. Treiglir gof*a*lu, gof*e*lwch; fel c*a*ru, c*e*rwch, &c.

Pen. vii. 2—*ych bernir:* 1809, &c., y'ch bernir. A oes dim yng ngholl rhwng *y* ac *ch?*

Pen. xii. 4—*i dŷ Duw:* yn 1809, &c., i dŷ Dduw. Gramadeg a ofyn y cyntaf; ond beth a ddywedir am arfer gwlad dros gannoedd o flwyddau? Dywedir Carnedd *Dd*afydd, Carnedd *L*ywelyn, Ffynnon *Dd*ewi, &c. Yn yr un modd, *ffordd Duw*, yn Math. xxii. 16.

Pen. xiv. 22—tra *f*yddai: felly yn 1809, tra fyddwyf,

tra fyddo, &c. Gwell a chryfach Cymraeg yw, tra byddai, byddwyf, byddo. Nid yw *tra*, *er*, &c., yn newid y *b*.

Pen. viii. 3—*glanheir di:* felly yn 1809. Y ddau yn feius—*glanhäer*, yn y modd gorchymmynol.

Pen. xxi. 20—disy*m*wth: yn 1809, disy*mm*wth. Felly hefyd yn y Testament 1828 mewn pum man.

Pen. xxii. 44. Dywedodd yr *Arglwydd:* 1809, Dywedodd yr ARGLWYDD wrth fy Arglwydd; gan felly wahaniaethu rhwng *Iehovah* (y Tad) ac *Adon* (y Mab). Y mae y Testament yn gywir yn Luc, xx. 42, ac Act. ii. 34, gan ateb i Salm cx.

Pen. xxvi. 59, 60—*gau-dystion:* felly yn 1809. Ond yn 1828, ceir au-dystion Moses Wiliams yn Act. vi. 13.

Pen. xxvii. 54—y ddaear-gryn (ban.)—adn. 20, daear-gryn *mawr*. Felly yn 1809. Cymmysg rhywiau.

MARC, v. 41. Cromfachau yn niffyg, fel yn 1809; canys hebddynt, nid yw cyfieithad *Talitha cwmi* mor eglur.

Pen. vi. 53—*lanniasant:* 1809, laniasant, a gwell.

Pen. vii. 8—*orchymmyn:*—9, *g*orchymmyn: yn 1809, *o*rchymmyn yn y ddeufan, a gwell.

Pen. viii. 12—y genedlaeth *yma:* felly yn 1809, a phob argraffiad gwedi un y Dr. Morgan, yr hwn a ysgrifenodd yn gywirach "y genedlaeth *hon*." Yn yr un modd ym Marc, xiv. 71—"y dyn *yma;*" y dyn *hwn*, meddai yr esgob.

Pen. ix. 2—*weddnewidiwyd*, heb wahannod. Felly hefyd, gydymholi, arogldarth, ddïwnïad, oddiisod, oddiuchod, &c.

Adn. 42—gwell *oedd* iddo: felly ym mhob argraffiad: καλός 'εστιν—pulcher *est.*[1] It *is* better. Ni chytuna yr un o'r rhai hyn ag *oedd*.

Pen. xiv. 51—*llian:* yn 1809, &c., lliain. Llieiniau sydd air sathredig. I ba un y mae yn rhif lluosog, ai i llian, ai i lliain?

Pen. xv. 44—er *ysmeityn:* yn 1809, er ys meityn.

[1] [Καλόν 'εστιν=*pulchrum est*, sydd yma yn y testyn Groeg. Mynych yr arferai ysgrifenwyr cyfnod cyfieithad y Beibl gwell *oedd*, a'r cyffelyb, lle y dywedem ni gwell *yw*, a gwell *fyddai*.]

Y mae genym er ys deuddydd, er ys wythnos. Pa fodd y mae ysgrifenu y rhai hyn? Yn Luc, viii. 27, ceir *ys talm*, yn wahanedig, yn y Testament 1828.

LUC, i. 73—*a'r* roddi i ni: 1809, *ar* roddi i ni. Gwell nag yr un yw y Dr. Morgan, *ar ei* roddi i ni; sef y cyfammod trwy lw i Abraham.

Pen. vi. 17—*gwastatir:* yn 1809, gwastattir. Pe ysgrifenasai y Dr. Morgan *gwastadedd*, buasai yn well.

Pen. xiii. 11—*ymunioni:* 1809, ymuniawnu.

Pen. xxiv. 17—at *eu* gilydd. Felly yn 1809: at *eich* gilydd a gytunai yn well ag *yr ydych;* heb gymmysgedd hanfodau *(persons)*.

IOAN, iv. 20—*y man:* pen. v. 13—*y fan.* Felly yn 1809: cymmysgedd rhywiau.

Pen. vi. 13—*a weddillas*ai. Felly yn 1809, a phob argraffiad arall gwedi un y Dr. Morgan, yr hwn a gyfieithodd yn gywir—*a weddillasid.*

Pen. vii. 25—Hierosolymitaniaid: ac yn 1809. A oes modd i fyrhau y gair hwn?

Pen. xviii. 6—*can* gynted: 1809, *cyn* gynted. Dywedir bod y cyfansoddair *cyn*ddrwg yn erbyn y diwygiad hwn. Chwilier i hawl *can* a *cyn.*

Adn. 18—*ymdwymno:* felly yn 1809. Ai nid gwell ymdwymo, o *twym*, yn lle *twymyn?*

Pen. xxi. 4—ar y *lann:* 1809, ar y lan. Dyma un *n* yn ol i A;[1] ac un arall yn Act. x. 32.

ACT. ii. 8—*yn* ganed ni; y'n ganed ni; h. y., *y ein* ganed.

Adn. 30—trwy l*w:* 1809, heb y fachell, a gwell.

Pen. iii. 14—a *ddeusyfasoch:* gwell na "ddeusyf*i*asoch," 1809.

Pen. vi. 18—*mo* Ioseph: felly yn 1809, &c.; gellid hebgor *mo.*

Pen. viii—*Phylip* a *Philip* bob yn ail—*Phylip* drwy y bennod yn 1809.

Pen. ix. 2—i *Dd*amascus: adn. 3—i *D*amascus: yn

[1] [Gweler "Llythyrau Garmon," rh. x, *t.* 235; gweler hefyd *t.* 543.]

1809, y ddeufan yn *Dd.* Ond nid addas cymhell estron-eiriau i ostwng eu gwarau i'r iau Gymreig. Gellid newid Dafydd i Ddafydd, Pedr i Bedr, Mair i Fair, &c., o herwydd ein bod megys wedi eu mabwysiadu hwynt i'n hiaith: ond gadawer Paul, Barnabas, Babilon, Gath, Galilea, heb eu heillio o'u blaenoriaid. Boneddigaidd yw dangos parch i ddyeithriaid.

Pen. xiv. 17—*yn ddidyst:* felly yn 1809, &c.; ond nid felly ym Miblau y tri esgob, 1588, 1620, a 1690; yn y rhai hyny, yn ddi-dyst; a gwell, o ran bod y gwahannod yn ei wneyd yn fwy dealladwy i'r anhyddysg. Moses Wiliams a'i trodd i ddidyst gyntaf, yn 1717.

Cyn diweddu, dymunol a fyddai gofalu am roddi i *Gwyliwch*, γρηγορεῖτε, *watch*, ac i *Gwiliwch*, βλέπετε, cavete, *beware*, eu lleoedd priodol. *Gwiliwch* sydd yn gwbl yn yr hen Fiblau. A thra annosbarthus y ceir sefylliad *mab* a *fab* yn yr holl Fiblau. Yn y Testament 1828, gwelir yn Ioan, vi. 71—"am Iudas Iscariot *fab* Simon:" ac yn Ioan, xiii. 26—"i Iudas Iscariot *mab* Simon." A ydyw y ddau hyn yn ateb i un rheol? Gwel Gen. xxv. 12; a xli. 46; Barn. iv. 6, 11, &c.

Cymhwys iawn yw y gwahaniaeth rhwng *Iachawdwriaeth* yr enaid trwy Grist, ac *iechydwriaeth* y corff trwy iachâd clefyd. Gwel Act. iv. 22. Nid oedd y gwahaniaeth hwn yn yr hen Fiblau.

Yr wyf bellach wedi treiddio trwy y Pedair Efengyl a'r Actau, a dymunol a fyddai i ryw garwr y Bibl a'r bobl fyned yn y blaen drwy yr Epistolau a Dadguddiad Ioan, ac anfon ei sylwiadau i'r *Gwyliedydd* erbyn Rhifyn Chwefror.

Yr eiddoch,

W. D.

## Y CYFIEITHIAD CYMRAEG O ESBONIAD Y DR. ADAM CLARKE.

### AT MR. ISAAC JONES, Y CYFIEITHYDD.[1]

SYR,—Cefais ddoe ac echdoe y dywenydd o sylwi ar y rhifyn cyntaf o'ch cyfieithiad o Esboniad y llafurus a'r dysgedig Dr. Adam Clarke ar y ddwy bennod gyntaf o Efengyl Sant Matthew, yng nghyd â'r Rhagymadrodd, a "rhyw gymmaint o hanes Matthew;" a rhaid i mi gyfaddef eich bod wedi llwyddo yn y gorchwyl y tu hwnt i ddysgwyliad. Ni ddywedir hyn gyda golwg ar eich cymhwysder chwi i'r gwaith, ond ar y llafur a gymmerasoch mewn llaw. Nid oes achos i un o feib Myddfai deimlo eich gwythen redweli, canys bernir ei bod yn curo yn iachus-gref, gan ichwi anturiaw gwaith, fel "Gwaith Maen Cetti,"[2] nad oedd haiach gyfieithydd a'i cynnygiai, o Fon i Gaerdyf. Y mae yr awdwr clodwiw wedi casglu yng nghyd dystiolaethau allan o'r ieithoedd hynaf yn y byd, ac yn dwyn ym mlaen resymau cedeirn ym mhlaid ei ddeongliadau o'r rhanau dadleuedig yn y Dadguddiad Dwyfol. Yr oedd yr

[1] [Myfyriwr yng Ngholeg Dewi Sant, Llanbedr, ydoedd y Parch. Isaac Jones pan yr ymgymmerodd â chyfieithu Esboniad Beirniadol y Dr. A. Clarke i'r Gymraeg. Bu fyw i orphen y cwbl o'r Testament Newydd, a'r Hen Destament cyn belled a *Lef.* iv. 12, pryd yr attaliwyd ef gan ragredyddion angeu. Bu farw yn gurad Llanedwen, Mon, ar yr ail o Rhagfyr, 1850, yn 46 mlwydd oed. Gorphenwyd y gyfrol ar Bum Llyfr Moesen gan ereill ar ol ei farwolaeth. Gweler cofnod am dano, gan olygydd y gwaith hwn, yn yr Attodiad i Williams's *Eminent Welshmen*, t. 559.]

[2] ["Tair Gorchwyl Gadarn Ynys Prydain:—codi Maen Cetti, adeilaw Gwaith Emrys, a thyru Cadair Gyfrangon.—*Trioedd*, iii. 88.

"Maen Cetti, ar Gefn y Bryn, yng Ngŵyr, a addolid, medd yr hen draddodiad, gan y Paganiaid; ond Dewi a'i holltodd â chledd, yn brawf iddynt nad oedd ynddo ddim dwyfoldeb; ac a erchis i ffynnon darddu dan y maen, a hi a darddwys. A chwedi hyny, y rhai a fuant cyn hyny yn anghredinwyr, a gredasant, ac a dderbyniasant y ffydd yng Nghrist. Y mae Eglwys ger llaw, a elwir Llanddewi, lle, meddant, y bu'r sant yn beriglor cyn ei gyssegru yn esgob; a'r Eglwys hynaf yng Ngŵyr ydyw hi: a phan aeth efe yn esgob yng Nghaerllion ar Wysg, efe a osodes wr a elwid Cennydd ab Aneurin ab y Caw yn ei le ef yn Llanddewi, a'r Cennydd hwnw a wnaeth Eglwys a elwid Llangennydd; a brawd iddaw, a elwid Madog, a wnaeth Eglwys Llan Madog."—*Iolo MSS.* 83].

iaith Seisneg yn ddigon helaeth a thoreithiog, drwy ei benthygiadau allan o bob iaith, i gyflwyno i feddwl yr awdwr amledd ymadroddion: ond mi a allaf yn hawdd amgyffred yr anhawdd-dra i chwi drosglwyddo yr ymadroddion hyny o'r Seisneg i Gymraeg "lân loew," sef Cymraeg ddealladwy i'ch darllenwyr uniaith. Bydd raid ichwi lunio geiriau cyfansawdd newyddion, geiriau na buont erioed ar lafar gwlad, na cher bron yr un o feib yr argraff. Dywed rhai fod y Gymraeg yn hyrwydd hyblyg at gyfansoddi geiriau cymhleth; ond rhaid cyfaddef na ddeil hi, yn hyn, y cymhariaeth lleiaf â'r Roegiaith lafarber helaethlawn. Yn hyn gwnewch y goreu ag a alloch, ac na anturiwch yn bellach nag y goddef rhwyddineb iaith i chwi.

Goddefwch air o gynghor. Ymddyfnwch eich hun oddi wrth arferyd geiriau a brawddegau eich bro enedigol, os bernwch nad ydynt sathredig neu ddealladwy o Dy Ddewi i Forfa Caerlleon ar Ddyfrdwy. Na ddeliwch yn rhy dyn at y Seisneg. Darllenwch y Seisneg, a meddyliwch yn Gymraeg; ac os bydd ambell gwlwm yn rhy galed i'w ddattod, torwch ef. Nid oes a wneloch chwi â beiau y cyssodydd, ac ni chanfum ond ychydig yn y nodau ar y ddwy bennod. Y mae "llif ac adlif" yn gyfieithiad cywir o "*flux and reflux;*" ond a ydynt hwy yn eiriau mor adnabyddus i'r cyffredin, ym mhob rhan o Gymru, ag ydyw "llanw a thrai y môr?"

Rhoddaf eto rai sylwiadau. "Y corff arallryw" (*heterogeneous mass*), sef y *dorf gymmysgedig* a ddychwelodd o gaethiwed Babilon. "Pawb Cristionogion" (*all Christians*); pob Cristion a wnai yn ddifai, os nid gwell. "Bawb lliwiedyddion pabaidd;" bob lluniedydd pabaidd. Na arferer geiriau rhy hirion, lle cydweddo rhai byrach; megys, "Achyddiaethau Iuddewig;" achau Iuddewig, *Jewish genealogies.* Treigler y gair "Ach"—*lineage;* "achydd"—*a genealogist;* "achyddiaeth"—*the profession of a genealogist*, &c. Gocheler gogylchiaith (*circumlocution*) wrth ddilyn y Seisneg, a gormod o berwyddiaid cynnorthwyol (*auxiliary verbs*); megys,

"Eto yr oedd yn dygwydd," yn lle, "Eto dygwyddai," &c. Ef allai eich bod tan rwymau tynion, megys cyfieithydd, ac na feiddiwch gyfnewid *gair*, pe byddai hyny er gwell. I hyn y cyfrifaf eich helaethrwydd, yn y Rhagymadrodd, ar y gair Seisneg *Gospel:* a chan eich bod yn cyfieithu i'r Cymry, buasai nodyn yn eich enw eich hun, yng nghwr isaf y ddalen, ar y gair cyfystyr Cymraeg, sef *Efengyl*, yn fwy buddiol gan eich gwladwyr, gan roddi i'r gair ei wir dadogaeth a'i darddiad o'r Groeg Εὐαγγέλιον (Euangelion), yn hytrach nag o sill neu ddau o gloddfa y Gymraeg. Hygoel yw hyn, na chlybuwyd erioed mo'r gair *Efengyl* yn ein hynys, cyn i'r Cristionogion cyntaf ddyfod trosodd i bregethu ei "newyddion da o lawenydd mawr."

Llwyddiant a iechyd a ddymunaf i chwi, i gyrhaedd pen eithaf eich gorchwyl maith a phwysfawr.

Wyf, yr eiddoch,

WALTER DAVIES.

*Manafon*, *Ion*. 30, 1836.

## CYWYDD Y DILUW.[1]

EIN bwriad ar y cyntaf oedd cyfieithu i'r Gymraeg Ragymadrodd Seisneg[2] yr awdwr, er mwyn ein darllenwyr uniaith; o herwydd ei fod yn cynnwys crynodeb o gynnwysiadau y Cywydd dyfn-fyfyriol hwn; ond meddyliasom yr atebai y dyben yn fwy boddlonfawr i'r cyfryw ddarllenyddion, pe rhoddem ddarluniad cyflawnach o hono, yng nghyd â dyfyniadau yn achlysurol o'r Cywydd, fel y gwelo y sawl nad ydynt feddiannol o hono ei ragoroldeb; ac yn y lleoedd nad ydym yn gwbl o'r un farn â'r awdwr, anturiwn fynegu ein neillduad.

Y Cywydd a ddechreu gydag anerchiad y Bardd i'w Awen, ac adroddiad y testyn. Yna, Cain yn ffoi o ŵydd Duw mewn digllonedd i dir pellenig—yn gosod sail eilunaddoliaeth—cywreindeb ei epil yn y celfyddydau—darluniad o ddeuryw brydyddion cyn y diluw, sef meibion Duw a meibion dynion. Am y rhai diweddaf y dywedir (tudal. 9):—

"Hyll regai y lloerigiawn
Bob prydydd a'i ddedwydd ddawn;
Ac unwaith os gwnaent ganu,
Gwaith byrr, difyfyr a fu;
Rhyw anfoes swnfawr ynfyd,
Cabledd, a gwagedd i gyd!"
* * * *

Tudalen 17:—

"E ddirywiodd yr awen
Nefol-ber o'i harfer hen;

[1] Cywydd y Diluw, yn dair Rhan. Gan Ddafydd Ionawr. Dolgellau: 1821.

[2] Gyda phob parch dyledus i'r awdwr, yr ydym yn barnu mai cymhwysach fuasai rhoddi cynnwysiad y Cywydd yn yr iaith Gymraeg, yn hytrach nag mewn iaith estronawl. Pe caniatëid fod y Seisneg yn hysbys i holl Feirdd yr oes bresennol, ac i bob darllenwr Cymreig yng nghilfachau mynyddig Meirion ac Arfon, anweddus er hyny y tybiem yr arfer o ragddodi rhagymadrodd ac eglurhâd Seisnig i Awen-gerddi Cymry, yn enwedig i farddoniaeth mor ardderchog a gorchestol ag yw *Cywydd y Diluw*.

Mewn cnawdol fasweddol swn
Ennynodd hon yn annwn;
Ynfydion fu'r beirddion bas
Yn nyddu mawl anaddas;
Nid mawl i'r gorseddawl Sant,
O gu enaid a ganant,
Ond mawl am anferthawl fâr
I gau dduwiau y ddaiar—
* * * *
Llawn oedd ei gwleddoedd o glod,
Ofer swn i fursenod.
Yn gydlef ca'dd cwn gwaedlyd
Lwyr barch am ddiluwio'r Byd."

Rhaid cyfaddef fod hwn yn ddarluniad rhy gywir o ormod o brydyddion mewn oesau mwy diweddar; ond y cysur ydyw bod eu rhifedi yn lleihau fel y mae gwybodaeth iachusol yn cynnyddu: a bydded i'r radd arall o feirdd, a ddarlunir tudal. 10, amlhau, hyd na byddo ym mhlith awenyddion onid un rhyw o gerdd bereiddsain destynwiw. Ac yma, byddwn mor eofn a dywedyd am awdwr Cywydd y Diluw, er mor luosog ei ganiadau, na chyhoeddodd erioed ond yr hyn a dystiai ei gydwybod iddo ei fod, nid yn unig er dywenydd, ond hefyd er adeiladaeth i bob darllenydd ystyrbwyll. Am feirdd Seth y dywawd eu dysgybl:—

"O lwyddawl addolyddi*awn*
Yr oedd eu lluoedd yn llawn;
Llawn o bêr ddawn barddoniaeth,
Hon o Dduw ei hun a ddaeth;
Yn ddidawl â'u dawn ddedwydd
Molant y SANT yn eu swydd."

Yna y canlyn (tudal. 11) yr achos o'r ymlygriad cyffredinol:—

"Gwelodd meibion doethion Duw
Wych dyner ferched annuw;"

a'r effaith o'r ymgyfathrachiad rhwng epil Seth ac Enos dduwiol â'r eilunaddolyddion, hiliogaeth y lleiddiad gwrthgiliedig, oedd llenwi y ddaiar o bob drygioni, balchder, a gorthrymder, yr hyn a barodd i'r rhinweddau moesol adael eu pebyll daiarawl, ac esgyn fry i'w hanneddau goruwch-wybrawl.

Tudalen 13:—

"Ffodd mwynber *Gyfiawnder* fad,
A'i Cheraint, *Hedd* a *Chariad*,
I nodded eu cain Haddef,
I wlad anwylfad y Nef."

Yr ydym yn cofio yr un darluniad yn Ofyd, y bardd Rhufeinig; ond yr ydym o'r farn fod ein bardd Cymreig yn rhagori. Er mor gyffredinol y dirywiad, ni adawodd Duw mo hono ei Hun yn ddidyst; eithr efe a annogodd Enoc dduwiol i argyhoeddi y pechaduriaid. Ei bregeth iddynt (tudal. 16) sydd rydd gynghaneddiad o'r geiriau a roddir iddo yn Epistol Iudas, adn. 14—16. Wrth y ceryddiad llym hwn, "penaethiaid tanbaid y tir" a ffromasant, gan fwriadu merthyru y pregethwr. Ond "ei gyfaill Duw a gofiodd," a

"Gwâr Enoc, y gwr union,
Gan lu oreulu yr Ion,
Cyfodwyd a dygwyd ef
Ar olwynion i'r loywnef,
Oddiar wybrenydd eirian,
Mewn cerbyd eurbryd o dân."

Yr ydym yn ddyledus am yr helaethiad hwn o'r hanes ysgrythyrol i ffaethder Awen y bardd; ac nid oes genym sylfaen i wrthddadleu ei grebwyll.

Erbyn hyn yr oedd drygioni dynolryw wedi cyrhaedd y radd eithaf o euogrwydd (tudal. 18):—

* * * *

"Y trigolion trwy' gilydd,
Cableddau 'n eu safnau sydd;
Cablant, ni chrybwyllant bêr
Enw Duw nef—ond yn ofer!"

Tudalen 19:—

"Y Rhên sydd Holl-bresennawl,
Etto 'n ymguddio mewn gwawl,
A welodd annuwiolion
Y ddaiar anhygar hon.
* * * *
Ior nef edifaru wnaeth
Greu dynion digrediniaeth."
* * * *

Tudalen 20:—

"Yn Nuw fe gredodd Nöa."

Tudalen 21:—

"Ei lawn rybuddiaw'n ddibaid
Wnai 'r Ion yn ei wâr enaid,
Fod barn ar fyd ynfyd iawn
O'r gygus ferwawg eigiawn,
Yn nesu 'i amgylchu'n gaeth
Yr heulawg ddaiar helaeth
A'i gwydlawn dorfoedd gwaedlyd,
I soddi a boddi 'r Byd."

Noa yn aberthu—cysgod o'r Iawn, yr addewid yn Eden—yn cael goleufynag tufewnol o'r distryw ar ddyfod—yn ymprydiaw ac yn gweddïaw am nawdd—angel yn cael ei anfon i'w gysuraw—ei gyfarchiad, a'i ddadguddiad o'r arfaeth—portreiad o'r arch—ugain mlynedd a chant o ysbaid cyfammodol i'r cynddiluwiaid edifarhau—gofid Noa.

Tudalen 25:—

"Yr Ion yn ei wâr enaid
Llefaru y bu 'n ddi baid
I'w annog at Fyd enwir
I gu bregethu y Gwir.
Cariad perffeithfad, pur ffydd,
Nefawl hyder yn Nofydd,
A'i llesawl gymmellasant,
Drwy wledydd a gelltydd gant,
I daenu, pregethu 'r Gwir
Hyd wyneb y Byd enwir.
* * * *
Ei wyneb hardd a'i enaid
Yn brudd gan gystudd a gaid."

Tudalen 26. Mae ei bregeth gyntaf yn cyrhaedd dros 51 o bennillion Cywydd deufan; ac a gynnwysa mewn un ban, "Newidiwch eich eneidiau." Mewn nod esboniadol is law dywedir bod hyny yn gyfieithiad llythyrenol o'r gair Groeg METANOEITE. Pe dywedasai, Newidiwch *ansawdd* neu *gyflwr* eich eneid-

iau, buasem o'r un farn ag ef. Meddyliwn y buasai *Newidiwch eich anwydau* yn gyfieithiad cywirach y gair Groeg a gyfieithir yn ein Hefengylau, *edifarhëwch.* Ni effeithiodd pregeth Noa gymmaint ar y cynddiluwiaid ag y darfu i un Ionah ar drigolion Ninifeh; ond hwynthwy, megys "gwatwarwyr y dyddiau diweddaf," a wrthddadleuent—

Tudalen 32:—

"Gwiwferth barhau 'n llwyr gyfan
Mae'r Byd pur hyfryd bob rhan;
Ninnau mewn golau, gwelwn,
Sy'n parhau i fwynhau hwn—
Chwarddent, a gawrient i gyd
Yn hyfion,—*Mwynhawn* hefyd,
Mal y dylem, lu dilyth,
Breuddwydiont a fynont fyth!"

Er y gwawd a'r ammharch a gafodd Pregethwr Cyfiawnder ar ei ymgais cyntaf i ddychwelyd yr anwiriaid, mae er hyny yn parhau i rybuddio ereill o'r farn oedd ar eu goddiwes—

Tudalen 33:—

"—— ei ddwys deimlad oedd
I'w annog at fyrddiynoedd,
O anferth gawri ynfyd,
Pob graddau drwy barthau 'r Byd."

Ei ail bregeth a gynnwys 68 o fanau; ond ni thyciodd negesydd y nef i argyhoeddi byd ag oedd wedi addfedu i farn.

Tudalen 38:—

"Gan mor aruthr eu rhuthr hwy
I lidiawg farn ddyladwy;
Wele! Nöa a wylodd,
A than wylaw draw fe drodd."

Dechreu adeiladaeth yr arch—gofid Noa o herwydd cyndynrwydd y pechaduriaid—y mae yn parhau i bregethu:—

"Teithiodd, pregethodd y Gwir
Puredig ym mhob brodir."——Ond
"Gweddïau, pregethau gant,
O'i hoff enau, ni ffynant;
Geiriau na dagrau nid ŷnt,
Liaws addig, les iddynt;
O'u trawsedd hwy ni's troisant,
Eithr oll yn waeth-waeth yr ânt;
Y Byd i gyd a gadarn
Lygrodd, addfedodd i farn:
Llifeiriant o hyll fariaeth
Dros yr hollfyd ynfyd aeth."

Tudalen 41. Gorphen yr arch—"Cenad o'r nef wenfad fawr" yn gorchymmyn i Noa ofalu am fywyd creaduriaid o bob rhyw; ac yn ei rybuddio y disgynai y Diluw ym mhen saith niwrnod.

Tudalen 43:—

"Y mae'r farn dramawr i fod
Arnynt ym mhen saith niwrnod;
Rheieidr glywir yn rhuaw,
Tymmestlawg o lidiawg wlaw;
Y berwawg wlaw heb aros
A fydd ddeugain nydd a nos.
Coediawg fynyddoedd cedyrn
Dan foroedd chwerwfloedd a chwyrn
Orchuddir, boddir y Byd
A'i hoedlawg ddreigiau hadlyd."

Y seithfed dydd yn dyfod—ar y diwrnod hynod hwnw, pe buasai yr ystorom yn rhuo, a gwawr erchyll-ddu y ffurfafen yn bygylu llifeiriant ebrwydd, nid rhyfeddod a fuasai gweled y patriarch yn prysuro ei deulu i'r arch; ond ni buasai ei ufudd-dod felly yn brofiad mor gadarn o'i ffydd yn yr addewid. Ar ei fynediad i'r ddiogelfa—

Tudalen 47,—

"Y safodd Nöa sywfad
Gan gu olygu y wlad.
Heulawg oedd y nef haelwedd,
Arwyddion hinon a hedd."

Ei ufudd-dod yn y fath amgylchiad, pryd nad oedd y perygl lleiaf yng ngolwg gwybodaeth dynol, a sicrhaodd iddo "etifeddiaeth y cyfiawnder sydd o ffydd."

—"Noa ganfu—garnolion rhadlon bob rhyw—yn dynesu yn llu llawn—i gael eu diogelu"—a

"Nöa lon ael mewn hael hedd,
Agorai ddrws trugaredd.
* * * *
Y Llew yno yn llonwych,
Porai wellt fel y pawr ŷch."

Tudalen 48:—

"Y pybyr Eryr eirian,
Mwyn oedd, fal y G'lommen wan.
Dawnus bortreiad union
O lwys wir Eglwys yr Ion,
Y dyddiau da diweddaf,
Drwy fwy o gynnorthwy Naf."

Tudalen 49:—"Gwiwfad genad gogoniant" yn cau drws y noddfa ar Noa a'i deulu, a'r creaduriaid a ymddiriedwyd tan ei ofal.

Tudalen 50:—

"Duw lwys gasglodd ei dlysau
Allan o'r byd gwaedlyd gau:
Ni oedir barn ofnadwy
Ar fyd anhyfryd yn hŵy.
Naf Awdwr y nef odiaeth
F' all wneud—f' eill ddadwneud a wnaeth;
Anfeidrawl ollawl Allu!
Dyweded—Bydded—a bu.
* * * *
"Chwi ddyfroedd, moroedd mawrion,
—Duw Awdwr sydd yn d'wedyd,
Dylifwch—boddwch y byd!"

Ar hyn, y mae aneirif o golofnau dwfr yn esgyn i'r awyr allan o'r eigiawn deheuawl; y rhai wedi ymfyddino yn gymylau a drosglwyddir ar edyn y deheuwynt goruwch wyneb pedryfan daiar, lle yr arloesant eu llanw yn rheieidr gorwyllt dibaid, tros ddeugain nydd a deugain nos. Ar yr un pryd, mae y drysorfa o ddyfroedd oedd gynnwysedig yn nirgel groth y ddaiar, "ffynnonau y dyfnder mawr," yn ymgynhyrfu, ac yn rhuthro trwy ragfuriau cedyrn eu carchargell

ehelaeth, gan fwrw allan eu galluoedd anattaliadwy, hyd oni chwyddodd y dyfroedd llifeiriol i bymtheg cufydd goruwch y mynyddoedd uchaf—y Mynnau, yr Andes, a'r Himmalaiaid anfesurawl. Nid ydym yn feddiannol o eiriadaeth i ddarlunio yn gymhwys erchylldod yr ymweliad dinystriol. Cymmered y darllenydd, gan hyny, y darluniad yn iaith farddonawl, gyfiawnryw, a gwrddrymus yr awdwr ei hun; canys pwy a ddarlunia erchylldod ofnadwy yn well?

Tudalen 51:—

"Afrywiogwyllt fôr eigion
A rwydd wrandawodd Ion:
Lluoedd mŷr y gorllewin
Glywsant, grochfloeddiant yn flin,
Gan ddeffro 'r deheufor hyll
O'i dawel annedd dywyll.
Mewn cyffro hwy 'n swnio sydd,
A galwant ar eu gilydd:
I fynu hwy anfonant
Ddyfroedd o'u cylchoedd fil cant!"
* * * *

Tudalen 52:—

"Rhyfedd! o'r dyfnder hefyd
Colofnau 'n amlhau o hyd.
* * * *
Hedodd, ymgasglodd pob gwynt,
Dywibiodd i'r deheubwynt,
I gyd-weithredu 'n llu llon
A'r gygus ferwawg eigion.
Byddinoedd Ior o'r môr maith
Taranawg ânt ar unwaith:
Cymmylau fyrddiynau 'dd ânt
Yn heidiau chwai ehedant
Ar wyllt wasgar gyda'r gwynt
A'i adenydd chwyrn danynt:
Duon oedd ei edyn ef
Yn llenwi yr holl wiwnef."
* * * *

Tudalen 53:—

"Llethodd cymmylau llwythawg
Yr holl ehangder yr hawg,
Hyd lydan wastad wledydd,
Heb haul da, ac heb liw dydd,
Tywalltant hwy fwriant fôr
Draw i'r llawr drwy'r holl oror.

I eneidiau anhydyn
Yn ebrwydd bu sobrwydd syn;
Llwyr alar y lle 'r elont!
I ba amddifynfa y ffônt?
* * * *
Hawdd gwybod nad oedd gobaith
Mewn tyrau na chaerau chwaith!"
* * * *

Tudalen 54:—

"Yng nghanol masweddol swn,
Gweniaith a miwsig annwn,
Miloedd mewn gwleddoedd gladdwyd
Dan gryfdwr y llifddwr llwyd.
Rhyfelawg gawri filoedd,
Arfogion blinion eu bloedd,
Dan donnau 'r cadau cedyrn
Chwalwyd, orchuddiwd yn chwyrn.
Daear hen, drwy wahanu,
Yn dadmer i'r dyfnder du."

Tudalen 55:—

"Hi—wrth esgor ar foroedd
Lliosog iawn, yn llesg oedd.
Ffynhonau 'r dyfnderau, dig
Waelodion anweledig,
Ferwedig ddeifr rhuadwy,
Cynhyrfwyd, dihunwyd hwy;
O ddu ddyfngroth y ddaear
Y rhuthrant, berwant mewn bâr.
Gan fôr gwyllt, gwyn-ferwawg oedd,
Yn torri rhwng y tiroedd,
Ynysoedd ymrannasant,
Trymion i'r eigion yr ânt:
* * * *
Ar hyd a lled pob gwledydd
Dychryndod a syndod sydd!"
* * * *

Tudalen 56:—

"Od eir i barthau 'r Dwyrain
Neu 'r Gogledd ———
Goleu ronyn ni's gwelant
Ond cochion fellt gwylltion gant;
Taranau trwy y wiwnef,
Cefnlli o ffenestri nef:
Rheieidr fyrddiwn yn rhuaw
Yn ffrydiawg o lidiawg wlaw!
* * * *
Afonydd â'u holl-rydd hynt,
A chynnwrf mawr wreichionynt;
A'r awyr yn adruaw
Y mawr drwst gan y môr draw."

Tudalen 57:—

"Ymwriaw y mae'r môr mawrwyllt
Mewn bâr yn ei garchar gwyllt;
Drwy ewynawg daranu
O'r llyngclyn diderfyn du.

"Rhai ynfydion gwylltion gan
Am nawdd ffônt i'r mynyddau;
Rhedai 'r môr mawr rhuadwy,
Ar fyrder i'w huchder hwy!
P'le 'r ânt?—p'le safant?—p'le sydd
Rhag y gwaeau tragywydd!
Cydwybod, dyst parod pur,
Gwedi bod yn gysgadur,
Yn fud ym mhlith ynfydion,
Mae bywyd o hyd yn hon!
O'i chwsg cacth hi ffraeth ddeffrôdd
Ac a'u haddig gyhuddodd,
A chospedigaeth waeth oedd
Na dw'r y gorddyfnderoedd:
Tros fyth hon weithion ni wna
Dewi, hi fyn wrandawiad.
O annedwydd eneidiau!
Rhy hwyr oedd edifarhau."

Buom yn dra maith yn ein dyfyniadau o'r darluniad deffröus hwn, o herwydd yn ein barn ni mai y "goreu ydyw o'r goreuadon" drwy holl ystod y Cywydd; gan addaw bod yn gynnilach o'n sylwiadau mewn manau ereill o lai rhagoriaeth.

Tudalen 60. Ni fedr yr awdwr alaru am "ddinystr uffernawl ddynion;" ond am "adar cerddgar y coed,"

"A'r llon *dda* mudion y mae
O'u herwydd achos hirwae;
Am y rhai'n, druain, mae'n drwm
Eu gweled mewn caeth gwlwm."

Tudalen 61:—

—— * * *

"Diweddiad ar had Adda!
I'r diawl, ac i'w arw deulu
Rhyfedd orfoledd a fu.
Satan, mewn llid llydan llwyr,
A ruodd fry 'n yr awyr."

Yna y canlyn ei hir araeth wrth ei gyd-gythreuliaid, ym mha un y bostia—

"Yn ddibris MYFI 'n ddibryd
Ddinystriais, boddais y Byd!"

Tudalen 63. Satan yn bwriadu gyru corwynt i suddo yr arch a'i llwyth, er mwyn cyflawnu ei fuddugoliaeth dros yr holl greadigaeth ddaiarawl, ond yn cael ei luddias gan ofnadwy "follt cyfiawnder," yr hwn a yr "Satan yn hagr-dan hyll," yng nghyd â'i ddieifl i'r dyfnderau.

Tudalen 65. Trugaredd yn gorfoleddu yn Llys Cyfiawnder—angylion yn cael eu danfon "i dywyll barthau daiar," i ddwyn "i wlad oreufad yr Ion,"—"i gànaid wlad gogoniant,"—"gwirioniaid heb lwgr einioes, y rhai aent ym moreu 'u hoes," "cyn i bechod cyndyn caeth, eu swyno i'w wasanaeth."

* * * *

"*Hwy* wirioniaid eirianwawr,
*Hwy* o blith y felltith fawr,

* * * *

*Hwy* o ddinystr haeddiannawl
Caethweision deillion y diawl,
I deg fyd a gyfodwyd
Uwch pob braw, dan law Duw lwyd.

* * * *

Yr oedd niferoedd Nef wen
I'w croesawu 'n llu llawen
I drigfanau 'r seintiau sydd
Lawnion o wir lawenydd:

* * * *

*Hwy* yno ———
——— orphwysant
Hyd fad gyfodiad i farn,
Gwed'yn i'r loewnef gadarn,
I ganwaith mwy gogoniant,
I HEDD ddiddiwedd ydd ânt."

Yma gofynwn, Pa faint mwy cysurus yw y daliadau uchod i rieni mabanod a fyddont feirw yn nyddiau eu diniweidrwydd, na daliadau rhyfygus y beirniaid byrbwyll a dideimlad a ddiofrydant y gwirioniaid i golledigaeth, os na bydd eu rhieni mewn cyflwr cadwedig.

Tudalen 68. "Ion a gofiodd No gyfiawn," ac a anfonodd y gogleddwynt a'r deheuwynt at y dyfroedd chwyddedig i'w cymhell "i rwydd enciliaw'n raddol, i'w cau anneddau yn ol:"—"Yn ol yn raddol yr ânt i ddu ddyfngroth y ddaiar:" "yno" "gorphwysant, hunant, mewn hedd."

Tudalen 70:—

**"O'r dyfrawg berwawg ddwfn bant**
**Ynysoedd esgynasant:**
**Daeth y crwnfyd hyfryd hwn**
**Yn ol i'r drefn a welwn.**
***   *   *   ***
**Megys gynt ———**
**Seiliad yr adeilad oedd**
**O rym mawr ar y moroedd."**

Mae yr awdwr (tudalen 55) yn dyfalu y bellen ddaiar hon megys yn dadgymmalu dan ruthriadau parhäus y dyfroedd cynnulledig, a drylliau helaeth o honi yn cael eu traflyncu gan yr anoddyn tufewnol. Ac yma y dychymmygir fod y drylliau mawrion hyny, ar dreiad y dyfroedd, yn esgyn o'r dyfnderau, ac yn tryfrithaw y moroedd ag *ynysoedd* o faintiolaeth amrywiol, mewn amrai barthau o'r ddaiar, yn y lleoedd a'r lluniau y gwelir hwynt yn ein hoes ni. Mae cymmaint o ryddid i'r awdwr gynnwys y meddyliau a fyno ar y testyn hwn, ag oedd i ereill o'i flaen ef, megys Burnet, Whiston, Buffon, Whitehurst, Hutton, a'u cyffelyb. Pe na chawsem ein bendithio â hanes diluw Noa trwy ddadguddiad dwyfol, buasai anianyddion cyn hyn wedi gweled nodau eglur o effeithiau rhyw ddiluw rhyfeddol ym mhob parthau o'r ddaiar, yn y mynyddoedd uchaf yn gystal ag yn y bryniau a'r dyffrynoedd. Edryched y Cymro sylliawg ar greigiau calchaidd y y *Gogarth* ac *Ynys Seiriol Wyn;* rhifed eu gwanafau, mesured eu trychedd, a chymhared eu sylweddau â'u gilydd; ac er bod y creigiau hyny yn bresennol rai milltiroedd y naill oddi wrth y llall, eto nid yw yn rhyfygus dybio eu bod unwaith yn gyssylltedig; a pha beth a'u gwahanodd ond y *diluw?* pa beth a barodd i Ffrydiau Caswennan lifo rhwng Enlli a Lleyn ond y *diluw?*

Ped esgynasai yr ynysoedd yng ngwrthlifiad y diluw allan o'r anoddyn i arwynebedd y moroedd, nid yw yn hawdd ddyfalu pa fodd y deuent yn sefydlog. Os oeddynt nofiadwy y pryd hyny, oni buasent felly eto? a pha rwystr a fuasai i Brydain Fawr a'r Iwerddon nofiaw

cyn hyn tua chylch y poethwg? Ein tyb ni ydyw, fod gwadn neu sail pob ynys y dydd heddyw yn yr un lledred a hydred ag oeddynt cyn y diluw, ac nad yw holl ynysoedd y byd ond cynnifer o aelodau, a phob un o honynt yn gyssylltedig â chyfangorff y ddaiar. Blaenau ei hucheldiredd yw ynysoedd, tra byddo y dyffrynoedd cyfryngol yn orchuddiedig gan y moroedd. Dyfalwn ein bod ar foreuddydd o haf ar ben un o fynyddoedd cribog yr Eryri, a bod yr holl waelodion rhyngddynt, megys Nanhwynain, Cwm Dylif, Nant Ffrancon, &c., yn orchuddiedig gan darth glaswyn, heb ddim daiar yn y golwg ond clogwynau y Wyddfa, Carnedd Llywelyn, y Moelwyn, Moel Siabod, &c.; yna, ond ein bod yn tebygu pethau bychain yn fawrion, cyffelybwn y tarth i ddyfroedd y Deheufor, a chribau y mynyddoedd a soniwyd i ynysoedd Eimeo, Taheita, ac ereill. Ar gryfhâd yr haul, diflanai y tarth; a phe dihyspyddid dyfroedd y Tawelfor, canfyddid yr eangder dirfawr hwnw yn un cyfandir.

Mae nodau o effeithiau *tân*, yn gystal a dwfr, ar ansawdd bresennol ein daiar, yn amrai barthau o honi; ac mewn rhai manau, megys Etna, Vesuvius, &c., mae yr elfen ofnadwy yn fynych yn dangos grym ei gweithrediad hyd heddyw. Mae afon ferwedig yn dylifo yn barhäus allan o groth mynydd Hecla, yng Ngwlad yr Ia. Yn gydsyniol â hyn, tra gorchestol y darlunia y Bardd (tudalen 58) gydweithrediad dwfr a thân i ddiluwio y cynfyd:—

"Parod oedd byddinoedd IOR,
Rhoddwyd y byllt yn rhyddion:
Chwyrn derfysg, dychryn dirfawr,
Goleuo mellt drwy'r gwlaw mawr.
Yn addig *Dwr* a *Thân* oeddynt
Yn elynion gwylltion gynt;
Ond yn awr unwyd eu nerth,
Cawri agwrdd cywirgerth;
Gwelir hwynt, ar y galwad,
Yn feibion dewrion un Dâd;
A thra-dewr gydweithredant,
A'u cyflym holl rym lle 'r ânt."

Nid ydym ddyeithrol i effaith dwfr a thân yn cydweithredu, pan ystyriom nerth anfeidrol yr agerdd-

beiriant yn y gweithiau haiarn ac ereill; a bod agerdd-longau yn tramwyaw y moroedd yn erbyn y gwynt, heb na hwyl na rhwyf gyffredin. Ac yn nyddiau y diluw, pan gyfyngwyd yr etifedd cenedledig o gysswllt y ddwy elfen yng nghelloedd dyfnion y ddaiar, a oedd ryfedd i'r fath allu (deng mil o weithiau mwy galluog nag un rhifedi o dynnau o bylor gwn) ruthro allan o'i garchar, a chwilfriwio ei hamrygant; ac i garneddau o adfeiliad y creigiau a'r gelltydd cedyrn gael eu bwrw i fyny dinben drosben, fel y gwelir hwynt eto ar benau amrai o fynyddoedd. Mae craig galchaidd ym Mrycheiniog, a elwir Cribarth, â'i gwanafau mewn pob annhrefn a ellir ddychymmygu, fel yr ymddangosai castell, o uchder a maint anfeidrol, gwedi syrthio â'i ben i mewn—distiau, llathau, a swmerau blith draphlith. Heb law annhrefn ei gwanafau, ymddengys Cribarth fel pe buasai wedi cael ei hergydio o'i sefyllfa gyntefig ym mhlith creigiau calchaidd y Mynydd Du o'r tu gogledd iddi, a'i bwrw o leiaf hanner milltir i derfynau y glodir uwch ben Tawy.

Lle y dywawd ein hawdwr (tudalen 70) am ansawdd y ddaiar gwedi y diluw,

"Seiliad yr adeilad oedd
O rym mawr ar y moroedd,"

dylem ei ddeall yn llefaru mewn iaith ysgrythyrol. Mae pen-bardd Israel yn arferyd yr un geiriau (*Salm* xxiv. 2); a'u hystyr ydyw, bod y ddaiar wedi ei chyflëu oddi ar, neu yn uwch na'r moroedd, fel na orlifent hi. Nid eill neb yn yr oesau hyn dybio bod y ddaiar yn gorphwys *ar* y moroedd, mwy nag y coeliai freuddwydion yr hen philosophyddion, ei bod yn sefyll ar golofnau. Nyni a wyddom yn awr mai pellen ledgron yw hi, yn gynnaliedig gan ei Chreawdwr yn yr awyr deneu—yn rhoi tro ar ei phegynau bob pedair awr ar hugain, ac o gylch yr haul unwaith yn y flwyddyn; y chwyldroad cyntaf yn peri dydd a nos, a'r ail yn hanfodi y tymmorau—Haf, Cynauaf, Gauaf, Gwanwyn. Nid yw

y sylwiadau hyn yn wrthwynebol i'r dadguddiadau ysgrythyrol; canys ni wrthwyneba y naill wirionedd y llall. Pan safodd y ddaiar ar orchymmyn Iosua, dywedir mai yr haul a safodd; o ran, i'r golwg corfforol, y byd goleuboeth hwnw a safodd uwch ben Gibeon. Doethineb Duw a barai i'w weision ysgrifenu yn y ddull ddealladwy i bobl yr oes. Pe dywedasai Iosua i'r ddaiar sefyll, ni buasai neb, hyd yn ddiweddar iawn, yn ei ddeall; ac ni chawsai yr hanes dderbyniad heb gyfryngdod gwyrthiol i gyfnewid barn dderbyniol trigolion y byd. Yn yr un modd y dylem amgyffred *Salm* civ. 5, lle y darllenwn—"Yr Arglwydd a seiliodd y ddaiar ar ei sylfeini, fel na symmudo byth yn dragywydd." Pe deallid y geiriau hyn yn llythyrenol, nyni a ddaliem fod y ddaiar yn sefydlog, ac yn dragywyddol o barhâd; ond byddai hyny yn wrthwynebol i Ysgrythyrau eglur a phendant ereill. *Salm* cii. 26: "Y ddaiar a'r nefoedd a ddarfyddant." 2 *Pedr*, iii. 10: "Y ddaiar a'r gwaith fyddo ynddi a losgir." Ond esboniad yr adnod uchod ydyw, bod y ddaiar wedi ei gosod yn y cyfryw fodd ag a etyb y dyben, ac y pery dros yr ysbaid rhagordeiniedig iddi barhau.

I ddiweddu, dalier sylw, mai arfaeth trugaredd yn rhoddi i ni yr Ysgrythyr Lân oedd, nid i'n cyfarwyddo mewn anianyddiaeth, nac unrhyw wybodaeth bydol arall, ond i fod "yn fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder; i'n gwneuthur yn ddoeth i iechydwriaeth." Dychwelwn bellach at y Cywydd.

Tudalen 71. Rhoddir hanes pruddaidd o ansawdd y ddaiar wedi cael ei hanrheithio o'i holl brydferthwch. —Trwy ffydd agorodd Noa ffenestr yr Arch, ac iddo—

"Golwg yn llawn gwg a gaid—
Tra thew y nofiodd tarth hyll
A duoer drwy 'r wybr dywyll;
Hyll nifwl drwy 'r holl nefoedd,
Terfysgawg, bygythiawg oedd;
Haul agwrdd ar lewygu
Yn dystaw deithiaw mewn du:
Y lloer dyner a'r ser sydd
Lu gwelwon fal eu gilydd.

* * * *

Un wyneb trwy 'r ddu nennawr
I ddydd a nos oedd yn awr."

Yna y canlyn hanes y gigfran a'r golomen—Newidiad gwedd y greadigaeth—Noa y pryd hyn—

Tudalen 74—

"A welodd y Nef wiwlon,
A'r haul yn uchelder hon;
Gwenu 'r oedd y nef geinwawr
Yn ei phrydferth nerth yn awr;
Daear anwyl dirionwych
O'i gwmpas yn werddlas wych:
Blwyddyn *newydd* ddedwydd dda,
A *newydd* fyd i Nöa."
* * * *

Tudalen 75:—

"Hyfryd ar ol culfyd caeth
Fu 'r heulawg Nef fawr helaeth:
Lonned oedd ael y wiwnef!
Mor hyfryd wynebpryd Nef!
* * * *
Nen y wybren ysplennydd
Oedd lanach, deccach bob dydd."

O'r tudalen 74 hyd 82, nid yw yr awdwr, debygem, mor ofalus ag arferol i ddilyn y drefn ysgrythyrol yn amseriad y dichweiniau a ddygwyddasant rhwng daiariad yr Arch ar un o fynyddoedd Ararat ac ymddangosiad yr Enfys megys Bwa cyfammod yn y cwmwl. Trefn y damweiniau hyn yn ol y Cywydd sydd fel y canlyn:—

Tudalen 74. Noa a'i deulu yn sefyll ar gauad yr arch, ac yn moli yr Ion am ymadawiad y dyfroedd.

Tudalen 76. Y maent yn gweled *Enfys* ar gwmwl yn y gorllewin, drwy dywyniad yr haul o'r dwyrain.

Tudalen 77. Duw yn galw Noa o'r Arch; yn rhoddi iddo addewid na ddyfethai y byd mwyach trwy ddiluw.

Tudalen 78:—

"Ior sywdeg a roes *wed'yn*
Eurdda hardd arwydd o hyn;
Arwydd gwiw lwydd i bob gwlad
Yw 'r *Enfys*, gylch eirianfad."

—Gorchymmyn i Noa ollwng y creaduriaid allan o'r Arch.

Tudalen 82. Noa yn cyfodi allor i'r Arglwydd ar fynydd yn Ararat—"Tes cànaid y Shecinah" yn ymddangos iddo megys arwydd o dderbyniad ei aberth.

Trefn olynol y damweiniau uchod, yn ol yr 8fed a'r 9fed o Genesis, ydyw—1. Noa, a'i deulu, a'r holl greaduriaid, yn dyfod allan o'r Arch; 2. Noa yn adeiladu allor; 3. Duw yn cadarnhau ei gyfammod ag ef, ac â phob creadur byw, na thorai hwynt ymaith mwyach trwy ddwfr diluw—"*Fy mwa a roddais yn y cwmwl.*"

Pa beth a annogodd y bardd i ddangos yr *Enfys* i Noa cyn iddo ddyfod i waered o'r Arch, nis gwyddom. Nid allwn feddwl iddo wneyd hyn i amlygu ei dyb fod enfys yn weledig cyn y diluw, o herwydd ei fod yn dweyd (tudalen 76) ei bod yn "rhyfeddod" i Noa ac i'w deulu. Yr ydym o'r farn nad yw y daliad fod yr enfys yn ymddangos cyn y diluw yn gwanhau dim ar ei theilyngdod i fod yn arwydd o gadarnhâd y cyfammod ar du Duw. *Gair* Duw y Gwirionedd ydyw sicrhâd y cyfammod. Gallasai ddywedyd wrth Noa, "Fy *haul* hwn a osodaf yn arwydd," &c.; ac arwydd digonol a fuasai i'r holl gredinwyr byth: ond arwydd mwy cymhwys i'r dyben ni ddichon fod na'r faniar dangnefeddol yn osodedig rhwng epil Noa a chynllun y diluw yn y cwmwl du. Os oedd gwlaw cyn y diluw, a hwnw yn disgyn rhwng yr haul dysgleiriol a chwmwl tywyll, yn ol y ddeddf a osododd Duw i anian, nid oedd fodd nad ymddangosai enfys rhwng y golygydd a'r cwmwl. Mae y ddeddf hon yn gyffredinol i belydrau goleuni. Ymddengys enfys leuadol yn achlysurol liw nos. Pelydrau yr haul a ddangosant seithliw enfys drwy wydryn triongl (*prism*). Ymddengys enfys weithiau ar bistyll Melltau ym Mrycheiniog, pan dywyno yr haul ar yr awyr wlithog sydd yn ei amgylchu; neu ar unrhyw raiadr arall a fyddo yn gwynebu yr heulwen ddysglaer, a phob amgylchiadau ereill yn cydweddu.

Yma y terfynwn ein dyfyniadau o'r Cywydd gorchestawl hwn; a'n barn ydyw, na ddichon i undyn, oni bydd anghred, ei ddarllen yn ystyriol heb gael yn ei enaid deimladau pwysig—o ofn, o barch, ac o gariad at yr "Arglwydd Dduw mawr ac ofnadwy, Ceidwad cyfammod a thrugaredd i'r rhai a'i carant, ac i'r rhai a gadwant ei orchymmynion."

Ein parch i awdwr Cywydd y Drindod, a Chywydd y Mil Blynyddoedd, a barodd i ni fod mor faith yn ein hadolygiad o'r Cywydd diweddaf hwn o waith yr un awdwr; a dywenydd genym weled fod henaint yn menu can lleied ar gryfder ei feddyliau. Ond yma, cyn ymadael, rhodded genad i ni ofyn iddo un neu ddau o holiadau.

1. Pa ham y mae yn terfynu sylweddeiriau lluosawgrif yn *iawn* yn lle yr hen ddull sefydledig gan yr holl ysgrifenyddion goreu yn *ion;* megys, "dyn*iawn*, lloerig*iawn*," yn lle dyn*ion*, lloerig*ion?* Mae odlau cyfain o waith y goreuon feirdd er ys 400 mlynedd yn ol, hyd Oronwy Owain, yn prifodli trwyddynt yn *ion* neu *on:* ac y mae ein hawdwr presennol yn diweddu weithiau yn *on* pryd na byddo ei odliad yn gofyn *awn*, megys (tudalen 55), "Waelod*ion* anweledig."

2. Pa ham y gosodir cromfach (') mewn banau wythsill, megys rhybudd i ddarllenwyr y dylent gyfrif *wyth* yn *saith?*

| | | |
|---|---|---|
| Tudalen | 38. | Wedi' iddo rybuddio 'r byd. |
| " | 43. | I'w gu aberthu' i'r Duw byw. |
| " | 48. | Ae'n llonwâr i'w lle' eu hunain. |
| " | 50. | Gwae' ynfydion gan ofidiau. |
| " | 64. | Fyrddiynau' i'r dyfnderau dig. |
| " | 74. | Aeth allan wrth ei' ewyllys. |

Yn yr ail argraffiad gadawer allan y cromfachau gormesawl hyn; canys ni ddichon i ddarllenwyr Cywydd y Diluw dreulio eu hamser mor ddifudd a myned i gyfrif sillau, mal plant mewn egwyddordy. Ni buasem ni byth yn eu cyfrif, oni buasai i'r crom-

fachau hyn ein hudo oddi ar ein dyledswydd. Esmwyth y llithra y llafariaid o bob tu y gromfach i sain unsill; a difai y dylai fod, heb grogi arwydd megys i'w gwahanu yn lle eu cyssylltu.[1]

[1] [Y mae un o'r grealon Cymreig yn ddiweddar, ar ol cymmeryd benthyg yr adolygiad blaenorol yn ei grynswth, yn traethu ei lên arno ac ar ei awdur yn y wedd ganlynol:—"Yr ydym yn ystyried y feirniadaeth flaenorol yn un o brif orchestion Gwallter Mechain, er ei fod, y pryd yr ysgrifenodd hi, wedi heneiddio cryn lawer. Nid oes dim modd i neb ei darllen heb weled ar unwaith mor graff oedd ein bardd, gyda golwg ar yr hyn y dylai barddoniaeth fod; ac mor chwareugar y mae efe yn cario argyhoeddiad i'r meddwl; ac eto, y mae efe yn ei argraffu am byth ar gof y darllenydd. Onid oes ystwythder neillduol ynddo yn adrodd ei olygiadau? Y mae yn taflu ei syniadau i feddwl y darllenydd ar unwaith, a hyny gyda'r fath newydd-deb dull, fel nad oes fodd peidio derbyn y cwbl. Yr oeddym yn eithaf cydnabyddus â'r holl eiriau a arferir ganddo; eto, nid ydym yn cofio i ni eu gweled yn cael eu harfer yn y dull hyffraeth yma erioed. Os oedd ein bardd yn llefaru â'i dafod mor glir, nid oedd ryfedd os oedd ei eglwys yn llawn o wrandawyr. Y mae efe yn ymddangos fel dolen gydiol rhwng yr oes o'r blaen a'r oes bresennol, o ran ei arddull. Y mae yn gallu defnyddiaw Cymreigeiddiwch yr hen bobl heb arfer eu clogyrneiddiwch. Y mae ei iaith yn gywir heb fursendod; yn blethedig heb ymgais; ac yn farddonol heb chwydd annaturiol. Y mae yn rhedeg yn llithrig ac yn glir fel afon ar hyd y ddôl feillionog. Ni flinem byth ar ei swyn. Ymddengys pob peth a ysgrifenodd yn rhy fyr o'r hanner. Byddwn yn troi oddi wrth bob peth a gyfansoddodd mewn rhyddiaith, yn ei ddyddiau diweddaf, fel rhai newynog heb yn agos gael eu digoni. Pan fydd yr achos fydd ganddo mewn llaw yn gofyn cryfder, y mae ei iaith yntau yn gref ac yn eglur, megys y dengys ei feirniadaeth ar Gywydd y Diluw. Y mae yn anhawdd gwybod pa un ai'r bardd ai'r beirniad yw y mwyaf nerthol a barddonol yn y Cywydd a'r feirniadaeth hon."

# RHAGYMADRODDION.

## Y GYFROL GYNTAF O'R POWYSION.[1]

### AT Y CYMRY.

DYMUNIAD llawer o goleddwyr a hoffwyr barddoniaeth Gymreig a ymgynnullasant i'r Eisteddfod ym Mhowys, oedd gweled yn gyhoeddawl gyfansoddiadau yr ymdrechwyr awenyddawl ar y tri phrif destynau; sef, 1. "Marwolaeth Sior III." 2. "Hiraeth Cymro am ei Wlad." 3. "Pa beth yw Awen?" Wele, yn awr, y dymuniad hwnw yn cael ei gwblhau, a hyny trwy gydsyniad Awduron yr Odlau; a thybiwyd na byddai yn wrthwynebawl i ewyllys y blaid luosawg o Ynglynyddion weled eu cyfansoddiadau hwyntau yn gyhoeddedig, er bod gormod o rwystr ar y ffordd i ofyn i gynnifer yn bersonawl am genad i wneuthur felly.

Gosodwyd y ddwy Awdl a farnwyd yn haeddawl o'r gwobrau yn ddiweddaf yn eu sefyllfaoedd perthynawl; a'r lleill a gyflewyd heb ragofal, fel y dygwyddasant i law y cyssodydd, heb ddim golygiad at flaenoriaeth, fel pe rhoddasid yr Awdwyr i eistedd yn gydraddol o gylch bwrdd crwn Arthur Gawr.

Mae y cyhoeddiad hwn yn cynnwys Pedair Awdl ar "Farwolaeth Sior III;" Pum Awdl ar "Hiraeth Cymro am ei Wlad;" a dim llai na Thrigain a Chwech o Ynglynion ar y testyn, "Pa beth yw Awen?"

Pe buasai achos am dystiolaeth yn rhagor ym mhlaid enw per ac ymfucheddiad moesawl a chariadus ein diweddar radlonaf Frenin, gellid ei gael yn hyn, sef, bod yn y cyhoeddiad hwn Awdl o gofiant serchog a thirionaidd am ei rinweddau ef, gan fardd na ymddangosodd erioed o'r blaen ym mhlith rhedegwyr am

[1] [Powysion; sef, Odlau ac Ynglynion a ddanfonwyd i Eisteddfod Gwrecsam, Medi 13, 1820. Dinbych: 1821.]

"goron lygredig;" ac un, a dybygid, na halogai ei Awen i wenieithio i un brenin daiarawl, er dim gwobr a ellid ei osod o'i flaen. Ni welwyd ei waith barddonawl ef un amser, ond a weinyddai i adeiladaeth buddiawl ei ddarllenyddion. Cyn dyddiau yr Eisteddfod, symmudwyd ef,[1] gobeithiwn ar sail, i orsedd uwch na Chadair Powys, nac un orsedd ddaiarawl arall. Ei weddw ef a roddes genad yn dirion i argraffu yr Awdl sydd dan yr enw "Ab Iorwerth."

Clybuwyd achwyniaeth o ryw gwr fod yr Awdl lwyddawl ar Hiraeth "yn *rhy hir.*" Yr ateb goreu i hyn ydyw, mai *hir* yw hiraeth. Sylwyd hefyd fod yr Awdwr megys wedi ymddyrysu yn ei hiraeth, gan ddychwelyd eilwaith a thrachefn at ei gwynfanau a'i ocheneidiau. Os bai oedd hyn, y bai hwnw a fu gynnorthwyawl iddo ennill; canys nid clefyd meddwl i ymadael ag ef yn ebrwydd yw *hiraeth;* y mae yn myned ac yn dychwelyd ym moreu, yn nawn, yn ucher, yn newaint; yn ol yr hen bennill—

"Hiraeth mawr, a hiraeth creulon,
Hiraeth sydd ar dori 'nghalon;
Pan fwy'n cysgu yn fy ngwely,
Fe ddaw hiraeth ac a'm deffry."

Gwelir bod y beirdd agos oll yn unfarn yng nghylch tarddiad *Awen;* mai "*Aw*, sy'n dylifaw fel afon o nef," ydyw.

Byddai hyn yn wirionedd diddadl pe dywedid am Awen Esai, mab Amos, a'r cyffelyb. O'r tu arall, mae un yn dwyn achau y ddawn allan o ffrwyth y pren gwybodaeth yn Eden; a'r canlyniad ydyw, mai yr hen Sarff oedd bydwraig Awen. Ond nid oes gan Ddiafol un Awen yn ei feddiant i ei rhoddi; namyn

[1] [Y mae awdwr yr ymadrodd hwn (sef y Parch. Walter Davies) yn talu diduedd ddyledus barch i'r diweddar Barchedig Thomas Jones, o Ddinbych; yr hwn, ac efe ei hun yn gwybod fod ei oriau diweddaf yn nesäu, a phob amser yn parchu llywodraeth ei wlad, a ysgrifenodd ar Farwolaeth ei Fawrhydi: er yn llesg o gorffolaeth, eto yn talu y deyrnged olaf o'i Awen i'r testyn anrhydeddus hwn, pan yr oedd ar fin gwynebu yr un afon â'i frenin.—*Golygwr y Powysion.*]

gweithio ym mhlant anufudd-dod i gamarfer y ddawn oedd ganddynt eisoes. "Pob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, oddi uchod y mae, yn disgyn oddi wrth Dad y goleuni." Y gweision oll a gawsant dalentau, rhai fwy a rhai lai, gan eu Harglwydd; a rhai a'u marchnatasant yn gall, ac ereill yn anghall; ond er hyny, o'r un drysorfa y cafwyd hwynt oll ar y cyntaf. Rhoddodd Duw ddawn prophwydoliaeth i Ionah i fyned i Ninifeh; yntau a gymmerodd long, ac a aeth i waered i Tarsis, oddi ger bron yr Arglwydd. Cyffelyb i hyn yn ei ymddygiad yw pob bardd a wario dalent y Rhoddwr yng ngwasanaeth ei elyn ddyn.

Yn y llinellau canlynawl, dywawd yr Awdwr fod *deuryw* Awen:—

"*Dwy* ryw Awen, dioer, ewybr,
Y sy'n y byd loew-bryd lwybr;
*Awen gan Grist*, ddidrist ddadl,
O iawn dro, Awen drwyadl:
*Awen arall*, nid call cant,
Ar gelwydd fudr argoeliant,
Yr hon a gafas gwŷr *Hu*,
Camrwysg prydyddion Cymru."

Doctor SION CENT, 1450.

Yr Archddiacon Prys a ddywawd,—

"Dau ryw Ysbryd a yrawdd
Duw o Nef, da yw ei nawdd;" &c.

Barned y darllenydd. Dylid cyfaddef fod rhai Ynglynion yn y casgliad hwn, yn nhyb y Beirniaid, yn rhagori, yn narluniad elfyddau Awen, ar yr Ynglyn a gafodd y wobr. Os gofynir, Pa fodd felly? yr ateb ydyw, y dylasent, yr ymdrechwyr, ofalu am ymddwyn yn ol telerau cyhoeddedig y Gymdeithas; ond yn lle hyny, derbyniwyd rhyw rifedi o'r cyfansoddiadau wedi i'r dydd penodedig fyned heibio, ïe, ar y dydd cyntaf, a'r ail, o'r Eisteddfod. Nid rheolaidd na gwylaidd chwaith y bernir rhai, yn lle ymgelu, yn cymmeryd cryn drafferth i wneyd eu hunain yn hysbys—pwy ydynt: byddai yn ddigon buan iddynt ymddangos gwedi ennill y dorch.

Gan na anwyd eto y dyn a foddiai bawb, nid ydyw y Beirniaid, y chwyl hon mwy nag ereill, yn dysgwyl dianc yn ddigerydd, heb i'r *Hunan* fawr achwyn ei bod yn cael cam. Yn hyn, ni ddadleua y Beirniaid â neb. Pe caniatëid i bob cethlydd fod yn feirniad ar ei waith anwyl ei hun, pa ddewin allai ddyfalu yr amser y byddai terfyn ar ddadleuon—dadleuon na byddent foddgar i neb, ond i dad yr ymryson ac i'w sil? Gofidus genym feddwl fod cenedl y Cymry yn fwy hynod am y rhywogaeth yma o *hunan* nag un genedl arall dan haul.

Heb iawn-bwyll—i fyn'd benben—ar ogwydd
Rhyw egwan Genfigen;—
A llwydd Duw, lluddied Awen,
A doniau beirdd—dyna ben!

*Mai* 1, 1821.

---

## YR AIL GYFROL O'R POWYSION.[1]

WELA eto gnwd toreithiog oddi ar feusydd ffrwythlawn yr Awen Gymreig; a dysgwyliwn iddo gael derbyniad croesawus gan ein cydwladyddion athrylithfawr. Nid oes yr un cyfansoddiad a anfonwyd i'r Eisteddfod nad yw yma yn gyhoeddedig i'r byd; a bydd i'r byd farnu pa un a gafodd Cyfiawnder ddal y clorian ai peidio. Na feithrined neb y tyb fod unrhyw bwys i'w roddi ar drefn gosodiad y cyfansoddiadau, oddi eithr bod yn *olaf* yr hwn a farnwyd yn oreu ar bob testyn. Chwanegwyd at gyfansoddiadau priodol Eisteddfod Powys, yr Englynion a anfonwyd ar ddau destyn a gyhoeddwyd yn yr Eisteddfod ddiweddar yng Nghaer

[1] [Powysion: sef, Awdlau, Cywyddau, ac Ynglynion, a ddanfonwyd i Eisteddfod Trallwng, Medi, 1824. Llyfr II. Bala: 1826.]

Fyrddin; sef, "Gwarth y Cymro a fo yn gywilydd ganddo arddel iaith ei wlad;" a "Beddargraff Dic Sion Dafydd." Meddyliwn y bydd i'r Dyrïau ar "Swyngyfaredd ac Ofergoelion" fod o fwy gwasanaeth i oleuo tywyllwch yr anwybodus, na phe cyhoeddasid cynnifer o'r pregethau goreu a allesid eu hysgrifenu ar y testyn. Buasai ddymunol i'r beirdd watwor *ffolineb* dyn yn llymach; canys cawsai hyny fwy effaith ar feddyliau llawer math o bobl, na'u cyhuddo o fod yn ddeiliaid Satan, ac yn bechaduriaid yn erbyn deddf yr Arglwydd. Y mae yn ddyfnach briw i falchder hunanol dyn gael dynoethi ei *ynfydrwydd*, na phe dywedid iddo ei fod wedi trosedduy deg gorchymmyn.

Yma terfynasem ein Rhagdraith, oni bai fod genym ewyllys i sylwi ychydig ar a ddywedwyd gan rai o'r cyfansoddwyr mwyaf cyfrifol. Un a ddywedai:— "Galwodd y Gymdeithas am Awdl ar un o'r testynau mwyaf pwysfawr a'r a ysgrifenwyd erioed arno (sef 'Dinystr Ierusalem'), ond gwell a fuasai genyf Gywydd; o herwydd gallesid gwneyd llawer mwy o'r testyn, yn ol rheolau Barddoniaeth, mewn Cywydd nag mewn Awdl. Y cyfan a ddylai fod mewn Awdl yw, cyfeiriaw at brif bethau nodedig, ac nid eu penodi megys hanesydd. Mewn Cywydd gellir ymarfer ag enwau a gweithredoedd penodawl mal mewn Barddoniaeth arwraidd mewn ieithoedd ereill. Myfi a aml syniais ar y camgymmeriad yng nghylch y gwahaniaeth hwn ym mysg llawer o Feirdd Cymru."

Rhydd i bawb ei farn, tra na chymheller ereill i gydsynied. Yr ydym ni o'r un farn â'r sawl a gyhuddir uchod o gamgymmeriad; sef, bod acan Cywydd yn rhy debyg i gerdd y gog; tra byddo Awdl, fel yr eos, yn mynych amrywio ei pheroriaethau. Banau seithsill, neu y Gyhydedd Lefn, yn gwbl yw Cywydd, a mesur melus a seinber ydyw ar destynau byrion D. ab Gwilym, neu y cyffelyb; ond ar destynau helaeth a dyrchafedig, y pryd y byddo yn ofynol ddarlunio yr holl amrywiol nwydau a lonont neu a bruddhaont, a larieiddont neu a gyffroant dymmerau mynwes dyn, dylid

eu hadrodd bob un ar y mesur a efelycho y nwyd oreu, a mwyaf naturiol, os dysgwylir i'r darluniadau hyny fenu ar deimladau y gwrandawyr.

Yn lle ymorphwys ar ein cymhwylliadau ein hunain, edrychwn pa beth oedd barn yr hen awduron dysgedig a ddosbarthasant *Gyfrinach y Beirdd*, o gylch deugant o flwyddau yn ol. Yn eu cymhwylliadau ar Nodau *Angen*, *Braint*, a *Nerth* Mesurau, dywedir fel hyn:—

1. Ar y Gyhydedd Wastad—wythsill. "Colofn rywiawg yw hon, ac addas iawn mewn Cerddi Serch, a Galar."

2. Ar y Gyhydedd Draws—naw-sill. "Ym marn rhai, hon yw y Golofn oreu oll ar Gerdd Alar, o herwydd *arafwch* ei chaniadaeth."

3. Ar y Gyhydedd Wen—ddeg-sill. "Aml arfer sydd ar hon mewn Cerddi Galar a Gwrhydri."

4. Ar y Gyhydedd Hir—ddeuddeg-sill. "Colofn ragorwych yw hon a'r Laes (11 sill) er *cynnal eglurdeb synwyr*, ac er adrawdd yn loew-iaith bethau *hanesiawl* ac athrawiaethawl. . . . . Er dadgan pethau mawrfryd uchelbwyll, y ddwy Golofn hwyaf yw y goreuon o'r holl Golofnau."

5. Ar y Golofn Adlaw—Traethodyn. "Gwneir hwn ar un a fyner o'r pum Cyhydedd hwyaf, sef o wyth i ddeuddeg sill y ban, a'r cyplau yn Frithawdl fal Cywydd: a nod angen y mesur yw brithodliad. Lle saif prif ragoriaeth Cerdd mewn rhwydd eglur adroddiad ar ddamweiniau, ac ymbwylliadau, a synwyr, ac athrawiaeth, gyda phurdeb ymadroddion, goreu o'r holl fesurau yw Traethodyn: a chyd na bo y ganiadaeth mor gynnil ag ar ereill fesurau, hi a ddichon fod mor lafarber a'r rhan fwyaf o honynt."

Pa beth a ddywedir bellach o blaid Cerdd Arwraidd seith-sill? Ar ba Golofnau Cerdd y cyfansoddwyd yr *Iliad* a'r *Eneid?*

Dywedai arall:—"Nis geill yr ysgrifenydd lai na gofidio bod testyn mor drylawn o ddelweddau gorwiw a mawreddawg ag yw 'Dinystr Ierusalem' wedi cael ei gyfyngu dan lyffetheiriau unrhyw o'r mesurau sydd

mewn arfer cyffredin gan brydyddion yr oes. Ond i wneyd, hyd y gallai, y goreu o'r gwaethaf, ni chanodd ond ar y cyfryw o'r 24 mesurau ag a dybiai efe yn fwyaf cyfaddas i'r defnydd; ac â rheolau pa rai y mae yn hyderu iddo gydymffurfio yn fanwl; er nad yw yn cyfrif cywrain glorianiad llythyrenau ond rhan fechan, os dim, o Farddoniaeth gynnwynawl."

Wrth roddi allan y sylfon, "*Awdl* ar Ddinystr Ierusalem," nid oedd ym mryd y sawl a'i traddododd gyfyngu neb at y naill fesur mwy nag arall, am y byddai y gerdd yn dwyn nodau Awdl; hyny yw, amryfael-ryw ganiadaeth. Nid oeddynt yn dymuno nac yn dysgwyl i neb fod mor ffol a chanu ar y pedwar mesur ar hugain, nac ychwaith ar y rhai caethaf a mwyaf diansawdd o honynt. Yr oedd hyn yn gymmaint "rhyddid" ag a allai y mwyaf moethus o ddeiliaid Awen ddymuno. Gellir dywedyd ym mhellach, y gallesid barnu Awdl yn oreu, heb fod ynddi gymmaint ag un pennill o'r pedwar mesur ar hugain ar gyffredin arfer yn y wlad; a hyny ar awdurdod Gorsedd Dyfed yn y fl. 1819. Y mae y ddeddf hon o ollyngdod oddi dan lyffetheiriau gwag orchestion diansawdd D. ab Edmwnt wedi ei hargraffu; ond gan mai mewn llyfr Seisneg y bu hyny, tybir na byddai yn anaddas ei gosod yma, fel y byddo yn fwy cyhoeddus.

"HYSBYSIAD.

"Ar ddyddiau Merchur, Iou, a Gwener, sef y seithfed, wythfed, a nawed o Orphenaf, pan oedd oed Crist un mil, wyth gant, a phedair ar bymtheg, y cynneiliwyd Eisteddfod ar wŷr wrth gerdd Dafawd a Thant, o fewn cyfoeth tref Caer Fyrddin, yn nhalaeth Dyfed, dan osteg a rhybudd cyfreithlon, a than nawdd gwlad a y Gwir Barchedig Tomas, Arglwydd Esgob Ty Ddewi, er dwyn o yr encudd a'r diflant eilwaith Farddoniaeth gyssefin a Gwybodau Cymruaidd ereill; a rhoddi trwydded i bawb a geisient addysg, a nawdd, a gradd, a thrwyddedogaeth, ym mraint Beirdd Ynys Prydain:

ac yno yn erwynebawl Iolo Morganwg, Eliezer Wiliams, Daniel Ddu o Geredigion, Dewi Silin, Rhobert Nantglyn, Hywel Glandyfroedd, Gwilym Morganwg, ac ereill gyda hwynt, yn Feirdd wrth Fraint a Defawd Beirdd Ynys Prydain.

"Ac yn yr Eisteddfod hon, ym mhlith pethau ereill a ddarweiniwyd dan ystyriaeth, y barnwyd yn unfryd unllais, heb nag na gwrtheb na llaw na thafawd, bod y Rheithiadau Cerdd a freiniwyd yn Eisteddfod Caer Fyrddin, yn y fl. 1451, dan enw y pedwar mesur ar hugain, yn cyfyngu Awen y Bardd o fewn llyffetheiriau rhy gaethion; a bod, yn rhy fynych o yr achaws, synwyr a rhwyddineb iaith yn cael eu hoffrwm ar allawr gwag-orchest egwanbwyll a diansawdd. Herwydd hyn, barn yr Eisteddfod hon ydyw, bod o hyn allan ryddid i Feirdd Ynys Prydain gyfansoddi Caniadau ar y mesurau mwyaf teilwng a chyfaddas idd eu testynau; ac na byddo rhag llaw wahaniaeth o barth teilyngdawd i ei roddi i fesurau yr un Ddosbarth, na'r hen na'r newydd, ragor neu uwch na eu gilydd; ond bod urddiant Cerdd neu 'Awdl' uwch ereill i gael ei farnu wrth gymhwylliadau synwyr a phwyll, a chynghanedd rywiawg a diledryw, yn hytrach nag wrth amrywiaeth mesurau.

"CALON WRTH GALON."

Gan fod y Ddosbarth gyssefin ar Gerdd Dafawd, a elwir yn gyffredin "Cyfrinach Beirdd Ynys Prydain," yn anadnabyddus i nifer o goleddwyr Barddoniaeth, gosodir yma ychydig o'i harbenigrwydd; a hyny cymmaint ag a ellir yn ei hiaith ei hun, gan ragored ydyw. Ond yn gyntaf, cwynwn y golled i'r byd barddonol, fod y trysor hwn heb ei gyhoeddi, er ei fod wedi ei argraffu er ys dwy flynedd; a gresynwn na arfaethid rhyw foddion i ollwng y carcharor allan o'i Wasg *Ferthyrol.*[1]

[1] [Hyny yw, perthynol i *Ferthyr Tydfil:* yno yr argraffwyd y gwaith, ond yn Abertawy yn 1829 y cyhoeddwyd ef.]

"Cerdd Dafawd a lunir o Golofnau a Gogolofnau, sef y *naw* Gorchan, a'r *pymtheg* adlawiaid fesurau. Y naw Gorchan yw naw amrywiaeth yn hyd Ban, neu rif sillau, o Orchan y Gyhydedd Fer bedeir-sill, hyd Orchan y Gyhydedd Hir o 12 sill. Ar y rhai hyn y canai y Cynfeirdd gan mwyaf. Yn Nosbarth a Rheithiadur Cerdd *Geraint Fardd Glas*, ni chynnwysir eithr *deg* o brif ansoddau, sef y *naw* Gorchan ac *un* pennill adlaw cyfrodeddig o rai o'r Gorchanau, yn anghyfunhyd; ac i'r pennill adlaw hwn rhoddwyd yr enw Cynghawg. Eithr mewn amser, o lwyr a chynnil ymbwyll ac ystyriaeth, y cafwyd ar ddeall *bymtheg* modd ac ansawdd neillduol ar gymhlethu y Colofnau, a rhithaw a gosod Banau ac Odlau; a bod neillduawl ansawdd o *lwyr angen* ar bob un o'r moddion hyn. Felly, rhwng y *naw* Gorchan a'r *pymtheg* Colofn Adlaw y mae 24 o fesurau ar Gerdd Gymraeg, herwydd colofn, a mesur, a mydryddiaeth: ac o wir awenbwyll y deallir fwy o'r pethau hyn nag a ddywespwyd yma.

. . . . . "A llyma nodau, a neillduolder, a hunanaeth pob mesur—Ansawdd *Angen*, ac Ansawdd *Nerth*, ac Ansawdd *Braint*, er iawn sylwedd ar y mesurau; fel y gweler y modd y mae un mesur yn amgenu ar fesur arall, ac ym mha beth y saif neillduolder, a hanfod, a rhyw, ar y Colofnau Cerdd.

. . . . . "Pymtheg pennill adlaw sydd, a gweision dyled ydynt i'r Gorchanau. Llawer iawn o ddulliau a moddau y sydd ar y rhan fwyaf o'r Adlawiaid; herwydd *hyd* a *gosodiad* y pennill; ac ni ddylid Dosbarth a Rheithiad ar y pennillion o'r mesurau, yn amgen na *barn*, a *sylwedd*, a *darwel* Bardd awenbwyll ystyrbell, wrth ddeall ac Awen graff athrylith. Nid oes fesur o'r byd ar Gerdd Gymraeg ond a dreiglir o'r rhai hyn, *er eithaf gallu dychymmyg;* ac wrth hyny eu treiglir o gyfiawn ryw ac ansawdd. Ac ef a'i ceir y Ddosbarth yma yn gyfiawn-ryw, herwydd yr hen Feirdd a'r Dysgedigion Awduron gynt, a herwydd hanfod, a natur, a phwyll."

Yn ol y Ddosbarth gyssefin, y mae i bob mesur *nod*

*angen*—nod nad yw yn perthyn i un mesur arall. Y mae hefyd *fraint* y mesur, sef *rhyddid* i'r Bardd i amrywio ei fesurau fel y myno, mwy neu lai o fanau yn y pennill, mwy neu lai o sillau yn y ban, a hyn oll tra cadwer *nod angen* y mesur heb ei allrywio.

Sylwer ychydig ar wahanol berthynasau y ddwy Ddosbarth, fel y gweler yn eglurach *Ryddid* un, a *Chaethiwed* y llall. Yr oedd swrn nifer o'r hen fesurau wedi myned ar goll a diflant pan gynneiliwyd Eisteddfod fawr Caer Fyrddin yn y fl. 1451. Gruffydd ab Nicolas, o serch at ei wlad a'i Barddoniaeth, a archodd i'r Beirdd presennol gyflawnu y diffygiadau, os gallent o'r hen fesurau, neu o ball hyny ddychymmygu rhai newyddion; a hyn holl i'w wneyd yng nghorff *naw* diwrnod yr Eisteddfod. Pe rhoddasai yr ardderchocaf Ruffydd *un dydd a blwyddyn* o amser, yn ol yr hen arfer, gallasai y beirdd deallus o fewn y pedair talaeth lunio dosbarth deilwng i'w derbyn, parth prif ansawdd angen a braint yr amrywiol Golofnau Cerdd; ac ni buasai achaws i brydyddion yr oesau canlynol, o hyny hyd heddyw, ymlusgo drwy y *purdan dibwyll* o boeni eu hymenydd i lunio Gorchest y Beirdd, Tawddgyrch Cadwynog, Cyhydedd Hir, a'r cyffelyb. Ond o herwydd *brys* y Llywydd, D. ab Edmwnt a gyfansoddodd 24 o fesurau, rhai hen, rhai newydd, ac ereill yn gymmysgryw, a gwobrwyd ef â'r Gadair. Ni fynai Llawdden y camrwysg o ddiarddelu yr hen *Driban Milwr* er mwyn gosod yn ei le *Orchest* D. ab Edmwnt, yr hwn fesur a alwai Llawdden, o ddiystyrwch arno, yn "Dôn Deuair;" a chan na lwyddodd yn ei ymgais, efe a ganodd, meddant, yr ynglyn canlynol:—

"Cam oedd ar gyhoedd roi'r gair,—yma gwn,
Am ganu *Tôn Deuair;*
A gwedi rhoddi'r *Gadair*—
Yna dwyn dwy-bunt neu dair!"[1]

[1] Gweler Llythyr yr enwog Oronwy Owain ar wahanol deilyngdod mesurau—Triban Milwr, a Gorchest y Beirdd. Gweler darn o'r llythyr hwn yn y Tracthawd ar Ddwy Ddosbarth Cerdd Dafod [*Cyf.* iii. *t.* 167; a'r cyfan o hono yn y *Gronoviana*, Llythyr 17, *t.* 234].

Nid yw tair rhan o bedair o'r 24 mesurau brys Caer Fyrddin ond naill ai rhai wedi eu benthycio, dan enwau ereill, o'r hen Ddosbarth; neu ynte rai newyddion, heb un *nod angen* gwahanol-ryw. Beirdd Gwent a Morganwg a roisant warafun, a gommedd, a gwrthfarn ym mraint Beirdd Ynys Prydain ar Ddosbarth Cerdd Caer Fyrddin; ac ni dderbyniwyd mo honi ganddynt hyd heddyw. Nid oedd gan Feirdd Gwent, &c., y pryd hyny y cyflawn rifedi o 24 o fesurau, ond fel y dywespwyd eiswys, o lwyr a chynnil ymbwyll ac ystyriaeth y cafwyd ar ddeall y *pymtheg* modd y gellir amrywio y *naw* Gorchan; ac o hyn y tyfodd y pedwar yr hugain mesurau y Ddosbarth gyssefin. Eu henwau ydynt fel y canlyn:—

1–9. Gorchanau.
10. Ban Cyrch.
11. Toddaid.
12. Triban Milwr.
13. Triban Cyrch.
14. Cywydd.
15. Traethodyn.
16. Proest Cyfnewidiawg.
17. Proest Cadwynawdl.
18. Clogyrnach.
19. Hupynt.
20. Llamgyrch neu Fforch-[awdl.
21. Cadwyn Gyrch.
22. Ynglyn.
23. Cynghawg.
24. Dyri neu Garawl.

Gwrthodwyd yng Nghaer Fyrddin bump o leiaf o'r mesurau uchod. Ym mhlith y rhai a ledradaidd fenthyciwyd dan orchudd enwau ereill, ac a adwaenir fel defaid ar gyfeiliorn, wrth eu *nod angen*, canfyddir y rhai canlynol:—

1. Y pummed Gorchan ar y Gyhydedd *Wastâd*, a enwyd *Cyhydedd Fer*. 2. Y 6ed Orchan ar y Gyhydedd *Draws*, a enwyd *Cyhydedd Nawban*. 3. Un o'r Moddau *Cynghawg*, a enwyd *Clogyrnach*. 4. Ban Cyrch, a enwyd *Awdl Gywydd*. 5—10. Cynnifer o rywiau *Cynghawg*, a enwyd *Cyrch a Chwta*, *Gwawdodyn Byr* a *Hir*, *Hir a Thoddaid*, *Tawddgyrch Cadwynog;* ac felly o un *hen* fesur gwnaed pump neu chwech *newyddion*. 11. Ynglyn, o ddau ryw; gwnaed *Unodl Grwca* o Unodl Union wedi ei droi

â'i ben chwith i fyny; a Byr a Thoddaid o ryw arall. 12. Cadwyn Gyrch, a enwyd yn *Gadwyn Fyr*. 13. Hupynt; *un* nod angen sydd i'r mesur hwn; gwnaed *dau* fesur o hono yng Nghaer Fyrddin. Ond nid ydynt ond megys dau gyw o'r un wy. Wrth yr Hen Ddosbarth gellir amrywio Hupynt i rifedi braidd anghoeliadwy o foddau. Nid yw "Gorchest y Beirdd," fel y gelwir, ond math o Hupynt llwyr wael a diorchest. Hupynt hefyd yw pennill dillynaidd ar y dôn *Leave Land*, y ffordd hwyaf.

Rhenir mesurau Caer Fyrddin yn dri theulu neu lwythau; sef, Englynion, 5; Cywyddau, 4; Awdlau, 15: y cwbl, 24. Ond nid yw hyn Ddosbarth awdurdodol. Nid yw *Awdl* yn enw un mesur hunanryw. Nid oes onid *un* Cywydd ym mhlith y 24 mesurau; nac ychwaith onid *un* Ynglyn, er bod pump neu ragor o rywiau ynglyn. Nod Angen y mesur hwn yw, bod y naill fesur *yng nglŷn* wrth fesur arall, megys Cywydd wrth Doddaid Cwta; ac o hyn y tardda ei enw *Ynglyn*. Nid yw y nod angen yma yn perthyn i fesur Proest: pa ham gan hyny y dywedir "*Englyn* Proest?" Nid yw Proest, Ynglyn, mwy nag yw llyffant Cors Fochno yn frithyll Llyn Ogwen. Braint y mesur Proest yw llunio y banau o saith i naw o sillau yn y Gyhydedd, yn ol rhyddid ewyllys y bardd awenbwyll, a rhif a fyner o fanau o bedwar i saith. Yma y canlyn Proest Cadwynawdl Teircainc, a gânt bardd gofidus mewn henaint a dellni:—

"Min-arf yw Cof i'm mynwes,
Darfu'r awch dirfawr iachus,
A lywiai gân fel Eos:
Oer a dwl wyf, wr diles,
Gwae fod fy *nydd* gofidus
Oll yn awr yn dywell *nos!*

MORGAN POWEL."

Gwelir yn y Ddosbarth hon ar Gerdd ddigon o ryddid i'r sawl ydynt yn grwgnach ac yn dadwrdd bod iau gyfyng D. ab Edmwnt yn cleisio gwar yr Awen. Gwelont gan hyny eu rhyddid, a mydront yn ol

breintiau y Ddosbarth gyssefin. Barn y rhai a'u casglodd yng nghyd oedd hyn:—

. . . . "Ar y Cyhydeddau gellir cynnal synwyr, a chrebwyll, a myfyrdawd."

. . . . "Ni ddylid ganu Cerdd Gymraeg yn ddi-awdl, mal y mae arfer rhai gwledydd ac ieithoedd."

. . . . "Ni fernir Cerdd yn rhywiawg, a chelfydd, a blasus, heb y Cynghaneddion; eithr yn yr hen amser nid oedd Cynghanedd ond o ddamwain; eithr ar lafar, ac acen, ac awdl ar briodawl Gyhydedd, y rhoddid pwys y ganiadaeth."

. . . . "Ni ddylid lleddfu gormod ar yr erddygan er cael craff ar Gynghanedd, fel y gwelir yn aml rai Cynghaneddion mor anghydbwys a lleddf, fel mai o *braidd gyffwrdd* y ceir Cynghanedd arnynt; a mwy trwsgl y banau lle byddont, na phe cenid Ban moel-awdl rhywiog."

Ni ddysgwylir bellach glywed neb yn cwyno bod eisieu esmwythäu rheolau Cynghanedd; ac na ddyweded neb yn fyrbwyll ddarfod i Huw Morus, er mor rhywiawg ei Awen, ymwrthod â Chynghanedd reolaidd yn ei gerddi o herwydd caethder y mesurau gosodedig; canys ei Ddyrïau ef ydynt gan mwyaf yn hynod o'r rheolaidd: ac nid anhawdd i'r sawl a fedrant gynghaneddu, ganu Dyri mor ddifai ag unrhyw fesur arall o'r pedwar ar hugain; fel y ceir gweled llaweroedd o enghreifftiau yng *Nghyfrinach y Beirdd* pan gyhoeddir. Pa drosedd yn erbyn y "rheolau caethion," fel y gelwir hwynt, sydd yn y pennill canlynol, a channoedd ereill o'r fath, o waith Huw Morus?

"Gwrando'r Awyddus pur hwylus, pa hyd
Yr wyt yn pwrpasa byw yma'n y byd?
Mi'th welaf yn brysur i wneuthur dy nyth,
Fel un yn bwriadu heb fethu byw fyth!" &c.

Gan erfyn yn ostyngedig nawdd darllenwyr y *Powysion*, am eu hattal cyhyd yng nghyntedd teml yr Awen, y terfynwn hyn o Ragdraith.

*Gwyl Ddewi*, 1825.

## GWAITH HUW MORUS.[1]

### Y CYHOEDDWR AT Y DARLLENYDD.

FY MRAWD GYMRO,

WELE fi yn cyflwynaw i ti Gasgliad o waith y bardd clodfawr Huw Morus. Nid oes genyf esgus yn y byd dros fy mhrysurdeb yn cymmeryd y gwaith hwn mewn llaw, namyn rhagoroldeb y caniadau; a rhyfedd genyf na chyhoeddwyd casgliad o honynt cyn yr oes ddiweddar hon, y pryd yr oedd gan y Cymry yn gyffredinawl fwy o flas ar beroriaeth lithrig nag y sydd yn awr. Rhai Carolau a Cherddi a gyhoeddwyd ym mhlith Caniadau ereill gan un Ffowc Owen yn Rhydychain, yn y fl. 1686; ac ereill gan un Tomas Jones yn y Mwythig, yn y fl. 1696. A Dewi Fardd (fel y galwai ei hun), o Drefriw, a chwanegawdd at y rhifedi yn ei lyfr a elwir *Blodeugerdd Cymru.* Nid wyf yn cofiaw yn bresennawl am nemawr ychwaneg na hyn o waith ein bardd yn gyhoeddedig. Ond ystyried hyn, fe welir fod y Casgliad hwn wedi cael ei loffa allan o lyfrau ysgrifenedig, o ba rai bûm mor llwyddiannus a chael yng nghylch ugain o honynt yng nghyd, y rhai oeddynt ar wasgar hyd y wlad o Lan Silin i Ddolgellau, Llundain, &c. Rhai o'r llyfrau mor hen ag oes yr awdwr, fe allai o'i ysgrifen ei hun; ereill yn fwy diweddar. Nid oes achos i ddywedyd, pan gyfarfyddid â'r un gerdd mewn amryw lyfrau, i'r gywiraf, ym marn y Cyhoeddwr, gael ei hethol.

Am ddoniau barddonawl yr Awdwr, nid oes ond ambell Gymro mor ddyeithrawl iddo a bod mewn angen hysbysrwydd yn ei gylch. Cyfleaf yma farn Mr. Lewis Morus am dano, mewn llythyr at Wiliam

[1] [Eos Ceiriog; sef Casgliad o Ber Ganiadau Huw Morus; yn Ddau Lyfr: o Gynnulliad a Diwygiad W. D. Gwrecsam: 1820, 1823.]

Parry, Yswain, Ysgrifenydd i Gymdeithas y Cymmrodorion yn Llundain, o gylch y fl. 1763.

"Cerdd tôn a goslef (dyrif) nid yw mor gaeth ei rheolau a Phryddest gadwynawdl; am hyny nid rhyfedd nad oedd genym yng Nghymru nemawr o'r fath rydd Gynghaneddion a dalent eu darllen, nes y darfu i'r oes ddiweddaf ddwyn i'r byd un Huw Morus, o blwyf Silin, yn swydd Ddinbych, megys seren ryfeddawl o'r dysglaer yn y ffurfafen farddonawl, a ymddangosodd eilchwyl, gwedi bod ar encudd er ys tri chant o flwyddau. Yr oedd Dafydd ab Gwilym, o gylch y fl. 1400, mewn cywyddau y fath un ag oedd Huw Morus yn 1700 mewn dyrifau; y ddau yn hynod o'r awenyddawl." Mewn llythyr arall mae yr un feirniad craff-olwg yn dywedyd:—"Huw Morus a ragorodd ar bawb ereill mewn Dyrifau (*lyrics*); ond mewn Awdlau (*heroics*) yr oedd allan o'i elfen anianawl." Nid wyf fi o'r un farn yn hyn â Mr. L. Morus: yr oedd Eos Ceiriog yn pyncio mor beraidd yn ei gywyddau ag yn ei ddyrifau. Y mae un ar bymtheg o'i gywyddau ef yn y Casgliad hwn: darllened y Cymro, a barned.

Rhaid cyfaddef fod Huw Morus yn rhy ddiofal yng nghystrawiaeth ambell air; megys,—

"Yn y drin gwnae *daranau*,
Wall drwg i ennill y *dre'*."

Yr oedd y bardd yn ddifyfyr yn ysgrifenu yn ol sain cyffredin y gair ym Mhowys—*tarâne*. Mewn man arall,—

"I dir angel y *dringai*,
Pe cae ffordd o'r *Nordd* i'r *Ne'*."

Fe wel y darllenydd na ddarfu i'r Cyhoeddwr, oddi eithr yn amryfus, ddilyn ysgrifenyddiaeth y bardd lle byddai yn feius; canys rhaid dilyn iawn gystrawiaeth, deued a ddêl o'r gynghanedd. Ond nid yw y cyfryw feiau mor fynych ag y gellid ddysgwyl; o herwydd bod llithrigrwydd Awen y bardd yn peri iddo ganu yn

hynod o'r cysson; a pha gyssonaf y byddo cerdd Gymraeg, mwyaf rheolaidd byth. Nid mynych yr ymddengys y bai a elwir "twyll cynghanedd" yn y cywyddau, o'r achos uchod. Mae un i'w weled, tudal. 73:—

"Pe bae ddeg pob erddigau."

Mae y geiriau anghyfiaith a gynnwysir yn y gwaith, megys *ffarwel*, *perl*, *aliwns*, *ysgweier*, *camrig*, *galwyn*, *dart*, *part*, *ffrins*, &c., &c., gwedi eu hargraffu mewn llythyrenau amrywiol, er mwyn dynodiant; ac fel yr ymwrthodont y beirdd ieuainc â'r fath gymmysgedd yn eu cyfansoddiadau.

Heb law y tystiolaethau cynnwysedig yn y Casgliad hwn am ragoriaeth Awen Huw Morus, sef Cywydd ei Farwnad gan Owain Gruffydd (Rhif XVI), arall gan y Parch. Edward Samuel; a'r Ynglynion gan Edward Morus, Cadwaladr Robert, Elis Cadwaladr, Robert o Ragat, &c.; gwelais amryw ereill, megys Cywydd ei Farwnad gan y Parch. Robert Wynn, yr hwn sydd yn dechreu fel y canlyn:—

"Mae niwl draw, mae gwlaw 'n y Glyn,
A barug o ddeutu Berwyn;
Tywyllwch, acthwch weithian,
Gorchudd yn awr mawr a mân;
A rhif o ddagrau yr hawg,
Yn cyrhaedd glanau Ceiriawg;
Mae hyd y wlad, yn fad fu,
Ochenaid mwy na chanu;
Ar ol *Huw*. araul ei wedd,
Oedd gynnil brif-fardd Gwynedd.
Genym, oedd dim amgenach,
'I ryngu bodd 'r angeu bach,'
Na'r bardd wiwdlws hardd odliad?" &c.

Mr. John Davies, o'r Rhiwlas, awdwr y llyfr achau a elwir *Heraldry Displayed*, a gyhoeddwyd yn y fl. 1716, a daflodd ei hatling yntau i'r drysorfa; ac er bod peth rhwd anghywreinrwydd arni, dymunaf genad i'w chyflëu yma, o ran bod y testyn yn wiwgof, er bod y gwaith yn drwsgl.

ER COFFADWRIAETH AM Y PRIF-FARDD GODIDAWG HUW MORUS.

"Bu fardd di-anhardd dawnus,—ail Myrddin,
A mawr-ddysg yr ynys;
Grawn pob dawn nid ynt ond us,
Wrth Homeraidd araith Morus.

"Hyd ddydd-brawd ei ddi-dlawd odlau—safant
Yn sylfaen caniadau;
Huw Morus am wiw eiriau,
Gariai y nod dan Gaer Ne'.

"Por eur-iaith o'r pair *Awen*—da fwriad,
A ferwodd Cyridwen;
Gwion Bach nid oedd un ben
Yn mesur llwybrau Moesen.

"Ofer beth am afiaeth ymofyn—na budd,
Tra byddo Craig Ferwyn;
Fe fydd di-sail adail yn',
Wedi darfod ei derfyn.

"Yn lle call eiriau cellweirus—tra-doeth,
Mae trydar gwynfanus;
Nid gwiw 'n unman, llan na llys,
Ymorol am aer Huw Morus.

"Yn iach gadarn farn ni fydd—mwy eilwaith
Mo eiliaw llawenydd,
Os mân briddyn Silyn sydd
Ar wyneb yr awenydd!"

J. D.

Yr arogldarth olaf a offrymwyd ar allor bedd y Bardd oedd yn y Gorphenaf diweddaf (1820), fel y canlyn:—

MYFYRDOD UWCH BEN BEDD HUW MORUS.

"Llyma gryd dybryd dibris—oer wely,
Er alaeth dros gan-mis;
Graian yw—pa fangre 'n is
I roi'r mawr-wr Huw Morris!

"Huw Morus fu er mawredd,—iawn alwad,
Yn eiliaw cynghanedd;
Diymwan, dyma'i annedd,
Gwael wyf fi—gwelaf ei fedd!

"Gresyndod ei fod mewn oer fedd—heddyw,
Wr hyddoeth yn gorwedd:
Awenwr ni ddaw i Wynedd
O ail Huw, er bythol hedd.

"Egr annedd heb ddim grawnwin—i'r hen Huw,
O ran hedd cyffredin;
Cynghanedd ni fedd i'w fin,
Na sylwedd yn Llan Silin.

"'R wyf bron wylaw hagr ddagrau—o weled
Mor wael ei gaer yntau;
Cofiaw hefyd ryw bryd brau
Mai bedd fydd f' annedd innau!
DAFYDD AB IOAN, *Llangollen.*

"Côr Silin, lle cerais sylwi,—genyf
Mae'n gynhes dy feini,
Am fod, hyd ddydd cyfodi,
Huw Morys wrth d' ystlys di.

"Ei enaid aeth i uno—côr breiniawl
Caer y Brenin Seilo;
Ei gorff sydd lle gorphwys o,
Yn y pridd yn pereiddio."
ROBERT DAVIES, *Nantglyn.*

Mae ynglyn cyntaf R. D. yn bereiddiach fyth, ond i'r darllenydd wybod fod llwch Huw Morus yn gorphwys mewn beddrawd cyfystlys â mur ddeheuawl Eglwys Silin; lle hyfryd ganddaw yn ei fywyd fod bob Sabboth, oni rwystrid ef gan ddryghin neu afiechyd. Mae yr ynglyn hefyd yn dwyn i'n cof ynglynion campus a fyfyriwyd gan T. E. o'r Nant gynt, ar fin Llyn Cwm Llwch, ym Mrycheiniawg, o barch i'r Dysgawdwr Ioan Dafydd Rhys, ar fin yr hwn y cyfansoddasai ran o'i Ramadeg, o gylch 1592.

"Och feddwl fanwl ysgrifenydd—Och!
Achwyn 'r ydwyf beunydd,
Na fuaswn ar feusydd,
Mewn da ddawn yma 'n dy ddydd.

"Swn y Llyn sy'n fy lloni—mewn Awen,
Er newyn ac oerni;
Mae 'n gynhes yma geni'
Fin y dwr er dy fwyn di!"
T. E.

Cymmaint oedd parch prydyddion yr oes i Huw Morus fel ag y byddai ddywenydd ganddynt ei grybwyll ef yn eu caniadau. Meddai un,—

"Mi a' i wely D' ab Gwilym i orwedd," &c.

Meddai arall,—

"Mi a' i Gadair Huw Morus i eistedd,
I gael Awen rywiogaidd i'm rhan."

A phryd y byddai cywydd neu ynglyn uwch law celfyddyd y prydydd i ganmawl ei brif-fardd, efe roddai iddo glod mewn pennill Triban.

"Huw yw congl faen yr iaith,
A chyff yr afiaeth hefyd,
Pawl aur y gerdd, piler y gân,
A'i freu-ddoeth lân gyf'rwyddyd."
DIENW.

Ond er maint ei glod dyledus gan bawb, megys na bu "Homer gerdd-ber gynt" heb ei Zoilus enllibaidd, felly ni bu Huw Morus yntau heb un Mathew Owain. Ym mhlith yr ynglynion (Rhan 9) gwelir ynglyn o anerch i H. M. gan Edward Morus, a phedwar i ad-anerch E. M. gan Huw Morus. Ynglyn E. M. ac un o bedwar H. M. a gyhoeddwyd yn Newyddlen Bangor[1] yn ddiweddar; yng nghyd ag ynglyn o farn Mathew Owain o Langar âr y ddeu-fardd, fel y canlyn:—

"Mae dyfais fawrgais ofergerdd—gan *Huw*
I ymhoewi mewn *gwael*-gerdd;
Caniadau pynciau pencerdd,
*Ned* a gân enaid y gerdd."
M. O.

Wrth weled hyn, nid allai y Cyhoeddwr lai nag amddiffyn ei bencerdd yn yr ynglyn canlynol, fel pe buasai y tri beirdd eto yn fyw:—

Acan fwg yw cenfigen,—a chelwydd
A chwâl fel y niwlen;
Eaws y beirdd—*Huw* sy ben,
A thawed Mathew Owen.

Ond gan gofiaw fod y barnwr a'r barnedig er ys hirfod amser yn llwch, fe ymddadebrawdd, ac a chwanegawdd yr ynglynion canlynawl uwch ben beddrawd per Ganiedydd Ceiriog, ger bron amryw o aelodau y Gymdeithas Genadawl, ym Mawrth, 1819:—

Chwi feirddion gwaelion, gwelwch—mai braenu
Mae brenin dyddanwch;
Llyna frawd llawn hyfrydwch,
Dyma 'i le—yn dom o lwch!

[1] *North Wales Gazette.*

Acan Seraph, cynhes, eirian,—carawl
Y Ceriwb serchoglan,
O gynnyrch uwch nag anian,
Huw dda ei gerdd, oedd ei gân.

Yn nhelyn Huw, Duw a ro'i dant,—â'i law
O lewyrch di-balliant;
Awen ni fu yn un fant
Ail iddi, yn ei lwyddiant.

Mae Awen fad yma 'n fudan,—tawel
Yn tewi mewn graian;
Dynoethed pob dyn weithian,
Heb roch gwg, o barch i'w gân.

Cangen olewwydden werdd,—o ceisiwch,
I'w gosod uwch gwin-gerdd;
Da iawn bwnc—diau 'n bencerdd,
Huw fu gynt—heuaf ei gerdd.

Wrth y Fynegai ganlynawl y gwelir fod y Casgliad hwn yn cynnwys—

| | |
|---|---|
| Cywyddau ... ... ... ... ... | 18 |
| Carolau a Cherddi ... ... ... | 129 |
| Ynglynion ... ... ... ... ... | 229 |
| | 376 |

Yma y canlyn Mynegai o Garolau a Cherddi a esgeuluswyd eu cyhoeddi yn bresennawl, rhag chwyddaw y llyfr i ormodedd o faint, &c.[1]

CERDDI.

1. "Y gwr ni rydd gerydd i wyneb awenydd."
2. "Blodau llwyn gwinwydd, mawr enw ym Meirionydd."
3. "Y Carw o Lyn Ceiriog, cu lanwych calonog."
4. "Gwrandëwch, y glân Gymry."
5. "Myfi a'm holl gymdeithion."
6. "Yr *Ysgweier* â'r wisg arian,
Oreu degwch, wr diogan."
7. "Rhowch osteg bawb i wrando."

[1] [Ni roddwyd i mewn yma ond yn unig y llinell gyntaf o'r Cerddi a'r Carolau anghyhoeddedig.]

8. "Y meistr grymusdeg, derbyniwch yr anrheg."
9. "Y gwr a gâr gwrw yn gry' ac yn groew."
10. "Hyd atoch, wŷr Cynllaith."
11. "Y gweddwon, wŷr oediog, rhai chwannog a chwyrn."
12. "Mi a glywais air anniwair newydd."
13. "Y serchog wr enwog, dieuog, da 'i air."
14. "Fy nghymdeithion purion peraidd,
Gyru yr wyf, i bob plwyf, yn ffyddlon trwy Wynedd."
15. "Och hir och'neidion, tramawr trymion,
Sy'n anafu 'y nwyfron i."
16. "Y gwŷr iefainc[1] gwirion afiaeth."
17. "I bawb o'r byd mae pur wybodaeth."
18. "Fy *ffrins* bod ag un, dewch bawb yn gytûn."
19. "Y merched pur wynion,
Gwrandëwch fy 'madroddion."
20. "Fy ngharedigion, foneddigion,
Gwrandëwch gwynion mwynion merch."
21. "Y merched ieuainc cymmerwch *siampal*,
Byrbwyll feddwl bair hir ofal."
22. "Gwrandëwch ar ymddyddan."
23. "Y fun gynhes fwynaidd gangen."
24. "Bûm ar wyliadwriaeth
Ddinasawl ar noswaith."
25. "Chwi welwch, blwyfolion, y moddion y mae."
26. "Y *Sieiner* per di ofer dyfiad."
27. "Gwr ieuanc aeth," &c.
28. "Y gwir Gymro glana' ar lanerch."
29. "Gwrandëwch yn gariadus,
Frwd hoenus Frytaniaid."
30. "Hyd atoch beunes, liwdeg lodes."
31. "Goreudeg radd a gwridog ruddiau."
32. "Fy nghangen urddasol, hoff rasol ei phryd."
33. "Siriolwych wyt a chlaerwen."
34. "Myfyrio 'r wy 'n fwyn, fel eos dan lwyn."
35. "Arglwyddes y tegwch, hawddgarwch i gyd."

[1] Fel hyn yr ysgrifenid *ieuainc* gan H. M., &c.

36. "Y winwydden â'r wên weddaidd."
37. "Lliw'r alarch ar y llyn,
    Lliw'r eira, gwyna' gwyn."
38. "Ow gwrando gâr tirion, hoff union o ffydd."
39. "T. Evans barchedig, fy FFRIND etholedig."
40. "Yr wy'n ymglywed yn glaf iawn,
    O eisieu cael y mab nis cawn."
41. "Er bod yn byw ym mhlith dyeithriaid."
42. "*Ffarwel* i flaenffrwyth tylwyth teilwng."
43. "*Ffarwel* lawenydd, trist arwydd, tro'ist di."
44. "Meibion, merched, da i chwi ystyried."
45. "Pob Cymro da dawnus, sydd nwyfus mewn oed."
46. "Pa fodd y trodd trymder bob pleser o'n plith."
47. "Y cwm'ni da eu dealltwriaeth."
48. "Fy anwyl fab naturiol."

### CAROLAU HAF.

49. "Y gwr â'r geiriau mwynion."
50. "Y teulu â'r teilwng fywyd."
51. "Y teulu â'r teilwng drigfa."
52. "Y gwr da mwyn urddasol."—1689.
53. "Y teulu glân galonau."
54. "Y gwr a gâr lawenydd."—1683.[1]
55. "Y duwiol deulu dyddan."
56. "Y duwiol deulu llawen."
57. "Rhowch genad i lefaru."

### CAROLAU NADOLIG.

58. "Trigolion y ddaiar, cyd-genwch yn llafar."
59. "Pob un a gâr ganu, dechreued amcanu."
60. "Dymunaf ddystawrwydd, i ddadgan mawl newydd." Y carol hwn a wnaed yn y fl. 1707, pan oedd y bardd yn 85 oed; ac nid yw ei waith yn ymddangos nemawr waelach y pryd

[1] Blwyddyn y rhew mawr o dair wythnos ar ddeg.

"Ar ol y gauaf garw,
A'r rhew fu'n hollti'r derw,
Mi welais ddail ar fedw, yn arwydd hoew haf."

hyny nag oedd ym mlodau ei ddyddiau. Y mae yn diweddu fel hyn:—

"Os gofyn dyn duwiol
Pwy luniodd y carol
O fawl i Dduw nefol, orseddol ei swydd?"
"Hen ddyn â phen maban,
A'i awen yn fechan,
A'i gorff yn oer egwan ar ogwydd."

61. "Cyd-genwch, Grist'nogion, cyd gredwch fel Simeon." Y deunawfed pennill, yn y Carol rhagorol hwn, sydd fel y canlyn:—

"Pan ddêl yn ei ogoniant,[1]
Y trawsion a grynant,
I ymddadleu am y meddiant, ni nolant hwy neb;
A'r uniawn i ranu,
Fydd yn llawenychu,
Fod IESU yn mwyn wenu yn ei wyneb!"

62. "Dowch yn sancteiddiol, i ganu yn blygeiniol."
63. "Rhowch heibio bob gwagedd, a miwsig a maswedd." Hwn a wnaed yn y fl. 1702.
64. "Y sawl a gâr ganu, a chyfiawn dderchafu."—1703.
65. "Molianned pob Cristion y Tad a'r Mab cyfion."—1706.
66. "Y sawl sydd yn credu i Grist eu gwaredu."—1706.
67. "Os gwiw genych ganu, yn flasus fawl Iesu."—1701.
68. "Rhowch osteg i wrando gwirionedd yn gryno."—1704.
69. "Pob Cristion cynneddfol, dewch heddyw yn fucheddol." Y pennill 17 fel hyn:—

"Ni ddichon gwŷr ddysgu,
Brig iaith i bregethu,
Heb rinwedd gras Iesu yn trefnu bob tro;
Ni cheiff yr un hwsmon
Mo'i lafur yn ffrwythlon,
Heb Dduw i roi'n dirion rad arno."

70. "Diolchwn mewn glendid i Dduw yr addewid."

[1] *Mat.* xxv. 31.

Mae rhif y Cerddi a'r Carolau, yn y ddwy Fynegai, yn agos i ddau gant, heb law cywyddau ac ynglynion: ond y mae gair ar led[1] fod casgliadau o waith Huw Morus yn cynnwys 300 o nifer. Dichon i hyny fod yn wir; ond er chwiliaw yn fanwl, ym mhell ac agos, methwyd genyf weled onid yr hyn a grybwyllais. Diammheu fod llawer o'i ganiadau ef yn awr ar ddisberod a choll. Clywais fod llyfrau ysgrifen, o'i waith *ef* gan mwyaf, wedi cael eu trosglwyddaw gan hoffwyr barddoniaeth gyda hwynt i Loegr. Am y rhai hyn gellir dywedyd yng ngeiriau y bardd ei hun,—

"Clai y Sais yw'r cloiau sydd
Ar wyneb yr awenydd."

Gwelais amryw ddarnau o gerddi, mewn hen lyfrau candryll, heb ddim goleufynag mai gwaith ein bardd oeddynt, yn rhagor na'u bod ym mhlith ei ganiadau awdurdodawl ef. Ym mhlith y cyfryw cafwyd y rhai hyn:—

"* * * * i Eden ardd
Yw dy gwmpeini heini hardd;
Trymach wyf (tro yma a chwardd)
Na Myrddyn fardd mwyn!"

Arall, ar ddienyddiad James Scot, a elwid y Duc o Monmouth, yn y fl. 1685.

* * * *
Hwy ladd'sant *Mynmwth* yn ddi wad,
Hwy wnaethant frad i Frydain;
Medd llawer un mewn modd di gel,
Ffei! Ffei! gan uchel ochain!
Ond ar y Fall a'i lladdodd fo,
Cainc o'r frech, cancr y fro,
O'i ben i'w draed i'w boeni dro,
A'i hyll erchyllio allan;
Offrymwch y cyw i uffern lle cawd,
Ansutiol frawd i Satan.
* * * *

O ran y farddoniaeth, nid ellir gwadu nad oes ychydig o ol bwyall ein bardd arni; ond y mae yr

[1] Life of Huw Morus in the *Cambrian Register*, vol. i.

offrymiad yn y diwedd yn anghytunol â chydwybod dyner Huw Morus.

Dywedir fod amryw o'i gerddi heb fod mewn ysgrifen, ond ar gof a thafawd hyd y wlad. Un o'r fath oedd ar yr achaws canlynol. Y bardd yn ei febyd a gysgasai mewn coedwig, ac a freuddwydiodd ei fod yn cofleidiaw M. F., a phan ddihunodd, yr oedd "afallen bren beraf ei haeron" rhwng ei freichiau ef; a siomiant a fu iddo, a chanodd ar y dôn a elwir "Twll yn ei Boch" (*Dimpled Cheek*). Y dechreu:—

Fy *ffrins* a'm cydwladwyr, da eu synwyr di syn,
Gwrandëwch ar ryw draethod gwael hynod fel hyn; &c.
* * * * *

Ac ym mlaen:—

* * * * *
Ei *ffrins* yn anfoddlon, rai dewrion rhy dal,
A minnau pan gysgais a dybiais ei dal, &c.

Y Casgliad a ddosbarthwyd yn Naw Rhan, fel y gwelir yn y Fynegai ganlynawl. Am y *Mabinogion* (Rhan 2), a ganwyd cyn i'r bardd gyrhaedd addfedwch pwyll, gellir ei ddiheuraw trwy ddal fod yn oed ei fasweddion yn fwy diwair nag eiddo ei gyfoedion yng Nghymru nac yn Lloegr. Yn ei *Ddifrifolion*, ei ymgais oedd dangos harddwch a buddioldeb buchedd foesawl: ac yn ei *Ddwyfolion* (Rhan 8), gellir gweled mai sylfaen ei foesoldeb derbyniawl ef oedd ffydd yn i'r Iachawdwr. Mae llawer o'i Garolau Nadolig ef ar goll; ac o'r rhai ydynt ar gael, ugain a dderbyniwyd i'r Casgliad presennawl; a gellir amgyffred, ond eu darllen, mai nid diffyg defnydd sylweddawl, nac athrawiaeth iachus, a barawdd iddynt fyned dan warth a gommeddiant; ond, yn hytrach, clust ferwinllyd yr oes bresennawl, yr hon sydd yn serchu mwy ar swn na synwyr, a'r galon flysig ei harchwaeth, a flinai yn oed ar y Manna, os ceffid yn feunyddiol. Ebrwydd gyda'r rhai hyn yr aeth yr "Hen Dôn" Carolau Gwyliau yn ddiflas, gan ddewis yn ei lle

ryw rigwm ar *Old Darby*, *Charming Chloë*, *Betty Brown*, a'r fath sothach, cymhwysach i *Ben y Beili*, yng Nghroes Oswallt, nag i un man o addoliad crefyddol.

Ym mhlith y Cerddi *Moesolion* (Rhan 6) y cynnwysir pedair tan enw Cerddi "Tiroedd y Taerion." Dywedir i'r Bardd gymmeryd i fyny ei ddammeg oddi wrth waith dynion, hynod o'r di ofn Duw, yn rhoddi pin ysgrifenu yn llaw dyn *marw;* a thrwy hyny yn tori ymaith dreftadaeth oddi wrth y gwir etifedd. Yr oedd hyn yn weithred mor erchyll ym marn y cyffredin, fel ag y bu iddynt goeliaw y chwedl, ddarfod i glychau Rhiw Fabon ganu tôn alarus, neu "yn y gwrthwyneb," fel y dywedir, o honynt eu hunain yn nhrymder y nos, y pryd yr oedd plant Satan yng nghyd â'u gorchwyl. Y mae yn ymddangos, wrth y caniadau, i'r mater fyned ger bron Llys y Gyfraith, ond i dwyll, anudon, a gwobrau gael yr oruchafiaeth. O achos hyn, nid oedd y bardd yn beiddiaw canu allan ei feddwl yn eglur, ond megys ar ddammegion. Ond y mae yn gwneyd yn hysbys i ni, mai ym Maelor Gymreig y gwnaed y weithred. Oddi wrth hyn, "Tiroedd Taerion" a roddir megys llysenw ar bob tir, neu diroedd, a gymmerir trwy dwyll, neu drais camgyfraith, oddi ar berchenogion gweiniaid; fel y deallir wrth a ganodd T. E. o'r Nant yn un o'i Ddychaniadau:—

"Y traws a'r cenfigenus
Yw'r grombil wancus wŷn,
Sy'n bwyta'r gweddw mewn tramgwyddiad,
A'r tlawd amddifad lun;
Heb law esamplau eglur
A dystia Ysgrythyr Duw,
Bu trwy'r wlad hon rai egron ragrith,
Mae'r felltith eto 'n fyw:—
Melltith aerod tai a thiroedd
Sy'n llwyr ysu er ys llawer oesoedd;
Blin yw bloedd y 'Tiroedd Taerion,'
O Wedir wiwbur i Riwabon;
Gwaith lladron yn dwyn moddion
Rai gweinion dan eu gwg,
A wnaeth hen balasau, trasau trawsion,
Yn drigfâu ysbrydion drwg!"

T. E.

Yr ydys yn rhoddi ychydig o hanes bywyd y Bardd yn Seisneg,[1] er mwyn y prynwyr a ddeallant yr iaith hòno yn well na'r Gymraeg. I'r Cymro uniaith nid yw yn anghenrheidiol hysbysu ym mhellach yng nghylch yr awdwr nag iddo gael ei eni ym Mhont y Meibion, uwch ben afon Ceiriog, ym mhlwyf Silin, yng Nghynllaith, o gylch y fl. 1622, ac iddo fyw a phrydyddu yn hyglod trwy deyrnasiad chwech o freninoedd Prydain, heb law ysbaid y cyfrwng ymchwelgar; ac iddo huno gyda'i dadau, yn llawn o oedran a pharch, yn y fl. 1709, yn yr wythfed flwydd a phedwar ugain o'i oedran; a bod ei Awen mor hylithr, a'i synwyrau mor gryfion, ychydig ddyddiau cyn ei farw, ag y buasent erioed. Er maint yr ymddengys serchogrwydd ei Awen yn ei ganiadau caruaidd, ni ddarfu iddo erioed ymrwymaw mewn priodas. Gellir dywedyd am dano ef, yn hytrach nag am Ddafydd ab Gwilym, mai chwareugarwch ei Awen, ac nid ei anwydau anianawl, oedd yn peri iddo, yn ei Fabinogion, ganu mor rydd yng nghylch sercholdeb a chyfeddach. Yn ei Ddifrifolion, y mae yn ymdrechu â'i holl egni i ddadymchwel teyrnas y tywyllwch ym mhlith trigolion daiar; a gellir beiddiaw bod o'r farn y bydd ei ymdrech yn fwy parhäus, mewn cof, na haiach bregeth a lefarwyd erioed, oddi eithr y rhai goruwch-anianawl a gynnwysir yn Y LLYFR.

"A thra bo urddawl athraw beirddion,
Ac Awen Gwyndawd, ac ewyn gwendon,
Daiar, a Nef, a dwr yn afon,
Ef a gaiff hoewaf wiw goffaon."

GRONWY OWAIN.

[1] [Gweler y Cofiant Seisonig, t. 291 o'r drydedd gyfrol.]

## SALMAU GWILYM GANOLDREF.[1]

Yn yr oes doreithiog hon o argraffu ac ail argraffu llyfrau, tybiodd y Cyhoeddydd fod y Salmau cyntaf ar Gân yn Gymraeg, yn gystal ag enw y Cyfansoddydd gwiwbarch (sef Gwilym Ganoldref), yn haeddu coffadwriaeth a derbyniad gan y Cymry, tra byddont yn genedl, yn arddel eu hiaith, ac yn caru eu gwlad. Tra y treuliodd yr Awdwr cofwiw ei fywyd yng ngwasanaeth ei frenines, ym mhlaid y Diwygiad Protestanaidd, ac yn erbyn ymgyrchiadau Pabyddion, yr oedd ei Awen, fel yr eiddo per ganiedydd Israel, yn myfyrio yn neddf ei Dduw. Yr oedd deddfau yr Arglwydd yn gân iddo yn nhy ei bererindod. Achubai flaen y cyfddydd, ei lygaid a achubent flaen gwyliadwriaethau y nos, yn y cylchau llosg, ac ar y weilgi chwyddedig, i fyfyrio ac i farddoni ar ei destynau uchelryw.

Efe a gynghaneddodd y Salmau oll ar fesurau caethion, fel y gelwir hwynt yn gyffredin. Yn ei oes ef, ac am hirfaith flwyddau gwedi hyny, yr oedd Beirdd Gwynedd oll yn ddysgyblion D. ab Edmund yn ol Dosbarth Caerfyrddin. Ymddengys o gylch *pymtheg* o'r 24 mesurau cyffredin y Ddosbarth hòno ym mhlith ei Salmau; ac o gylch *tri ar ddeg* o fesurau ereill, a eilw efe "*Ofer-fesurau.*" Ond pe buasai efe gydnabyddus â'r 24 mesurau y Ddosbarth gyssefin, rhoddasai arnynt enwau cymhwysach, ac ni buasai ganddo *dros bedwar ar hugain;* canys ni ddichon i ddychymmyg na chrebwyll dyn gynllunio ansawdd gwahanol-ryw mwy no'r nifer hyny.

Dywed yr Awdwr iddo gyfansoddi y Salm CX. ar "*Hen fesur o Lyfr Hergest,*" heb enw yn y byd arno. Ond wrth nodau *braint* ac *angen* mesurau, gwelir fod

[1] [Psalmau Dafydd; wedi eu cyfansoddi ar amrywiol Fesurau Cerdd, gan y Cadben William Middleton; yr hwn a'u gorphenodd yn yr India Orllewinol, ar y 24ain o Ionawr, 1595. Ail Argraffiad. Llanfair Caereinion: 1827.]

y Salm uchod yn rhanedig i naw o bennillion cyfunrhyw, a phob pennill yn bum ban. Y mesur yw un o aneirif rywiau *Cynghawg*, sef *Ban Cyrch* yng nglŷn â phennill *Cywydd*.

Pe buasai yr Awdwr yn byw i gyhoeddi ei Salmau ei hun, y mae sail i goelio yr ymddangosasent mewn amgenach diwyg, o barth geiriau anghyfiaith; ac fe allai y buasai i rai Salmau gael eu cynghaneddu ar fesur *Dyri*, ac am hyny yn fwy addas a defnyddiol i'w canu mewn addoliadau crefyddol.

Mewn perthynas i'r geiriau anghyfiaith a ymddengys yng nghorff y gwaith, tybiodd y Cyhoeddydd mai priodolach fyddai iddo beidio â'u nodi â gwahanryw lythyrenau, yn gymmaint a'i fod trwy hyny yn dilyn dull henafol yr Awdwr. Hefyd, i'r dyben i wneyd i'r adargraffiad hwn o waith yr enwog wron ympiriaw o flaen llygad manylgraff y cyhoedd yn lled drefnus, cymmerodd y Cyhoeddydd y drafferth arno i attalnodi y Gwaith drwyddo yn gyffelyb i'r Salmau sydd yn y Beibl, modd y dealler y synwyr yn well; canys nid ydoedd yn agos mor eglur yn yr hen gopi.

Yn awr, anwyl garedigion, y Cymry, yr wyf yn diweddu fy Rhagymadrodd i'r Gwaith ardderchog hwn, gan daer-erfyn ar i'r goruchaf Iehofah, yr hwn a bioedd y gân, ac sydd deilwng o'i derbyn, fendithio y Cyhoeddiad bychan hwn i fod er difyrwch a buddiant i bawb a'i derbynio, yn y byd hwn, ac hefyd pan y llyncir yr hyn sydd farwol gan fywyd, lle y bydd myrddiynau o gantorion goleu-lwys

"A'r delyn aur i'w dwylaw
Yn lleisio dros y llys draw."

WALTER DAVIES.

*Manafon*, *Ionawr*, 1827.

DIWEDD YR AIL GYFROL.

SPURRELL, ARGRAFFYDD, CAERFYRDDIN.

